# Y TRAETHODYDD.

AM Y FLWYDDYN 1868.

LLYFR XXIII.

TREFFYNNON:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS.

MDCCCLXVIII.

# CYNNWYSIAD.

---

# Y TRAETHODYDD.

---

## GLAN ALUN.

Glan Alun anwyl! fy nghyfaill hen,
Goleua eto, gyda 'th onest wên,
Y 'stafell fechan lle mae llyfrau 'r bardd,
Yn edrych allan tros rodfëydd yr ardd:
Moes im' dy law a'r ysgydwad mawr;
Na chei, fy nghyfaill, ddim myn'd i lawr!
Cei eistedd yna, a chawn fèr ymgom
Am eisteddfodau, ac am y siom
A geir rai prydiau, a'r hyfrydwch sydd
I'w deimlo weithiau wrth gario 'r dydd.
Cawn son fel y gwnaethom ar lawer tro,
Am henafiaethau y fro a'r fro,
Am fân gwerylon rhwng plant y gân,
A mân bapyrau yn myn'd ar dân:
Am y dernyn olaf fu yn y wê,
Ac am y peth nesaf a ddaw i'w le,—
Am wael destunau, ac am y rhes
O farwnadau a wneir am brês!

Yn nghanol masnach a'i dirfawr dwrdd,
Faint sydd er hyny—ein diweddaf gwrdd:
O, fel mae amser yn myn'd i ffwrdd!

Chwarddasom lawer, a thaflasom wawd
Ar ffug alaru tros y brawd a'r brawd,
Glàn Alun anwyl, 'r wy' heno 'n dlawd!

Tylotach wy 'n teimlo, beth bynag a'm gŷr,
Tylotach, unicach, a'm calon a dŷr;
Glàn Alun, fy nghyfaill, mae rhywbeth yn fŷr!

Ond eistedd di yna, cawn siarad am hyn;—
Mae 'm calon yn isel, a chodi ni fŷn,
Mwy nag un farw yn ngwaelod y glŷn!

Faint sydd er pan 'hedodd Bardd Clynnog i'r nef,
O'i ddaearol dŷ i Gaersalem dref?
Peth anhawdd yw meddwl nad byw ydyw ef!

Dysgwyliais gael gweled dy wyneb yn Nghaer,
A'th glywed tros Gymru, yn dadlu yn daer;
Crybwyllwyd dy enw, a gwelais y maer
Yn ysgwyd ei ben ynghylch awdwr "Fy Chwaer."

Yn mynwent Llàn—, mae beddfaen tros dri,
A'r olaf roed yno, fy chwaer ydyw hi:
Fu neb, anwyl gyfaill, mor wir debyg i
Miss Jones, Cefn y gader, â Jane fy chwaer i.

Ac os yw dy chwaer, fel crybwyllodd ei hun,
Yn edrych o'r nefoedd ar breswyl fach dyn,
Mae Jane fy chwaer innau yn edrych yn gûn;
Cwyd yma, Glàn Alun, cei weled ei llun.

Ei llygaid o'r nefoedd! Jane! anwyl Jane,
Fel yna y byddai â'i llaw ar ei gên,
A'm calon chwareuai yn mhelydr ei gwên.

Yn y llofft mae ei llyfrau rhwng gwalbant a dist,
A chant o'i llythyrau, rhai llawen, rhai trist;
Rhai 'n son am y byd, a rhai 'n son am Grist,
Orweddant, Glàn Alun, yn ngwaelod fy nghist!

Llythyrau 'th chwaer dithau gyhoeddwyd oll in';
Teilyngaist ti 'r enw o *frawd* gyda 'th bin,
Minnau a bwyswyd, a chafwyd fi 'n brin!

Boed ef yn wreng neu frenin, gan alar ni waeth pwy,
Hen ddyfrodd dwfn yw 'r dagrau sy 'n d'od o galon glwy';
'R wy 'n teimlo, fel 'r wyt tithau, fod rhyw attyniad mwy
Yn mhyrth yr hen fynwentydd er pan gollasom hwy!
Glàn Alun, onid tebyg fod Duw yn siarad trwy
Dy hiraeth di a minnau am danynt hwy ill dwy!

Oddigerth rhai mynwentydd, mae 'r ddaear oll yn llom;
'Rwy 'n bur ddigalon, gyfaill, fel un tan ddirfawr siom;
Wnai "Tridiau yn Llandrindod" ysgafnu calon drom?

Dy lythyr o Landrindod yw 'r cyntaf peth o'th waith
Afaelodd yn fy meddwl; bûm wed'yn amser maith
Yn dysgwyl galwad genyt, cyn deuaist ar dy daith:
Ti ddoist, os wyt yn cofio, ar gaseg ieuanc, fraith,
I bentre 'm genedigaeth, ar nawn dydd Sadwrn llaith:—
Ti oedd y cyntaf yno bregethodd mewn *dwy* iaith.

Pan roddaist bregeth Seisnig, i foddio 'r mawrion wŷr,
Fe gadwodd 'nain o'r oedfa rhag ofn y syrthiai 'r mur!
Ond dan y bregeth Seisnig fe safodd 'nhaid fel dûr:
Pa iaith sydd yno heddyw? er gofid ac er cûr,
Saesneg i gyd, Glàn Alun! Saesneg! Saesneg pur!

Beth bynag ydyw 'r achos, 'does yno fawr o dân
Yn yr hen areithfa heddyw; mae 'r bobl ar wahân
Oddiwrth eu hiaith naturiol,—pob gweddi a phob cân
Yn marw ar y wefus, mewn geiriau meinion, mân;
A marw ar ol eu gilydd y mae 'r hen Gymry glân!

Drychfeddwl rhyfedd ge'st,
A gwreiddiol yw,
Mewn cân dro 'n ôl a wne'st—
"'R wy 'n farw 'n fyw."

Lle 'r wyt yn dyweyd fod genyt frawd,
A chwaer fwyneiddiaf fu mewn cnawd,
Oll yn y bedd, a'u priddo wnawd,
A thithau "'n farw 'n fyw!"

Fod genyt gynt gyfrinach fawr,
I dynu 'th fryd o awr i awr,
Ond teimlet fel un yn y llawr,
"Yn farw 'n fyw!"
"Yn farw 'n fyw!"

Beth yw 'r "falan" felen sydd
Yn pwyso arnat nos a dydd?
Bydd *weithiau* 'n llawen yn y byd,
Ac nid o hyd yn brudd.

A ddarfu 'r "weddw" fu 'n dy ddwyn,
I ofni 'r "spectol" ar ei thrwyn,
Ro'i iti hergwd câs, difoes,
I'r twll tan grisiau hyd dy oes!

Gyfaill anwyl, nid trist fel hyn,
Ond llòn fel hedydd ar ael y bryn,
Y byddet gynt, pan ddoet am awr
I lanw fel brenin fy nghadair fawr!

Heblaw ymgomio am bethau fu,
Arferem *smalio*, Glàn Alun gu:
Arferem siarad am yr A B C
Ar lyfr yr ysgol, ac am y glec
Mewn ysgol arall. Yna caem ymgom—
Tydi am Gynric, a minnau am Tom;
Pa un feddai 'r talcen mwyaf hardd,
Pa un debycaf y gellid bardd
O hono rywbryd, i fawr foddhâu
Ein calonau gwirion ni ill dau!

Pa beth a dòrodd y chwareugar dant
Oedd yn dy galon gyda hwyl yn chware cerddi plant?

A ph'le mae 'r organ lawn o wynt
A ruai yn dy fynwes fawr, yn chwerthin iachus gynt!
Mae rhywbeth yn eisieu sy 'n gwneyd fy nghnawd
Fel dillad oerion am fy nghefn; beth ydyw hyn, fy mrawd?

Da genyf, gyfaill, dy glywed yn dyweyd
Dy fod wedi penderfynu gwneyd*
Dy hun yn ddedwydd ar y tipyn mêl
Sydd yn dy gwch yn awr, a doed a ddêl
O'r hen drafaelio di-ddarfod sydd
Yn araf nychu dyn nos a dydd.
Pe buasai 'r newydd yn fy nghyrhaedd i
Rhyw ffordd heblaw o dy enau di,
Hwyrfrydig f'aswn am fis neu ddau
Cyn goddef fy hunan i lawenhâu.
Wel, gwna dithau, gyfaill, fel 'r wyt yn d'weyd,
A gwna i lênyddiaeth yr hyn elli wneyd:
Mae 'r byd gyda 'r beirdd yn gwellâu, onid yw?
Yn lle ysgrifenu, fel arfer, i *fyw*,
'R wyt ti yn cael byw i *'sgrifenu* yn awr!
I godi celfyddyd y gân oddiar lawr;
Hir oes iti, gyfaill, a dedwyddwch mawr!

Ai rhywbeth yn arddull dy "Esther" wèn, fwyn
Sy 'n debyg o ennill dy fryd gyda 'i swyn?
Ynte cwympiad rhyw gadarn fel Jones, Talysarn,
A eilw dy awen, a'th deimlad, a'th farn,
I roi ini eto un penicamp ddarn?

Am gadair eisteddfod, Glàn Alun, mi wn
Na cheisi di byth, herwydd gormod o bwn,
I gefn dy Begasus, er cryfed yw e,
Fa'i cario un englyn yn esmwyth i'w le.
Na hidia, fy nghyfaill, pob dyn at ei waith,
Un at gân fechan, a'r llall at lyfr maith;
Un i wneyd orior i dipian yn wan,
A'r llall i wneyd eglwys â chlochdy mawr ban.
Yn agos i'r galon mae orior fach cân,
A rhaid yw ei gwneuthur a'i chadw yn lân;
Ond mawrion wrthddrychau i'w gwel'd yn anghlir
Yn esgyn o hirbell, yw 'r darnau mawr, hir;
Na hidia, fy nghyfaill, am gadair a'i chlôd,
Mae enw "Glàn Alun" i fyw ac i fod;
Mae genyt oriorau aneirif yn myn'd,
Ac mae genyt gestyll aruchel, fy ffrynd.

Mi adwaen ferch ieuanc, yr hon ar nos ŵyl
Ddarllenodd dy Esther, ac O! y fath hwyl

*Y tro olaf y gwelais Glàn Alun, dyna oedd ei ymddyddan ef a minnau.

A gafodd yr eneth! Gyda darllen a gwau
O'r bron nad ynfydodd am ddiwrnod neu ddau.
Ti roddaist ddrychfeddwl i'r llances na wnawd
Un wraig yn ddedwyddach na gwraig y dyn tlawd:
Dangosaist holl ddyfnder tylodi y rhai
Sy 'n nofio mewn cyfoeth, a chyfoeth didrai,
Y rhai mewn gonestrwydd a thlodi sy 'n bur
Fel awyr y nefoedd o amgylch eu gwŷr.

A chan imi ddechreu 'n dy wyneb di ddyweyd
Barn dy gyfeillion am yr hyn ddarfut wneyd,
Mi enwaf yn rhagor rai darnau ag sydd
Yn araf ymwreiddio yn ddyfnach bob dydd:
Sy 'n gweithio fel surdoes mewn blawd a fo iach,
Yn meddwl ac enaid dy genedl fach.

Y gyntaf a enwaf yw 'r feraf fel cân
O'r oll gyfansoddaist, ac nid ydyw tân
Yr awen i'w deimlo yn nerthol ychwaith,
Wrth ddarllen y dernyn a nodaf o'th waith.
Pur ddelw dy galon dy hun mae yn ddwyn,
Ac O! mae yn syml, dirodres, a mwyn;
A'r oll o'm barddoniaeth a roddwn i am
Dy chwech o bennillion wrth wely dy fam.

Mae 'th alar am Gynrig, er nad yw 'n ddiwall,
Yn ddarn o ffyddlondeb 'r un ffunud a'r llall:
Mae ef gyda 'th chwaer, a dy fam, a dy dâd,
Yn rhoi i'th ganeuon ddiddarfod barhâd.
Fel awel y dehau o'th ysbryd ni ddaw
Ond cŵyn meddal, dyner, a chawod o wlaw;
Ac er iti weithiau droi rhediad dy ddawn,
Dy lestr er hyny a leinw 'n rhy lawn,
A digon hawdd clywed mai lleddf yw dy dant,
Hyd nôd pan yn chware yn llewyrch dy blant!

Galeraist gryn lawer, Glàn Alun, erioed,
I blant ac henafgwyr, a rhai canol oed:
Ond ni wneist fywgraffiad o neb ar ddull cân,
Gwir dd'wedi, mae hyny yn waith ar wahân;
Ond gwn pe bae 'm hangladd o'th flaen di yn myn'd,
Y canet alargan ar ol dy hen ffrynd.

Ond megys barddoniaeth ag sydd yn deffroi
Hen gofion pleserus, 'd oes dim sydd yn rhoi
I filoedd trwy fywyd, tra 'r änt ar eu hynt,
Fwynhâd fel adgofion dy Febyd ti gynt.
Y "wïalen," a'r "spectol," a'r weddw sur syn:
Mae pawb yn dy ddeall mewn pethau fel hyn:

Ni chenaist ti eiriau sydd eisieu bywhâd,
Ond cenaist i'r galon ar lafar dy wlad.

Yn union wedi it' fyn'd o'r tŷ,
Y nos o'r blaen, fy nghyfaill cu,
Galwodd cyfeilles i ni ill dau,
I loni tipyn ar y 'stafell mau.
Yr Awen oedd, a choelia fi, ffrynd,
Hi eilw 'n fynych ar ol it' fyn'd.
Ar ol it' gynhesu fy nghadair fawr,
A chychwyn adref,—i eiste' i lawr,
Daw hithau, siŵr, a gallaf ddweyd
I lawer canig gael ei gwneyd
Yn ngwres a hwyl rhyw damaid ffraeth
O naturioldeb oddiwrthyt ddaeth.
Yn ddiarwybod, ti a roddit, frawd,
Ben rhyw auredef rhwng y'm bys a'm bawd,
A phrin y byddet trwy 'r ardd i ffwrdd,
Na byddwn i'n sgwario at y bwrdd,
I ddirwyn pellen yn ngoleuni 'r tân,
Ac yno byddwn gyda 'm pellen gân,
Nes deuai duw Ymorphwys mwyn
I ofwy 'r awen, ac i'w dwyn
Mewn cwch bach esmwyth i Eden ardd,
I fyny un o'r afonydd hardd
Sydd yno 'n llifo llifo i lawr
I bum' cyfandir y cystudd mawr!
O 'r fath baradwys nefol yw
Paradwys cwsg, lle mae engyl Duw
Yn hofran trosom, ac yn ein clyw
Yn sisial lleisiau rhai nad ŷnt fyw!
Lle rho'nt rhwng llygad ac amrant tŷn
Aneirif luniau mewn gŷnau gwŷn
O hen gyfeillion—hen ardderchog lu,
O rai groesasant yr Iorddonen ddu!

"Ai breuddwyd oedd?" ydyw'enw un
O'th ddarnau goreu,—mae 'n gwneyd i ddyn
Deimlo 'r ymgripiad hwnw sydd
Yn dilyn harddwch.' Oferedd fydd
I'r llawdrwm gritig gyhoeddi 'i farn
Os bydd ymgripiad yn nhôn y darn.

'R oedd pawb a garet, gwyddost y gwn,
O flaen dy lygad yn y "Breuddwyd" hwn;
Dangosodd yr angel bob gwyneb a gwedd,
Oedd hoff gan dy galon tu arall i'r bedd.
Mae'r Breuddwyd yn dangos fod Cynrig dy frawd
Yn ceisio dy ddenu di allan o'r cnawd:

# CYNNWYSIAD.

Cawsant hwythau yr hyfrydwch o weled eu mab, nid yn unig yn myned rhagddo yn y byd, ond hefyd yn ennill lle mawr yn nghalon ei frodyr crefyddol, yn dyfod yn arolygwr, yn flaenor, ac yn bregethwr cynnorthwyol parchus a chymeradwy gyda'r cyfundeb y perthyna iddo; a mwy na'r cwbl, yn hynod mewn defnyddioldeb gyda gwaith yr Arglwydd. Pan unwaith yn Llundain, fe dynwyd ei sylw, yn fwy na chan holl ryfeddodau y brifddinas, gan yr *Home for the Destitute* a welodd yno. Penderfynodd ar unwaith mai ffrwyth cariad Cristionogol ydoedd hwnw, oblegid nad yw byth yn wiw gan Anffyddiaeth symud yr un o'i bysedd er mwyn ceisio ysgafnhâu beichiau y truenus. Teimlai barch mawr at y bobl dda oedd yn llafurio gyda'r sefydliad hwnw, a phenderfynodd, gàn gynted ag y dychwelai adref, wneyd ymdrech yn Rochdale hefyd i achub y rhai nad oedd neb yn ymofyn am eu henaid, ac agor "Capel i'r Anghenus." Pan grybwyllodd ei amcan wrth rai o'i gyfeillion, nid oedd ganddynt ddim calondid i'w roddi iddo. "Beth!" meddai un, "a ydych am ddysgu y tlodion nad yw ein heglwysydd ddim yn agored iddynt? Y mae genym ddigon o le; paham na ddeuant?" "Beth!" ebai un arall, "a ydych yn myned i fwyhâu y pellder rhwng cyfoethog a thlawd, trwy agor iddynt le o addoliad ar ei ben ei hun?—chwi wnewch fwy o ddrwg nag o dda." "Beth!" ebai trydydd, "a ydych yn dysgwyl cael cynnulleidfa o fysg y diraddiol? Os agorwch faril o gwrw bob Sabbath chwi gewch, ond nid heb hyny." Parodd y pethau hyn iddo ymollwng mewn digalondid, a bu ei amcan am rai blynyddoedd heb ei gwblhâu. Ymhen amser fe ymwelodd yr Arglwydd âg ef â chystudd; fe gofiodd yntau ei adduned, a phenderfynodd, os gwelai Duw yn dda ei adferu, wneyd ei oreu i ddwyn pechaduriaid ato o'r prif-ffyrdd a'r caeau. Gweddïodd am nerth a diysgogrwydd i fyned ymlaen gyda'i amcan er pob digalondid a gwrthwynebiad, a gofynodd i'r Arglwydd gymeryd y treuliadau arianol i'w law ei hun, ac anfon iddo help wrth raid Wedi gwella, fe benderfynodd, yn ddoeth iawn, i beidio ymgynghori â neb, canys fe wyddai yn dda beth a ddywedai ei gyfeillion wrtho. Cymerodd ystafell fechan, ac argraffodd ddwy fil o hysbysleni yn dyweyd am y "Capel i'r Anghenus," ac yn galw yn serchog a difrifol iawn ar y tlodion, y digartref, a'r amddifaid, yn anafus, yn gloff, a dall, mewn llaprau a chadachau, o ba liw neu genedl bynag, o bob crêd ac o ddim crêd, i ddyfod yno, gan eu sicrhâu fod yr Iesu yn eu caru, ac wedi marw i'w hachub. Dim casgliadau. Yr oll a geisid oedd eu lles, gyrff ac eneidiau. Y gwasanaeth bob prydnawn Sabbath am chwarter wedi chwech. Gosodwyd 50 o'r rhai hyn ar gerdyn glas, a llinyn coch wrthynt i'w dal, ac äed â hwynt i siopau yr eillwyr a'r llettŷau yn y rhanau isaf o'r dref, gan ofyn am ganiatâd i'w crogi, yr hyn a roddid gyda pharodrwydd. Rhanwyd rhai ereill hefyd gyda helaethrwydd ymysg y dosbarth yr oedd Ashworth wedi gosod ei fryd ar eu lleshâu. Diammheu genym y bydd ein darllenwyr yn ddiolchgar i ni am adael iddo ef ei hun ddyweyd sut y bu hi gyda "sefydlu yr achos" mewn amgylchiadau mor dra dyeithrol. Yr ydym yn dal ein hanadl wrth ddarllen am ymgyrchoedd y dynion sydd yn cymeryd eu heinioes yn eu llaw i hela bwystfilod gwylltion; dyma helwriaeth sydd yn anfeidrol ogoneddusach, helwriaeth am eneidiau anfarwol; a phrin y meddyliai neb, wrth ystyried yr amgylchiadau, fod ei beiddgarwch, a dyweyd y lleiaf, yn ddim llai.

"Un bore Sabbath—ac i mi fore Sabbath i'w gofio—gyda thua pum' cant o'r papyrau yn fy mhoced, mi ddechreuais gerdded trwy yr ystrydoedd cefn a'r lleoedd isel; a lle gwelwn i naill ai dyn ai dynes mewn budreddi a charpiau, cynnygiwn iddynt bapyr, gan ddymuno yn barchus ar iddynt ddyfod i'r gwasanaeth. Os nad allent ei ddarllen, darllenwn ef iddynt Byddai rhai yn chwerthin, eraill yn edrych arnaf, ond ychydig iawn oedd yn addaw dyfod.

"Yn fuan ar ol ciniaw aethum i un llettŷ, a gofynais ganiatâd i weled y rhai oedd i fewn. Dygwyd fi i ystafell fawr, yn cynnwys un ar bymtheg o bersonau. Tynais fy het, ymgrymais i'r cwmpeini, a dechreuais ranu fy mhapyrau. Un dyn ieuanc, gyda phibell fèr yn ei enau, a drôdd fy mhapyr yn yspil i oleu ei bibell, yna tòrodd i chwerthin, a dechreuodd ddawnsio ar ganol y llawr. Heb gymeryd arnaf sylwi ei fod wedi llosgi y papyr, dywedais, 'Chwi ellwch ddawnsio yn dda; a ellwch chwi wneyd rhywbeth arall mor fedrus?' 'Gallaf, yr wyf fi yn ddiguro am bobpeth,' oedd yr ateb. 'Wel, gadewch i mi glywed a ellwch chwi ddarllen y papyr hwn cystal ag y medrwch ddawnsio' Cymerodd y papyr, tynodd y bibell o'i gêg, safodd ar ben gadair, a chydag agwedd theatraidd a llais uchel, dechreuodd ddarllen; ond pan ddaeth at y geiriau 'Mae yr Iesu yn eich caru, ac wedi marw i'ch hachub.' bloesgodd ei lais, daeth i lawr yn ddystaw, a gosododd y papyr ar y gadair, gan sylwi, 'Mi fuasai yn dda genyf pe na buaswn wedi darllen hwna; y mae yn dwyn i'm cof ddyddiau gwell.' Wedi gweled y dawnsiwr yn methu, yr oedd galwad cyffredinol am Jenny Lind. Yr oedd y person a anrhydeddid â'r enw yna yn mwynhâu ei thê-giniaw yn y gongl. Ennillai ei thamaid trwy ganu yn yr ystrydoedd a'r tafarnau. Cymerodd Jenny y papyr a darllenodd ef drwyddo, ac yn nghanol curò dwylaw, aeth yn ôl at ei phryd. Dyn o ymddangosiad sarug, gyda thrwyn fflat a llygaid cochion, a rochiai allan, 'Yr oeddwn i yn meddwl nad oedd dim mewn nefoedd, daear, nac uffern yn gofalu am danom; ond ymddengys fod rhywun yn gwneyd.' 'Oes,' atebais innau, 'mae y papyr yna yn wir; 'mae yr Iesu yn eich caru, ac wedi marw i'ch achub,' ac yr ydwyf fi, ei was, wedi dyfod i ddyweyd wrthych am ei gariad. Yn awr, pa un o honoch fydd y cyntaf i addaw bod yn 'Nghapel yr Anghenus' heno?' Derbyniwyd hyn gyda chwerthin uchel gan yr holl gwmpeini, un o honynt yn sylwi, 'Dyna *joke* ardderchog.' Yma gadewch i mi ddesgrifio y cymeriadau y ceisiwn eu perswadio i ddyfod i le o addoliad. Crybwyllais y dawnsiwr, y dyn â'r trwyn fflat, a'r gân-wraig, Jenny Lind. Yn ychwanegol at y rhai hyn, yr oedd un a alwent y 'peg leg.' Yr oedd hwn yn addurno ei goes bren â brwsb blacklead. Pan ofynais pam na chymerai flacking, atebai fod blacklead yn peri i'w drowsers lithro i fyny ac i lawr yn well Yr oedd yno ddyn du teneu, gyda gwallt du, tew, wedi ei iro yn dda âg olew. Yr oedd ganddo ddarn o ddrych tòredig yn ei law, a cheisiai ranu ei wallt yn y canol, gan ymddangos yn bur fanwl yn ei gylch. Yr oedd un dyn, tebyg i löwr, yn eistedd ar ei sodlau wrth y tân Yr oedd ganddo farf ddu hir, a *slop* goch, fudr, dyllog, yn lle crys. Yr oedd yno ddau hen ŵr, y ddau wedi eu gwisgo yn salw, ond un lawer yn lanach na'r llall. Yr oedd gan y glanaf yspectol fawr ar ei dalcen, a hen wreigan gyda gwallt gwyn yn wraig iddo. Yr oedd y llettŷwyr eraill oll yn gwmni addas i'r rhai uchod; ond at y rhai a enwyd yn neillduol cawn gyfeirio eto.

"Gan ddymuno cael rhywun i ddechre addaw, gosodais fy llaw ar ysgwydd y dyn teneu, yr hwn oedd yn ceisio rhanu ei wallt, a gofynais iddo roddi hèr i'r holl dŷ. Gwaeddai y cwbl ar unwaith, 'Os cawn i ef y cawn i y gwaethaf o'r holl lot; byddai yn dda ganddynt weled Bill Guest mewn capel' 'Ië,' ebai y dyn coes bren, 'os aiff Bill mi äf finnau.' 'A minnau.' ebai y dyn trwyn fflat; 'A minnau,' ebai y crys coch; 'A minnau,' ebai Jenny Lind; 'A minnau,' ebai yr hen ŵr â'r yspectol fawr. Sylwai Bill yn bur dawel fod yn well iddynt feddwl beth oeddynt yn wneyd, neu y byddai iddo ef synu rhai o honynt. Ond dywedai y pymtheg yr äent os äi efe. 'Yna mi âf,' ebai Guest; ac yn awr gadewch i mi weled pa un o honoch a faidd ddangos y bluen wen' Cyttunasem fod i mi alw am danynt am chwech o'r gloch, i ddangos y ffordd iddynt.

"Y lle nesaf i alw oedd llettŷ truenus, lle yr eisteddai tri dyn, ar blanc bŷr, a ddelid gan ychydig briddfeini. Nid oedd un eisteddle arall yn y lle. Yr oedd bwrdd ysgwâr gyda dim ond dau droed (yr hwn heb geisio a ddymchwelais) wedi ei godi yn erbyn y mur. Ychydig o lestri drylliedig, a hen gyllell rydlyd, oedd holl ddodrefn y tŷ. Cynnygiasant ddyfod gyda mi i'r capel os talwn i am alwyn o gwrw. Dywedai un o honynt nad oedd efe byth yn myned i'r capel oddieithr pan fyddai yn y carchar. ac ymffrostiai, braidd, iddo fod yno chwe' gwaith. Yr oedd wedi ei wisgo yn llythyrenol mewn llarpiau, ac nid oedd ganddo grys. Cynnygiodd efe roddi i fyny ei ran yn y galwyn

o gwrw, a dyfod gyda ni i'r capel, os anfonwn grys iddo. 'Yn awr dyna chwi,' meddai, gan chwerthin; 'anfonwch i mi grys, ac mi ddeuaf.' 'Ac a ddeuwch chwi â'ch cyfeillion gyda chwi os gwnaf?' 'Deuwn,' meddent oll; 'ni a ddeuwn os ffeindiwch chwi grys iddo ef.' Ymddangosent yn cael eu difyru yn fawr wrth y dyryswch yr oeddynt wedi fy ngwasgu i iddo; ond, ymhen ychydig fynydau, mi a'u synais braidd trwy ddwyn gyda mi grys glân. Nid wyf yn dyweyd sut y cefais ef, ond ni ddarfu i mi ei brynu.

"Fy anturiaeth nesaf oedd ymysg nifer o segurwyr ar y bont. Tra yn rhoddi iddynt fy mhapyrau, daeth dyn ieuanc brochus, budr, ond wedi ymwisgo yn gostfawr, i fyny, ac eisieu gwybod am ba beth yr oedd fy mhapyrau. Estynais iddo un; darllenodd ef, ac yna dywedodd, 'Mr. Ashworth, edrychwch arnaf fi. Chwi welwch ddyn a haedda ei ddamnio, os haeddodd neb erioed. Yr wyf yn annheilwng fab y goreu o dad a mam. Rhoddasant i mi esiampl dda, ond mi aethum i ganol cwmpeini drwg, gweriais mewn diod felldigedig gannoedd o bunnau, crwydrais oddicartref, ac yn awr yr wyf yn wibiad truenus.' 'Ond os ydych yn grwydryn oddicartref, ac nid yn ddyn o Rochdale, pa fodd yr adwaenoch fi,' gofynais. 'Mi a'ch clywais yn rhoddi anerchiad yn Bury Ebrill diweddaf, a chlywais chwi yn dangos y felldith sydd yn dilyn camrau y rhai sydd yn dianrhydeddu eu rhieni; a chan gredu eich bod yn meddwl hyny i mi, yr oeddwn yn teimlo y gallaswn eich saethu. Ond mae yr oll a ddywedech yn wir; y mae rhyw ddysgwyl tywyll i bob dyn a dynes ieuanc sydd o'u bodd yn peri tristwch i'w rhieni, yn enwedig os yn debyg i'r eiddof fi.' 'A ddeuwch chwi i'r capel heno? y mae trugaredd i'r gwaethaf, os bydd iddynt yn ddifrifol geisio trugaredd.' 'Deuaf, mi ddeuaf, ond ni châf fi byth drugaredd nes edifarhâu am fy ymddygiad tuag at fy rhieni.'

"Yr ydoedd yn awr yn bump o'r gloch. Mewn awr a chwarter yr oeddwn i gyfarfod fy nghynnulleidfa gyntaf yn 'Nghapel yr Anghenus.' Aethum adref i dê, ond nis gallwn fwyta. Aethum i fyny y grisiau, a chan syrthio ar fy ngliniau, tywelltais fy enaid at Dduw am gymhorth. 'Arglwydd, cymhorth fi, Arglwydd, cymhorth fi,' oedd yr oll a allwn ddyweyd, er i mi aros yn hir mewn gweddi.

"Yn union am chwech, gelwais ar fy un cyfaill ar bymtheg yn y llettŷ. Yr oedd fy nyfodiad yn arwydd am symudiad cyffredinol. Yr oedd Bill Guest wedi gorphen rhanu ei wallt, ac wedi gwneyd ei oreu i edrych yn hardd. Yr oedd Boz, neu Boswell, wedi sicrhâu y goes bren, ac yn y fan yr oedd pawb yn barod. Nid oedd dim un wedi dangos y 'bluen wen.' Chwarddent ar eu gilydd, ac yr oeddynt oll yn dra chynhyrfus. 'Pwy gymer y blaen?' gwaeddai y dyn â'r crys coch; a chyttunwyd ein bod i fyned ddau a dau, myfi a Boz (y dyn coes bren) yn gyntaf. Yn y drefn yma cerddasom i lawr King street, dros y bont haiarn, trwy y Butts, i'r ystafell. Yr holl ffordd yr oeddym yn tynu llawer o sylw, rhai yn dyweyd mai yr *awkward squad* oeddym, eraill ein bod yn myned i'r siop garpiau, tra y gwaeddai eraill, 'Dyna'r peth rhyfeddaf eto.' Ond yr hyn oedd iddynt hwy yn achos digrifwch oedd i mi yn achos o bryder mawr. Fel yr oeddwn yn cerdded yn ddystaw ymlaen gyda'r dyn coes bren, nid allwn attal fy nagrau. 'Arglwydd, cymhorth fi!' oedd o hyd fy ngweddi ddifrifol.

"Wedi cyrhaedd yr ystafell, gwelais fod fy nghyfaill gyda'r crys newydd, a'i ddau gydymaith, eisoes wedi eistedd i lawr; hefyd tri o gymeriadau tra adnabyddus,—Lis Dick, Leach, a Sprowel,—buasai dau swllt yn bris da am ddillad y tri; yna canlynai y mab afradlawn, a phedwar eraill, oll yn saith ar hugain o bersonau.

"Yr oeddwn wedi darparu hymn-lyfr ceiniog Cymdeithas y Traethodau Crefyddol, ac estynais un i bob un; yna, gan gymeryd fy lle tu ol i fwrdd, enwais y tu dalen. Ychydig allai gael hyd i'r hymn, ond cymerai pawb arnynt wneyd; a phan ddechreuais y dôn, yr Hen Ganfed, gwelais nad oedd dim un o'r dynion, a dim ond un o'r merched, a allai ymuno yn y canu, a hono oedd yr hon a elwid Jenny Lind. Gallaswn wneyd yn dda heb ei help *hi*, canys hi ddechreuodd ganu cyn gwybod beth oedd y dôn i fod, ac yr oedd ganddi lais ysgrechlyd. effaith yr hwn ar fy ngewynau oedd yn debyg i'r hyn a gynnyrchir trwy hogiad llif; parodd hyn ysgafnder trwy yr holl gynnulleidfa. Yr oeddwn wedi meddwl canu pum' pennill, ond yr oedd yn dda genyf roi y goreu iddi ar dri, Beth allasai fod llwyddiant Jenny ar ganu yn yr ystrydoedd a'r tafarnau nis gwn, ond gwn fod arnaf fi ofn ymuno â hi yr ail dro, er fod fy nghyfeillion yn fy nghyfrif yn ganwr lled dda. Mor ddigrifol ydoedd yr holl helynt wedi bod fel yr oedd llawer yn y gynnulleidfa ymron cael eu dirgrynu gan chwerthin attaliedig, ac ni feddyliais yn ddoeth fyned i weddi nes eu bod mewn ystâd fwy sobr o ran eu meddwl; felly erfyniais arnynt eistedd i lawr. Yna dechreuais ddyweyd wrthynt oll

fy rhesymau dros agor lle o wasanaeth i'r Anghenus, am fy ymweliad â Llundain, beth a welswn i yno, ac am yr adduned a wnaethum; dywedais wrthynt fel yr oeddwn wedi tòri fy adduned, am fy nghystudd, a fy adduned drachefn, a'm gweddi am gymhorth; dywedais wrthynt am fy nhröedigaeth i fy hun at Dduw, pa mor hir yr oeddwn wedi ei wasanaethu, ac mor ddedwydd oeddwn yn ei gariad; ond uwchlaw y cwbl, dywedais wrthynt am gariad Iesu Grist yn marw i achub eu heneidiau rhag uffern, a'u dwyn i'r nefoedd; dangosais y canlyniadau ofnadwy o wrthod trugaredd Duw, a thrueni bywyd o bechod, ac erfyniais arnynt oll, ar unwaith, i geisio iachawdwriaeth trwy waed y Prynwr.

"Mi fûm yn llefaru wrth lawer o gynnulleidfäoedd, ond ddim i un mwy astud na'r saith ar hugain hyny. O, fel yr oedd fy enaid yn dwysdeimlo mewn cariad at y crëaduriaid truenus hyny! yr afradlon ieuanc—y crwydryn o gartref—mab truenus rhieni duwiol, a ymgreiniai mewn ing; yr oedd rhai yn wylo, a phawb yn ddifrifol. Yna cynnygiais fyned i weddi, ond dywedais wrthynt y gallent sefyll, eistedd, neu benlinio, fel y dewisent; ond aethant oll ar eu gliniau, a chyn i ni godi yr oedd Ysbryd Duw yn gweithio gyda nerth. Arosodd Lis Dick a'r hen ŵr â'r spectol fawr ar eu gliniau wedi i'r lleill godi; addefasant eu dau ar ol hyny na weddïasant o'r blaen er ys blynyddoedd."

Yr oedd y gwaith bellach wedi ei ddechreu, ac nid oedd dim i'w wneyd ond parhâu gyda phob dyfalwch i'w gario ymlaen. Mae yn anhawdd meddwl am ddim mwy hapus na dull Mr. Ashworth o dòri at y gwahanol gymeriadau rhyfedd y deuai ar eu traws, a'r modd yr ymdrechai eu harwain at "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Fel pob dyn sydd yn ymdrechu gwneyd rhyw ddaioni, fe gafodd anhawsderau lawer i'w gorchfygu. Nid y lleiaf o'r rhai hyny oedd beirniadaeth oer a dirmygus llawer o'i frodyr. Priodolent ei lafur hwn i'w fympwy ffol, a rhai, i falchder ei galon, gan ddywedyd, "Os nad oedd yn bosibl iddo gael bod yn frenin ymysg y llewod, ei fod yn benderfynol o deyrnasu ymysg yr asynod, &c." Nid oes dim sydd haws na dirmygu dynion sydd yn gweithio. Wedi y cwbl, mae yn dra thebyg fod eu hamcan hwy yn llawn mor gymeradwy gan y Meistr ag yw beirniadaeth gymhenllyd eu brodyr sydd mor fynych yn ceisio amddiffyn i'w cydwybod eu segurdod eu hunain, trwy ddarostwng y rhai y byddai yn llawer mwy gweddus iddynt gynnal eu breichiau a'u cefnogi â'u cydymdeimlad cynhes. Yr oedd yn beth digalon iawn iddo hefyd weled rhai a fyddai am amser yn dangos edifeirwch dwfn am bechod, a phenderfyniad i ddilyn buchedd newydd, yn dychwelyd eilwaith at eu pechodau, "fel yr hwch i'w hymdreiglfa yn y dom." Heblaw hyny, yr oedd llawer o weilch, fel y gallesid dysgwyl,—ac yr ydoedd efe o'r dechreuad wedi cymeryd hyny i'r cyfrif,—yn proffesu pethau mawrion er mwyn cymeryd mantais ar ei garedigrwydd mewn ystyr arianol. Ond er y cwbl, y mae llwyddiant mor fawr wedi dilyn ei lafur cariad yn y ffordd yma, fel y gallai llawer dyn o gymhwysderau llawer uwch, mewn rhyw olygiadau, wynfydu na fuasai yn ei le. "Y neb a ennillo eneidiau sydd ddoeth!" Beth bynag fyddo llafur darllenwyr meddylgar y Traethodydd, ac yn enwedig gweinidogion ieuainc Cymru, mewn dysgyblu eu meddyliau a'u cyfoethogi â gwybodaeth fawr ac â syniadau ardderchog, a beth bynag a fyddo eu hymdrech i droi eu cyrhaeddiadau yn addysg i'r rhai y maent yn llafurio yn eu plith, na ato Duw fod yr amcan mawr o achub eneidiau yn cael ei anghofio yn ein plith! Nid ydym heb ofni fod llawer o dlodi amcan yn nodweddu llawer iawn o ymdrechion cyhoeddus y dyddiau hyn. "Yn wir meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr;" ond ai yn nhröedigaeth pechaduriaid? Mae yn bur sicr genym y byddai darllen y *Tales* hyn yn

debyg o fod yn foddion gras i lawer o'n darllenwyr. Maent yn ddifyrus anghyffredin.

Oh scenes surpassing fable! and yet true.

Ac y mae yr ysbryd o ymgysegriad llwyr i waith yr Arglwydd sydd yn eu llanw, y nerth ffydd, a'r gwresogrwydd cariad sydd mor arbenig yn eu nodweddu, mor nerthol, fel y byddai yn anhawdd i neb eu darllen heb deimlo yn ddwfn mai crefydd yw yr un peth angenrheidiol, ac mai braint uchaf dyn ydyw cael gwneuthur rhywbeth yn y byd yma dros yr Arglwydd Iesu Grist. Er mwyn ein darllenwyr, yr ydym yn awyddus i osod ger bron rhyw un enghraifft o lwyddiant mawr Mr. Ashworth. Gwyddom y bydd i lawer o honynt fod "fel dyfroedd oerion i enaid sychedig," a hyderwn y bydd yn foddion i beri i amryw yn eu plith ofyn gyda dyfnach difrifwch nag erioed beth a allant hwythau wneuthur dros eu Harglwydd. Nid yw yn hawdd dethol lle mae y cyfan mor hynod o ddyddorol; ond dewiswn yr hanes canlynol am

NIFF A'I GWN.

"Ymysg cymeriadau hynod ein pentref, ddeng mlynedd ar hugain yn ôl, yr oedd gwrthddrych yr hanes hwn yn sefyll ar ei ben ei hun. Yr ydoedd y pryd hyny yn mlodau ei ddyddiau, o daldra canolig, gyda chyfansoddiad cryf, a gweithgarwch neillduol, ac yr oedd holl egni enaid a chorff yn cael ei roddi ar waith bob dydd yn ngwasanaeth Satan. Yr oedd ei wraig denau, dàl, gyda'i hwyneb llwydaidd, trist, a'i blant carpiog a gwyllt, yn dyweyd yn amlwg fod ganddynt gartref truenus; ac yr oedd ei fwlgi llygadgoch, ffyrnig, ei fytheuaid newynllyd eu golwg, ei geiliogod ymladd noethion a hanner marw, mor amlwg a hyny yn dyweyd beth oedd achos y trueni hwnw. Yr oedd ganddo lais nerthol; a phan yn un o'i nwydau ofnadwy, neu yn feddw (yr hyn a ddygwyddai yn bur fynych), gellid clywed ei gabledd dychrynllyd dros yr holl bentref. Pan yn fachgen nid oedd un dyn a ofnwn gymaint; canys ar bob llaw fe ystyrid Niff yn un o'r dynion gwaethaf, ac ymdrechai, ymhob ffordd oedd i yn bosibl, i wneyd yr holl ddynion, am filldiroedd o amgylch, càn waethed ag ef ei hun. Yr oedd yn fawr am ymgyrch cŵn a theirw, a chynnelid yr ymgyrchoedd hyny tuag unwaith bob pythefnos; cadwai nifer o geiliogod ymladd, wedi eu dysgyblu i'r difyrwch isel, heblaw y cŵn a gadwai er mwyn hapchwareuon.

"Yr oedd yr holl dafarnwyr drygionus yn y gymydogaeth yn cadw ar delerau da â Niff. Fe fynai ymladd ceiliogod yn nhŷ un, ymgyrch cŵn a tharw i un arall, hela i drydydd, ymladd cŵn i bedwerydd, a rhedegfa i bummed; aufynych yr elai wythnos heibio heb fod cannoedd ar gannoedd o ddynion a bechgyn, ac weithiau hyd yn nôd merched, yn treiglo i'r pentref o'r trefydd a'r ardaloedd o amgylch, pan fyddai y golygfëydd mwyaf anfad yn cymeryd lle. Cŵn wedi eu cnoi i farwolaeth, ceiliogod wedi eu lladd; trwyn a wyneb y tarw wedi eu rhwygo gan y cŵn ffyrnig, gan beri iddo fuguno a rhuo gan ing, ac yn ei gynddaredd tòri y rhaff gref â'i daliai, a rhuthro i ganol y cynnulliad tŷn o ddynion, a merched, a phlant, yn nghanol oernadau, llefau, ysgrechfëydd, a melldithio, fel pe buasai uffern ei hun wedi tòri allan. * * *

"Wrth fyned trwy le a fuasai gynt yn olygfa y cyfryw ffieidd-derau, unwaith yn rhagor mi a gyfarfyddais â Niff. Yr oedd arno yr un olwg fudr a'r un edrychiad ffyrnig â phan y gwelswn ef ugain mlynedd cyn hyny, gyda phibell fèr, aflan, yn ei enau, a thri o gŵn ganddo wrth gadwynau; yr ydoedd yn myned i redegfa cŵn. Y fynyd y cyfarfuom, mi safais yn union o'i flaen, a dywedais,

"'Wel, Niff, pa fodd yr ydych?'

"Safodd yntau, hefyd, tŷnodd y bibell fèr o'i enau, ac, yn lled arw, fe atebodd,—

"'Nid wyf yn gwybod ei fod fawr o wahaniaeth pa fodd yr ydwyf; sefwch o'r neilldu, a gadewch i mi a fy nghŵn gael lle i basio.'

"'Ond cyn i chwi basio, mi garwn ddyweyd wrthych beth oedd yn myned trwy fy meddwl y fynyd y gwelais i chwi a'ch cŵn.'

"Edrychodd yn feiddiol, ni roddodd un ateb, ond safai yn llonydd.

"'Yr ydwyf wedi bod yn meddwl mai chwi ydyw y dyn gwaethaf allan o uffern, ac yr wyf yn synu nad aethoch yno er ys talm. Yr ydych wedi bod yn brif arweinydd pob

math o ddrygioni am y deng mlynedd ar hugain diweddaf; yr ydych wedi arwain cannoedd, os nad miloedd, i bechod a dinystr, ac yr wyf yn ofni fod llawer o honynt wedi eu colli am byth; ac eto yr ydych chwi, prif achos eu dinystr, yn cael eich goddef i fyw yn eich drygioni; chwi yw y rhyfeddod fwyaf o drugaredd Duw yn holl Lancashire.'

"Am fynyd yr oedd ei lygaid yn tanbeidio gan gynddaredd; y fynyd nesaf gostyngodd ei ben, ac ymddangosai mewn dyryswch.

"Gan gredu fy mod wedi gwneyd rhyw argraff, ac yn bryderus i'w ddilyn i fyny, gosodais fy llaw ar ei ysgwydd, yr hyn a barodd i'w gŵn chwyrnu, a dywedais,—

"'Yn awr, Niff, onid yw yr oll a ddywedais yn wir? ac onid yw yn rhyfedd fod Duw wedi eich arbed cyhyd? O, na fuasech wedi eich dychwelyd yn eich ieuenctyd, ac yna yn lle bod yn weithiwr i'r diafol—yn gwneuthur drygioni, chwi fuasech yn was i Dduw—yn gwneuthur daioni. A ddeuwch chwi i'n gwasanaeth ni yn yr awyr agored yr ydym yn myned i'w gynnal ar y *Green* y Sul nesaf?—a phwy ŵyr nad all arwain i'ch iachawdwriaeth?

"'Nid wyf fi yn myn'd i addaw dim o'r fath beth, felly, sefwch o'm ffordd.' Yna fe ymwthiodd yn ddiseremoni heibio i mi, ac aeth efe a'i gŵn ymlaen dan chwyrnu ar eu taith i'r lle hynod hwnw a elwir Belle Vue, gerllaw Manchester. Mi sefais am fynyd i edrych ar ei ôl, a dywedais wrthyf fy hun, os oedd un dyn yn Mhrydain y tu allan i gyrhaedd Dwyfol ras, mai Niff oedd hwnw.

"Amryw oriau ar ol hyny, mi a'i cyfarfyddais drachefn yn ymyl y bont faen yn Rochdale; yr ydoedd yn dychwelyd o'r rhedegfa gŵn yn Belle Vue. Gwelais ei fod yn croesi y stryd er mwyn fy ngochel, ond yn bur bryderus am ennill fy mhwynt, mi groesais drosodd, a thrachefn cyfarfyddais ef wyneb yn wyneb, yn benderfynol o wneyd ymdrech arall i'w gael i'r oedfa.

"'Wel, Niff, yr ydych yn dychwelyd o'r rhedegfa. Nid wyf yn gofalu pa un a ddarfu i'ch cŵn ennill ai peidio, ond yr wyf yn gofalu am eich enaid gwerthfawr, ac mi garwn i chwi wneyd addewid i mi.'

"'Beth sydd arnoch eisieu i mi addaw?' gofynai yn gyrch.

"'Y bydd i chwi dòri eich barf nos Sadwrn,' atebais.

"'Beth sydd a fyno tòri fy marf nos Sadwrn â'r peth?' ebai yntau, gan dòri allan i chwerthin yn uchel.

"'Wel, dywedwch y gwnewch, ac mi a ddywedaf i chwi.'

"'Wel, i gael gwared a honoch, yr wyf yn addaw gwneyd; ond fe fydd y tro cyntaf am flynyddoedd; fe'm crafwyd yn gyffredin ar fore Sul.'

"'Diolch i chwi am yr addewid yna; ac yn awr y mae pwnc bach arall,—a roddwch chwi eich crys glân am danoch ar fore Sul?'

"Drachefn fe chwarddodd, gan ddywedyd, 'Fe fydd hyny yn rhywbeth newydd yn ein tŷ ni os gwnaf, canys yr wyf fi yn gyffredin yn ei roddi am danaf ar ddydd Llun, os bydd genyf un; ond mi edrychaf, ac yr wyf yn meddwl y gwnaf.'

"'Wel, yn awr yr ydych wedi addaw tòri eich barf nos Sadwrn, a rhoddi eich crys glân am danoch fore Sul; a ddeuwch chwi i'r *Green* ac i'r oedfa?'

"'Na, na, nid âf fi ymhellach; yr wyf wedi addaw mwy nag wyf yn debyg o gyflawni, ond rhaid i'r dyn â'm gwêl i mewn pregethu feddu llygaid da.'

"'Yr wyf yn gobeithio y bydd i'm llygaid i eich gweled, ac y bydd i Dduw yn ei drugaredd eich cyfarfod. Dydd da, Niff.'

"Bore Sul a ddaeth, ac yr ydoedd yn un o'r boreuau hyfryd, tawel, prydferth hyny, pan mae daear, môr, ac wybren wedi eu gwisgo mewn gogoniant, ac yn ymddangos fel yn dyweyd,—'Dyma ddydd yr Arglwydd.' O, y Sabbath bendigedig!—dydd marchnad yr enaid—y brwydr-ddydd mawr i genhadau y groes—y dydd pan y mae mawl y pryned-igion yn esgyn at orsedd Duw mewn un cydgân fawreddog, a chalonau miliynau yn llamu gan lawenydd; mae y dydd hwn, o'i dreulio yn ngwasanaeth Duw, ac yn nhŷ Dduw, yn werth mil. Gwŷn fyd y dyn y mae yr Arglwydd yn Dduw iddo. Wedi cyrhaedd y *Green*, ni gawson yr athrawon, yr ysgolheigion, a chynnulleidfa yr eglwys oedd gerllaw, eisoes wedi ymgynnull; ac hefyd lawer o bobl o'r pentrefydd o amgylch, rhai yn amlwg wedi dyfod o gywreinrwydd. Dechreuasom y gwasanaeth trwy ganu,—

Gwaith hyfryd iawn a melus yw
Moliannu d' enw di, O Dduw.

"Tra yr oedd y bobl yn canu, edrychais o amgylch am Niff, ond nid oedd efe yn eu plith. Yna edrychais tua'i dŷ, canys yr oedd yn byw yn ymyl y *Green*, a gwelwn ef yn sefyll wrth y drws; gwelwn fod ganddo grys glân am dano, a meddyliais fod yn debyg ei

fod wedi tòri ei farf hefyd. Cyn gorphen yr hymn, symudodd oddiwrth y drws, ac aeth ymaith. Teimlais yn drist pan droes ei gefn arnom, a gweddïais yn fy meddwl am i'r Arglwydd ei wneyd yn druenus, a gweithredu yn nerthol ar ei gydwybod euog. Tra y cenid yr ail hymn mi edrychais o amgylch drachefn, ac yr oedd yn dda genyf weled wyneb Niff yn yspïo odditan gangen llwyn celyn; ac yno yr arosodd trwy yr holl wasanaeth boreuol. Pan oedd y bobl yn ymwasgaru, mi gerddais yn ddystaw at y lle yr ymguddiai, ac wedi dyfod ato, dadgenais fy hyfrydwch o ganfod ei fod wedi cwblhâu mwy nag ydoedd wedi addaw, ac erfyniais yn ddifrifol am iddo fod yn bresennol yn y prydnawn, ac i ddyfod i fysg y bobl, ac nid ymguddio.

"'Mi gâf weled pan ddaw yr amser; ond ni wnaf addewidion,' oedd ei ateb.

O flaen gorseddfainc uchel Iôn
De'wch bobloedd oll gan lawenhâu,

oedd yr hymn gyntaf y prydnawn, a thrachefn yr oedd Niff o dan y cangau celyn; ond yn ystod y weddi, a thra y cenid yr ail hymn, fe ddaeth yn raddol yn nês, nes o'r diwedd y safai yn nghanol y bobl. Yr oedd ei ymddangosiad yn creu y syndod mwyaf. Yr oedd gwŷr, gwragedd, a phlant yn yspïo arno fel pe yn ammheu eu llygaid eu hunain; ond yno y safai Niff, yn ddiammheu, a phan welodd pwy oedd yn myned i bregethu, eisteddodd i lawr, ac ymbarotôdd i wrandaw.

"Cymerodd y pregethwr yn destun, 'Dïanc am dy einioes.' Llefarodd am ymweliad yr angelion âg Abraham, yn hysbysu i'r hen batrïarch da fwriad Duw o ddinystrio Sodom bechadurus, a dinasoedd drygionus eraill y gwastadedd;—fel yr oedd Abraham yn eiriol gyda'r Hollalluog am iddo beidio dinystrio y cyfiawn gyda'r drygionus, gan erfyn arno arbed y ddinas os ceid yno ddeg a deugain o ddynion da;—fel yr addawai yr Arglwydd os ceid deg a deugain, deugain, deg ar hugain, ugain, neu ddeg cyfiawn yn yr holl bedair dinas, y byddai iddo eu harbed;—fel yr oedd Abraham mewn tristwch yn dychwelyd i'w babell, a'r angelion yn myned rhagddynt i Sodom i rybuddio y gŵr da Lot o'r dinystr oedd yn dyfod, gan beri iddo ar unwaith 'ddïanc am ei einioes,' a dywedyd nad allent wneyd dim nes ei fod ef yn ddiogel. Yma y gweinidog, gan gynhesu gyda'i bwnc, a waeddai, 'Beth! beth! a raid i elfenau pentyredig dinystr gael eu dàl yn ôl!—yr ystorm o dân a'r diluw fflamllyd gael eu hattal!—a raid i law ddyrchafedig yr hollalluog Dduw, ag oedd mewn barn ar fin taraw y dinasoedd ofnadwy o euog, wrthod symud, o herwydd fod un gŵr da mewn perygl! O Dduw, mor werthfawr yn dy olwg yw un o'th weision! Mawr yw dy drugaredd tuag at y rhai a'th ofnant. Ac eto nid oedd trugaredd Duw tuag at ei was Lot yn ddim mwy nag ydyw at bob un sydd yn bresennol. I'n gwaredu ni rhag tragywyddol ddinystr fe adawodd Efe ei orsedd mewn gogoniont, fe gymerodd arno ffurf dyn, wylodd, gruddfanodd, a bu farw er ein hiachawdwriaeth. O y fath gariad rhyfedd!—y fath gariad rhyfedd! A hyn er fy mwyn i! Ië, bechadur drygionus, ac er dy fwyn di—di!'

"Yn y fan yma neidiodd Niff oddiar y fan lle yr eisteddai, a syllodd ar y gweinidog gyda'r olwg fwyaf pryderus. Ymddangosai fel yn anghofio lle yr ydoedd, mor lwyr yr ydoedd wedi ei lyncu i fyny gan y gwirioneddau gogoneddus yn awr am y tro cyntaf a seinient yn ei glustiau. Yr oedd y saeth wedi cyrhaedd ei enaid; yr oedd gair Duw yn tòri ei galon, a thros weddill y bregeth fe safodd heb symud dim.

"Ar ol y gwasanaeth yr oeddwn drachefn yn cerdded yn dawel wrth ei ochr, a dywedais,—

"'Wel, Niff, yr ydych wedi synu y bobl heddyw, ac yr wyf yn dysgwyl eich bod yn synu atoch eich hunan; ac yn awr y mae genyf un dymuniad eto. Yr ydym yn myned i gynnal y gwasanaeth prydnawnol yn y capel,—fe ofyna fwy o benderfyniad i chwi ddyfod i le o addoliad na dyfod i oedfa yn yr awyr agored; yn awr, fy anwyl syr, addäwch i mi y byddwch yno am chwech. Na ddywedwch wrth neb am eich bwriad, rhag iddynt geisio eich perswadio i beidio.'

"Druan o hono; ymddangosai yn analluog i ddyweyd dim; ond wedi erfyn yn hir ac yn serchog fe addawodd fod yno.

"Yn yr hwyr, cyn esgyn i'r pulpud, dywedais wrth amryw o'r cyfeillion fod Niff yn dyfod, a dymunais arnynt barotôi eisteddle iddo. Ymddangosent oll fel yn synu yn fawr, a phe buaswn yn dyweyd wrthynt y buasai Beelzebub yn weledig yn bresennol nis gallasent synu yn fwy. Ond fe ddaeth Niff; ac er fod y capel yn llawn, fe ddarfu i'w ddyfodiad beri cyffro amlwg. Yr oedd rhai yn wylo; eraill yn edrych arno gyda synedigaeth; ac amryw yn codi i gynnyg eisteddle iddo. Yr oeddwn i yn teimlo yn ddwys, ac yn dymuno ar iddo gael gafael ar Gyfaill pechaduriaid, a myned i waered i'w dŷ wedi ei gyfiawnhâu.

"Y mae yn ngwasanaeth tawel, difrifol, y cysegr, ddylanwad sancteiddiol, goresgynol, sydd yn toddi yr enaid mewn tynerwch a chariad. Yn nghymundeb y saint y mae arddercbogrwydd arddunol, ac ymddengys caniadau yr eglwys filwriaethus a'r eglwys fuddugoliaethus fel yn cydymdoddi i un anthem fawr iddo Ef yr hwn a'n golchodd yn ei waed ei hun: y cyfryw ddylanwad a deimlid yr hwyr hwnw. Yn nghanol dagrau o lawenydd, clywid gruddfanau yr edifeiriol. Yn ystod y cyfarfod gweddi ar ol y bregeth, yr oeddwn i yn penlinio wrth ochr Niff. Ond nid allai efe na phenlinio, nac eistedd, na sefyll; eto yr oedd yn gwneyd y naill a'r llall heb unrhyw olwg ar drefn, gan dynu allan gadach poced tyllog i sychu y chwys oedd yn ffrydio i lawr ei wyneb. Yr oedd ei fynwes yn ymchwyddo fel dyn mewn dirgryniadau. Edrychodd arnaf fi gyda'r olwg fwyaf erfyniol, a gruddfanodd allan, 'Beth raid i mi wneyd? Beth raid i mi wneyd?'

"'A ellwch chwi roddi i fyny eich cŵn, Niff?' gofynais mewn llais dystaw.

"'Gwerthu fy nghŵn! gwerthu fy nghŵn! beth sydd a fyno hyny â'r peth?' gwaeddai.

"'Rhaid rhoddi pobpeth i fyny er mwyn Crist. Eich cŵn yw eich duwiau; a ellwch chwi ymadael â hwynt er mwyn iachawdwriaeth?'

"'Rhoddi i fyny fy nghŵn! pa niwed wnaethant hwy? Na, na; nid allaf roddi i fyny y fath rai da am redeg.'

"'Yna nid oes un gobaith am drugaredd os nad allwn roddi i fyny bobpeth er mwyn Crist; nis gallwn byth gael gafael arno; mae eich achos yn anobeithiol oni roddwch i fyny eich cŵn.'

"Cododd Niff oddiar ei liniau,—eto yn sychu y dagrau a'r chwys oddiar ei wyneb. Y pryd hyny dadganwyd y fendith, ac ymadawodd pawb.

"Gallai llawer anghymeradwyo fod yr ymddyddan uchod yn cael ei ddwyn ymlaen yn ystod cyfarfod gweddi. Fel rheol, gallai fod yn annymunol; yn yr amgylchiad hwn yr wyf yn meddwl ei fod yn faddeuadwy. Nid aflonyddid ar y cyfarfod, yr edifeiriol tlawd a ofynai beth oedd raid iddo wneyd, ac yr oedd yn ddyledswydd arnaf finnau ei gyfeirio at Iesu.

"Ar fy ffordd adref gelwais yn ei dŷ; yr oedd wedi tynu ei gôt, ac yn parhâu i sychu ei wyneb a'i wddf. Ei wraig a'i blant a edrychent arno gyda syndod mud, a'i dri chi a orweddent gan chwyrnu ar y llawr. Gan gyfarch ei wraig yn gyntaf, mi ddywedais,—

"'Mrs. Kershaw, yr wyf yn gweled eich bod wedi synu, ac nid rhfyedd. Y mae eich gŵr wedi bod mewn tri gwasanaeth crefyddol heddyw; yr wyf fi yn meddwl fod cyfnewidiad mawr yn dyfod drosto. Gwyddoch y fath fywyd drygionus y mae wedi arwain, ac fel yr ydych chwi a'r plant wedi dyoddef o herwydd hyny. Mae ei dafod, sydd filiynau o weithiau wedi bod yn cablu enw Duw, heddyw wedi gwaeddi am drugaredd; ac fe fydd i'r dyn, yr hwn uwchlaw pawb a ymddangosai y tu hwnt i gyrhaedd trugaredd, trwy ffydd yn Nghrist, dderbyn iachawdwriaeth.' Yna, gan droi at Niff, dywedais drachefn y rhaid i'r cŵn gael eu rhoddi i fyny cyn y gellid ei achub.

"'O, beth raid i mi wneyd? Ai nid allaf gadw y cŵn yna a chael maddeuant hefyd? Mae y cŵn yn ddiniwed ddigon, onid ydynt?'

"'Ydynt,' ebai finnau, 'nid yw y cŵn i'w beïo; ond yr wyf yn clywed fod genych dair rhedegfa eto i gymeryd lle, ac y mae llawer o hapchwareu ynddynt; ond rhaid i gŵn a chwmpeini drwg oll fyned, onidê yr ydych yn ddyn colledig!'

"Wedi myned ar fy ngliniau gydag ef a'i deulu mewn gweddi, gadewais ef yn wylo.

"Gan fod Mr. J. Guttridge i bregethu yn yr un lle—Bagslate—yr wythnos ganlynol, fe alwodd, wrth fy nymuniad, gyda Niff, a chymerodd ef i'r gwasanaeth. Fe fu o lawer o help i'r edifeiriol tlawd i ymbalfalu ei ffordd at y groes. Y Sul, y Llun, y Mawrth, a'r Mercher canlynol oeddent ddyddiau o lefain cryf a llawer o ddagrau. Dydd Iau fe ymadawodd â'i gŵn; a thua dau o'r gloch fore dydd Gwener fe gododd o wely di-gwsg, a llefodd am drugaredd a maddeuant mor uchel nes dychrynu yr holl dŷ,—'O, fy Arglwydd Iesu Grist! Yr wyf yn awr wedi rhoddi i fyny y cwbl y gofalwn am danynt er dy fwyn Di; os oes rhywbeth arall yn eisieu, dangos i mi, ac mi roddaf hyny hefyd. Iesu, achub fi! maddeu fy mynydd o euogrwydd, a dywed fod fy mhechodau yn cael eu maddeu!' Y weddi hono a wrandäwyd, a neidiodd Niff oddiar ei liniau—yn bechadur wedi ei achub trwy ras! ac mor uchel y moliannai Dduw fel y meddyliai ei wraig a'i blant ei fod yn wallgof. Ond fe aeth i lawr ar ei liniau drachefn, a dechreuodd weddïo am eu hiachawdwriaeth hwy,—prawf sicr ei fod wedi ei chael ei hunan.

"Galwodd arnaf ychydig ddyddiau wedi hyny, a rhoddodd yr hanes uchod am ei dröedigaeth; ymddangosai yn annhraethol ddedwydd. Gyda'r symledd mwyaf plentynaidd, gofynai i mi beth oedd raid iddo wneyd i ymgadw rhag syrthio yn ôl i bechod, a pha fodd i ymryddhâu oddiwrth ei gwmpeini gyda'r ymladd ceiliogod, rhedeg cŵn, yfed, a thôri y Sabbath; canys y byddent yn dyfod i'w dŷ fel arferol.

"'Wel, Niff, rhaid ymwrthod â hwynt yn llwyr. Fy nghynghor i i yw, darllenwch bennod o'r Bibl, ac ewch ar eich gliniau gyda'ch teulu unwaith yn y dydd. Dechreuwch adref; a phan ddaw eich hen gymdeithion drygionus i edrych am danoch, gofynwch iddynt eistedd, a dywedwch y cwbl wrthynt am eich tröedigaeth; ac os deuant ar y Sul, ceisiwch ganddynt ddyfod gyda chwi i'r capel. Felly chwi gewch wared o honynt yn fuan, ac fe allai y gwnewch beth lles.'

"Niff yn benderfynol a ddilynodd y cynghor a roddwyd, ac yn ddiofn a ddywedodd wrth ei hen gymdeithion am y cyfnewidiad a wnaethid yn ei enaid gan Ddwyfol ras. Fe'u rhybuddiodd bwythau hefyd yn ddifrifol o'r canlyniadau oedd i ddilyn eu ffyrdd drygionus. Fel y gallesid dysgwyl, yr oeddynt wedi eu synu yn fawr; yn wir yr oedd yr holl wlad mewn synedigaeth, oblegid ychydig ddyhirod oedd o fewn clyw clychau Rochdale nad oeddent yn bersonol gydnabyddus âg ef. Pe buasai y clochdŷ wedi syrthio ni fuasai mwy o siarad am dano. Pan yn myned trwy bentref Cutgate, lle y preswyliai, gwraig, â hen ffachod am ei thraed, a redodd ar fy ol, gan waeddi, 'Yn awr, John Ashworth, mae yn debyg eich bod wedi galw i weled Niff. Ni synwyd ni erioed gymaint yn Bagslate; mae y dyn gwaethaf yn y byd wedi ei wella. Mae yn tòri ei farf ddydd Sadwrn, ac yn rhoddi ei bethau glân am dano fore Sul, ac yn myned i'r capel; buasem yn meddwl mor fuan am i'r hen Nick fyned i'r capel â Niff.'

"'Ydyw,' ebai finnau, 'a gall pechaduriaid Bagslate oll ddyfod yn saint; gall yr un Duw ag a'i hachubodd ef eich achub chwithau' Ond tòrodd hi fy mhregeth yn fèr trwy droi ei chefn, a rhedeg gyda'i ffachod yn ôl i'w thŷ.

"Wedi tröedigaeth Niff yr oedd ei galon yn bur drist o herwydd drygioni ei fab hynaf, dyn ieuanc tua chwech ar hugain oed, yr hwn oedd wedi dilyn yn rhy dda esiamplau ei dad. Wedi hir berswadio un bore Sul, fe gafodd ganddo ddyfod gydag ef i'r capel, gan weddïo yn ei feddwl yr holl ffordd ar i Dduw gymeryd trugaredd ar ei blentyn. Pan yn siarad â mi ynghylch ei fab, dywedodd, 'Os bydd i Dduw achub fy Jimmy i, mi a'i molaf yn dragywydd.' A rhyfedd dyweyd, fe ddechreuodd Jimmy ddyfod i'r Ysgol Sul, fe ddaeth yn grëadur newydd yn Nghrist Iesu, ymunodd â'r eglwys, ac ynghylch deuddeng mis ar ol hyny bu farw yn fuddugoliaethus. Niff, tra yn sychu y chwys oddiar ael ei fab, ychydig oriau cyn iddo farw, a ddywedodd, 'Jimmy, fy machgen i, pwy chwysodd y defnynau mawrion o waed drosot ti?' Ebai Jimmy, '*Fy anwyl, anwyl Waredwr.*' Mi welais Niff yn sefyll wrth ochr gwely ei blentyn marw, estynodd ei ddwylaw tua'r nef, gan waeddi, 'Gogoniant i Dduw, y mae genyf un mab yn awr yn y trigfanau nefol.—mae fy Jimmy yn awr yn y nefoedd. Arglwydd, dychwel fy holl deulu, ac yna ni a'i cyfarfyddwn yn mharadwys.'

"Y mae yn awr dros naw mlynedd er pan roddes Niff i fyny ei fywyd o feddwi, tyngu, tori y Sabbath, a hapchwareu, ac y daeth trwy ras Duw yn Gristion. Pan glywodd am dröedigaeth yr hen Lawrence a Pinder, dau o'i ymdeithion mewn pechod, yr oedd ei lawenydd yn fwy nag a allai gynnwys. Galwodd i weled Lawrence, a daethant ill dau i geisio genyf fi ddyfod gyda hwynt i weled Pinder. Y fath gyfarfod! Wyleut oll o herwydd eu hen bechodau; ac wyleut o lawenydd am ddaioni Duw; ac ymgryment oll gyda'u gilydd mewn diolchgarwch wrth orsedd gras.

"Fore Sul diweddaf, Mawrth 22ain, 1863, cyfarfyddais Niff wrth glaf-wely, ac fel y profodd y diwrnod hwnw, gwely angeu cymeriad tra adnabyddus yn nghymydogaeth Bagslate—yr hynod 'Dolly.' Yr ydoedd yn gwasgu ar y truan oedd yn marw i edrych at Iesu am drugaredd. Wrth ymadael o'r seler lle y gorweddai 'Dolly,' druan, dechreuodd Niff ddiolch i Dduw am iddo ei gadw ef ar y ffordd i'r nefoedd cyhyd; a gobeithiai, pan ddeuai ei fynydau olaf, y ceid ef o hyd yn Nghrist Iesu; ac wrth ysgwyd llaw, pan yn ymadael, dywedai, 'Y mae yn awr yn agos i ddeng mlynedd er pan roddais i fyny fy nghŵn, ac y cefais drugaredd.'"

Ac y mae y gwaith da yn parhâu i fyned rhagddo. Fe fydd llawer o'r "rhai a ddisgynant i'r llwch" yn clodfori Duw byth am "Gapel yr Anghenus" yn Rochdale, ac am lafur ffyddlawn, cynhes, a di-ildio John Ashworth. Fel y dymunai ar y dechre, ac fel y gofyna yn barhâus, y mae yr Arglwydd yn gofalu am arian iddo at y treuliadau, a rhwng yr elusenau, &c., a roddir, y mae y rhai hyny yn gyffredin yn o fawr; y mae ei amgylchiadau ef ei hunan hefyd, er ei holl lafur yn achos eraill, o dan amddiffyn neillduol. Nid ydyw yn gofyn dim gan ddynion at ei dreuliadau gyda'r capel, &c.; er hyny mae yn derbyn cryn lawer. Dengys

ei Adroddiadau ei fod y flwyddyn gyntaf wedi derbyn 15p.; yr ail, 26p.; y drydedd, 109p.; y bedwaredd, 106p.; y bummed, 200p.; a diammheu fod y cyflenwadau arianol yma yn parhâu. Y mae yr Un y mae efe trwy ffydd yn wneyd yn Drysorydd iddo yn medru y ffordd i galonau dynion, ac yn peri iddynt ei theimlo yn fraint fawr cael cynnorthwyo mewn amcan mor fendigedig. Y mae y *Tales* hefyd yn cael lledaniad helaeth iawn. A bydded eu lledaniad ar fyrder yn ddeg helaethach. "Cyn terfynu," ebai Mr. Samuel Morley yn un o'i areithiau yn ddiweddar, "mi alwaf sylw at lyfr rhyfeddol, *Strange Tales*, gan John Ashworth, o Rochdale—sydd yn dangos beth all personau unigol wneyd dros Grist. Nid ydyw efe yn weinidog, ond John Ashworth blaen, yn cyflawni ei orchwyl beunyddiol mewn bywyd, ond nid un amser yn anghofio y cyfrifoldeb pwysig sydd yn gorphwys arno fel cristion, a phob amser yn edrych allan am gyflëusderau o ddefnyddioldeb. Fy mwriad presennol ydyw lledanu nifer fawr o'i lyfr." Byddai yn dda i rai o'n darllenwyr cyfoethog ddilyn ei esiampl. Dywedai Whitfield am Howel Harris, "I want to catch some of his fire," a hyny pan oedd efe ei hunan ymron â rhoddi y deyrnas ar dân. Pa faint mwy anghenrheidiol ydyw i lafurwyr ein dyddiau ni gael rhyw fantais i ymgynhesu? Pe bedyddid llawer yn ein plith âg ysbryd ardderchog llafur fel yr eiddo John Ashworth, nid oes derfyn ar y daioni a gynnyrchid. Nid ydyw y dosbarthiadau isaf yn ein trefydd ninnau, sydd yn gannoedd o filoedd heb adnabod Crist, ac heb fod neb yn ceisio eu hiachawdwriaeth, mewn sefyllfa anobeithiol. Y mae yr hwn sydd yn achub y penaf eto heb roddi ei orchwyl bendigedig i fyny. Ac eto y mae gan Gymru ei miloedd o gristionogion, a thalentau eu Harglwydd wedi eu hymddiried iddynt, yn eistedd yn dawel i fwynhâu eu breintiau, fel pe dyben penaf einioes fyddai mwynhâu, tra y mae eu cydddynion o'u hamgylch trwy feddwdod a phob llygredigaeth yn cael eu llusgo i angeu, heb fod neb yn ceisio eu hachub; a'u Harglwydd hwythau ar ei orsedd yn gweled fel y maent yn dodi mewn napcyn, neu yn cuddio yn y ddaear, yr arian y mae y diwrnod yn ymyl pan fydd raid iddynt roddi cyfrif am danynt! Y mae llawer iawn o nerth yn ein heglwysi yn bresennol yn myned yn ofer, ïe, yn waeth nag ofer. Gwŷn fyd nad ellid ei droi oll yn wasanaeth, er llwyddiant i deyrnas Dduw. Fel meini y felin,

If they have nothing else to grind that will themselves be ground,

yr un modd fe fydd nerth cristionogion Cymru os na thröir ef yn fendith i'r byd yn sicr o ddyfod yn felldith iddynt hwy eu hunain. A gawn ni sicrhâu ein darllenwyr—yn enwedig y bobl ieuainc yn eu plith, sydd yn llawn o yni ac yn llawn o nerth—fod gogoniant annhraethol uwch o fewn eu cyrhaedd nag y mae yn bosibl i gecraeth a choeg-feirniadaeth ei gyrhaedd yn dragywydd? Nid ydym yn deall ond i raddau anmherffaith iawn y mawredd sydd mewn defnyddioldeb gyda gwaith yr Arglwydd. Y mae, yr ydym yn ofni, rhyw uchelgais afiachus wedi ymdaenu i gryn raddau yn ein plith, sydd yn ymorphwys mewn pethau nad ydynt wedi y cwbl yn werthfawr ond fel moddion i gyrhaedd dybenion pellach, tra yn edrych i lawr ar ymdreulio mewn difrifwch i gyrhaedd y dybenion hyny fel rhyw fath îs-raddol o lafur. Ond dyma y llafur uchaf oll. Y mae y cymhwysder

sydd yn angenrheidiol iddo, sef duwioldeb personol dwfn, a zêl dros ogoniant yr Arglwydd Iesu, yn annhraethol uwch *accomplishment* na gwybod y dirgelion oll. Ac ni raid i ni ddyweyd nad ydym yn ysgrifenu fel yma am ein bod yn caru gwybodaeth yn llai, ond am ein bod yn mawrhâu yn annhraethol fwy yr amcan bendigedig sydd i fod yn enaid ac yn fywyd i bob llafur cymeradwy yn nheyrnas y Gwaredwr. Y mae hwn hefyd yn llafur nad oes eisieu ond profi ei flâs na theimlid ar unwaith fod pob mwyniant arall yn myned yn ddiwerth yn ei ymyl. "Fel yr wyf yn gresynu," ebe Whitfield, "dros y rhai y mae amser yn crogi ar eu dwylaw! Bydded iddynt ond caru Crist, a threulio eu holl amser yn ei wasanaeth, ac ni fydd ganddynt ond ychydig oriau pruddglwyfus." Pe byddai i lawer ychwaneg o gristionogion Cymru ymdaflu i ryw lafur calonog gyda gwaith Crist,—ac yn sicr nid oes eisieu iddynt ond agor eu llygaid na welant yn eu hymyl gyflawnder o waith,—mae yn ddiammheu y byddai eu hiechyd ysbrydol yn llawer gwell, eu nerth yn cryfhâu, a'u gwynfyd yn llawer cyfoethocach. Ac erbyn edrych y tu hwnt i derfynau amser, a meddwl am yr adeg pan fydd holl gadernid y grëadigaeth yn ymollwng, "y nefoedd yn myned heibio gyda thwrf, y defnyddiau gan wir wrês yn toddi, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi yn llosgi," y mae yn ddigon i lethu y galon gan lawenydd i feddwl y bydd pob gwir lafur yn nheyrnas Crist yn aros, ac yn parhâu yn dragywydd. Fe fydd y campau y mae y byd yn fawrygu wedi darfod am danynt mewn gwarth a chywilydd, y cofgolofnau wedi eu bythol chwalu, a'r enwau dysglaer wrth y miloedd wedi machludo yn nghaddug tragywyddol nôs; ond am yr ymdrechion difrifol a diymhongar, yn ysbryd yr Iesu, i sobri y meddwon, i ddofi pechaduriaid rhyfygus, i beri i afradloniaid droi eu hwyneb tua thŷ eu Tad, ac i ddysgu i'r oes sydd yn codi, yn yr Ysgol Sabbothol, cyfarfodydd plant, &c., ofn yr Arglwydd,—fe fydd yr holl lafur yna, yn ngoleuni y byd mawr, yn cael ei ddwyn allan gan Dduw o'i ddinodedd, ac fe wneir iddo ddysgleirio mewn tragywyddol ogoniant. "Ac mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd wrthyf, Ysgrifena, Gwŷn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur; a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." "A'r doethion a ddysgleiriant fel dysgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a dröant lawer i gyfiawnder, a fyddant fel y sêr byth ac yn dragywydd."

# YR ÆNEID.

DYMA gampwaith Virgil ar lawer ystyr. Er iddo farw cyn gorphen ei chaboli, a gorchymyn ei llosgi o'r herwydd, eto, gan iddo gysegru un mlynedd ar ddeg o'i ddyddiau goreu, a thynu allan holl adnoddau ei enaid i'w chynllunio a'i chyfansoddi, nid rhyfedd fod ei enwogrwydd fel bardd yn dibynu cymaint ar ei unig arwrgerdd. Tybir yn gyffredin iddo fabwysiadu Homer fel ei athraw, ac efelychu yr Iliad yn ffurf a dosbarthiad ei gân. Ystyrir ei fod wedi colli cymaint o dân awenyddol y cynfardd hwnw ag a ennillodd arno mewn perffeithiad cynllun a chywirdeb arddull. Anturiaeth fawr ac anhawdd yw cyfansoddi cerdd arwrol, ac ychydig iawn ymhlith llu afrifed beirdd pob gwlad sydd wedi llwyddo i gynnyrchu arwrgerdd enwog a darllenadwy. Ar ol enwi *Coll Gwynfa* y Saeson, *Rhyddhâd Caersalem* yr Eidaliaid, *Lusiad* y Portugiaid, heblaw y ddwy gân anfarwol a enwyd uchod, yr ydym mewn petrusder a ellir enwi un arall. Nid am nad oes gan y Ffrancod farddoniaeth dda, a'r Ellmynwyr feirdd athrylithgar, a'r Yspaeniaid ddarnau ysplenydd; ond am fod y nodweddau a'r rhagoriaethau neillduol a berthynant i brydyddiaeth arwrol mor ddiffygiol yn eu cynnyrchion. Nid rhyfedd, gan hyny, na chyfodasai neb enwog a llwyddiannus yn y llinell hon yn y cyfnod o naw can' mlynedd rhwng Homer a Virgil.

Y mae rhai egwyddorion mawrion a neillduol yn llywodraethu y math yma o farddoniaeth, ac ymdrechwn ddangos fel y cydymffurfiodd ein hawdwr â'r egwyddorion hyny. Dangosodd ei farn yn newisiad ei destun. Y rheol gyda golwg ar hyn yw, y rhaid i'r arwr fod yn ŵr enwog a rhinweddol, ac yn un y gall cenedl o bobl deimlo dyddordeb ynddo. Dewisodd ein bardd Æneas yn arwr. Drwy fod traddodiad yn priodoli rhinwedd, a gwroldeb, ac urddas mawr i'r person hwnw, a'r genedl Rufeinig yn ei ystyried fel ei sylfaenydd, yr oedd ymhob peth yn llenwi gofynion y rheol. Heblaw hyny, gan ei fod yn byw mor foreu, a'i hanes mor gaddugol, rhoddodd fantais i Virgil ddychymygu amgylchiadau a dygwyddiadau tarawiadol heb friwo syniad na chroesi gwybodaeth y darllenydd. Diau fod hyny mewn rhyw ddull nid yn unig yn oddefol, ond hefyd yn anghenrheidiol mewn barddoniaeth aruchel. Hefyd, gan mai i Achilles, y Groegwr, y canasai Homer, yr oedd gwaith Virgil yn canu i Æneas, y Troiwr, yr hwn a ymladdasai yn y rhyfel mawr yn erbyn Achilles, ac a fu lwyddiannus yn y diwedd i sylfaenu teyrnas, a hono yn Rhufain, yn boddhâu gwladgarwch y Rhufeiniaid.

Wrth gwrs, nid yr arwr yw yr unig berson y cyfeirir ato yn y gân. Gofynid cymeriadau îsraddol i gynnorthwyo yn ngweithiad allan y cynllun, ac i ddangos dylanwad a gallu y gwron. Dangosodd ein bardd ei dalent yn cadw y personau hyny bob amser yn ailraddol. *Un* arwr sydd drwy y gân; nid oes neb o'r îs-gymeriadau byth yn trawsfeddiannu ei le, ac nid yw yntau byth yn colli o'r golwg. Cymeriadau eraill a ystyrid gan yr henafiaid yn anhebgorol i farddoniaeth arwrol oedd y duwiau, neu alluoedd goruwchnaturiol. Yr oedd crediniaeth ddiysgog yn eu

meddwl mewn Rhagluniaeth. Dalient nas gallai y dyn galluocaf lwyddo heb i'r duwiau ei bleidio, a phriodolent bob llwydd ac aflwydd i ddylanwadau y bodau hyny. Tardda y gair *epic* o'r un gwreiddyn (neu o leiaf o dreigliad yr un gwreiddyn) a'r gair ffawd, a golyga y ddau ymadrodd, gorchymyn, neu arfaeth. Felly golygai cân *epic* un a adroddai y modd yr oedd y duwiau yn ymyryd yn amgylchiadau dynion, gan eu pleidio neu eu gwrthwynebu yn eu holl amcanion. Y mae llawer o feirdd Cristionogol wedi methu yn fawr yn y pwnc hwn, ac ar lawer ystyr ar ol y paganiaid. Haeddant y teitl a gymhwysid at y Cristionogion cyntefig oddiar ystyriaeth arall, sef, *anffyddwyr*. Gan ddirmygu gwir Ragluniaeth, defnyddiodd Camoens unllygeidiog yn ei *Lusiad*, a Voltaire, luman cul, yn ei *Henri Quatre*, dduwiau paganaidd yn gymysg â phersonoliad barbaraidd o'r "Rhinweddau" a'r "Pechodau" fel yr hyn a elwir yn *beiriannwaith* eu cerddi. Gall personoliad o ddansoddiadau *(abstractions)* fod yn oddefol mewn cerddi dychymygol neu addysgiadol, fel *Fairy Queen* Spencer, neu *Orlando Furioso* Ariosto; ond rhaid ei ystyried yn ddiffyg mewn cân fel *Theomemphus* Williams Pantycelyn, gweithrediad yr hon sydd yn crogi wrth gymeriad gwron. Pa mor ddiffygiol bynag y gellir ystyried *Coll Gwynfa* mewn ystyriaethau eraill, gwnaeth Milton yn deilwng o hono ei hun, nid yn unig fel Cristion, ond hefyd fel bardd, drwy ymwrthod â ffug-beiriannwaith duwiau paganaidd, a phersonoliadau, a defnyddio Rhagluniaeth Duw, ac angelion drwg a da, a ffurfiau ymadrodd Ysgrythyrol.

Rhagorodd Virgil ar Homer, ac ar bob bardd arwrol arall o fri, yn ngloewder ei arddull, ac yn nghyfartaledd a pherffeithrwydd ei gynllun. Y mae hyn yn bwysig, er nad yw yn rhan o farddoniaeth y gân. Perthyna yn hytrach i Reitheg. Gall y farddoniaeth buraf fodoli hebddo, fel y gwelir yn y *Fairy Queen;* eto y mae cynllun eglur a chryno yn anhebgorol i farddoniaeth arwrol fel y cyfryw. Dybyna y cynllun ar yr "unoliaethau," fel eu gelwir,—unoliaeth cymeriad yn y gwron, unoliaeth gweithrediad yn yr ymgyrch, ac unoliaeth lle ac amser yn yr amgylchiadau. Anturia rhai ddibrisio a gwawdio y canonau hyn, gan ddal mai pethau dygwyddiadol ydynt, ac fod llawer o'r prif-feirdd wedi eu hesgeuluso. Ond nis gall neb lai na theimlo fod cân, yn gystal a phob cyfansoddiad arall, fel gwaith celfyddyd, yn ennill nerth mawr drwy feddu "dechre, canol, a diwedd," drwy fod yn un cyfanwaith, ac nid yn rhan o gân neu yn amryw gânau wedi eu dolenu ynghyd. Yr *unig* ffordd i gadw cyfanrwydd yw cadw yr unoliaethau. Ar ol dewis ei wron, rhaid i'r bardd gadw ato, ac nid dyweyd ei hanes o'i febyd i'w fedd, ond syrthio ar ryw un gorchwyl neu ddygwyddiad mawr yn ei fywyd. Dylai y gân fod fel llosgwydr *(lens)*, yn crynhoi pob amgylchiadau i un craidd. Dyna unoliaeth gweithrediad. Dichon nad yw unoliaeth lle ac amser mor anhebgorol i arwrgerdd ag yw i *drama*. Y mae Homer wedi cyfyngu ei le a'i amser yn fwy na Virgil, eto nid yw yr Æneid yn ei gweithrediad yn parhâu ychwaneg na blwyddyn. Er nad yw cynllunio cân yn ddim ond peth allanol celfyddydol, eto gan ei fod yn fater y gellir yn hawdd ei ddeall a'i feistroli, ac na fydd wed'yn yn faich na llyffethair ar y bardd, nid oes gan feirdd Cymru, sydd yn talu cymaint o sylw i allanolion, un esgus dros fod wedi ei esgeuluso cyhyd. Medda llawer o'n beirdd gystal awen, a chân gryfed dychymyg, â beirdd

unrhyw wlad; ond gresyn fod eu harddull aflerw, a'u diffyg celfyddyd, yn anafu cymaint ar y wisg. Y mae yr iaith yn goddef odliad a chynganeddiad perffaith, ac y mae ein gramadegwyr wedi talu sylw mawr i'r allanolion hyn. Nid yw yr addurniadau yma i'w dibrisio, ond y mae lle i ofni ein bod yn esgeuluso elfenau sydd yn llawer mwy pwysig i farddoniaeth. Y mae geiriad llac, gwerinaidd, llawer o'n hawdlau a'n pryddestau, yn profi na lafuriodd eu hawdwyr erioed i gystwyo brawddegau i ffurf luniaidd, ac i'w cyweirio mewn sain soniarus, ac na ddysgasant gelfyddyd anhyfryd, ond anghenrheidiol Pope—y gelfyddyd o ddilëu *(the art to blot)*. Bron nas gallem ddyweyd am Virgil ei fod yn berffaith yn y rhagoriaethau hyn. Ni chyfarfyddir âg odid i air ag y gallesid cael ei gymhwysach, na byth un sill y bydd dyn mewn petrusder am ei swydd; y mae pob ymadrodd fel hoel yn sicrhâu yr adeilad, neu fel dolen anhebgor mewn cadwen.

Gan y tybir fod Æneas yn byw tuag un cant ar ddeg o flynyddoedd cyn y cyfnod Cristionogol, gellid dysgwyl fod ei hanes yn ddiffygiol a chymysglyd. Felly mewn gwirionedd y mae, ac adroddir ef yn wahanol gan wahanol awduron. Defnyddiodd Virgil ef yn ol y chwedlau diweddar, yn hytrach nag yn y ffurf Homeraidd. Dywed Homer mai mab ydoedd i Anchises ac Aphrodite, a'i fod wedi ei eni ar fynydd Ida, gerllaw Caerdroia, yn Asia Leiaf. Canmolid glendid Anchises yn fawr, a dywedid ei fod yn hyny yn gyfartal i'r duwiau anfarwol. Syrthiodd y dduwies Aphrodite, neu Gwener, mewn cariad âg ef, ac yn ol yr hen chwedlau hi ydoedd mam Æneas. Rhoddodd Gwener y tad ar ei ocheliad rhag bradychu mai hi oedd mam y plentyn; a chan i Anchises ymffrostio yn y ffaith ar un achlysur, tarawodd y dduwies ef â tharanfollt nes y collodd ei olwg. Tyfodd y bachgen i fyny i fod yn fugail defaid, a chyda y gorchwyl hwnw yr ydoedd pan y tòrodd rhyfel Caerdroia allan. Gan ei fod yn tarddu o hiliogaeth y brenin Tros, o ochr ei dad, yr oedd yn naturiol iddo gydymdeimlo â'r Tröiaid; ond ni chymerodd un ran weithredol yn yr ornest nes i Achilles, arwr yr Iliad, ladrata ei ddëadelloedd ar fynydd Ida. Yr oedd ei fam yn ei noddi yn y rhyfel, ac efe a Hector oedd y ddau flaenor yn erbyn y Groegiaid. Yma y gedy Homer ef, ond adrodda chwedlau diweddarach, iddo ddianc o Troia drwy ffaglau ei llosgiad, â'i dad dall ar ei gefn, pan y cymerwyd y ddinas gan y gelynion. Ffôdd o Asia Leiaf yn fuan ar ol yr amgylchiad hwn, a thrôdd efe a'i gyfeillion tuag Ewrop: a hanes ei grwydriadau ar fôr a thir, o'i gychwyniad allan hyd ei sefydliad yn Latium, rhan o'r Eidal, yw sylfaen yr Æneid. Fel hyn, yn ol ein cynnyg ni ar gyfieithu ei waith, y gosoda Virgil i lawr ei gynllun, ac yr amlyga amcan ei gân:—

## LLYFR I.

Canaf i'r arfau a'r gwron ddaeth gynta',
'N ffoadur i'r Eidal o draethell Caerdroia:
Galluoedd y nefoedd drwy ffyrnig lid Juno,
Hyd dir a môr 'stormus a'i gyrodd i grwydro.
A brwydrau blin gafodd cyn seilio ei ddinas,
Cyn cyrchu ei dduwiau i Latium ucheldras;
Cartrefle 'r Lladinwyr a'r tadau Albanaidd,
A safle bàn gaerau ein Rhufain d'wysogaidd.

Gofyna i'r awen achos y digofaint a lechai yn mynwes Juno at yr adyn truan, ac adrodda yr hanes, o ran sylwedd, fel y canlyn:—Gosodasai y dduwies ei bryd ar ddyrchafu Carthage yn ben ar deyrnasoedd y ddaear. Clywsai fod Tynghedfen wedi ordeinio i hiliogaeth ryfelgar, a ddisgynai o waed Troiaidd, ddymchwelyd y deyrnas hono. Cofiai hefyd am ddedfryd anffafriol Paris. Gwahoddasid yr holl dduwiau i neithior Peleus a Thetis, oddigerth Eris (*ymryson*). Yn ddigofus oblegid ei gwrthodiad, taflodd y dduwies afal aur i blith y gwahoddedigion, ac yn argraffedig arno, "*I'r lânaf.*" Yn y fan hawliodd pob un o'r tair duwies, Juno, Gwener, a Pallas, ef iddi ei hun. Gorchymynodd Iau i Hermes fyned â'r tair i fynydd Ida, lle y tòrai Paris, y bugail prydweddol, y ddadl. Dyfarnodd Paris ef i Gwener, yr hyn a gynhyrfodd ddigllonedd Juno a Pallas yn enfawr yn erbyn Caerdroia, a hyny a achosodd ei difrod yn y diwedd, a gwasgariad ei gwroniaid dros diroedd a moroedd, a chrwydriad Æneas am gynifer o flynyddoedd yn adyn digartref o wlad i wlad.

Yn y seithfed flwyddyn cyrhaeddasai ein gwron ynys Sicily, ar fôrfin yr Eidal. Yr oedd bron yn ngolwg Latium, ac ar derfynu ei daith. Yn ymadael o'r ynys hono y cawn ef gyntaf yn yr Æneid. Felly cyfyngir amser y gân i ddeuddeng mis, oblegid tuag wyth mlynedd y parhäodd ei bererindodau, a chedwir unoliaeth celfyddgar y cyfansoddiad. Edmygir y darlun o'r dymhestl yn niwedd y dernyn canlynol yn neillduol:—

Tir Sicil i'r dyfnder ymsuddai o'u holau,
A llawen yr hwylient gan hollti y tònau.
Ond Juno, gan faethu 'r hen glwyf yn ei mynwes,
Fel hyn a ymsoniai:—"A fetha fy neges?
Heb gadw o'r Eidal dywysog Caerdroia,
O herwydd Tynghedfen fy nyben a groesa!
Fe losgodd Minerfa holl lynges Groeg ffyddlon,
A chyrff ei gwroniaid a suddodd yn 'r eigion,
O herwydd at Aias fod dig yn ei chalon,
Gan luchio mellt Iau o'r cymylau mewn digter,
Gwasgarodd y llongau; cynhyrfodd y dyfnder,
A chipiodd y gwron mewn corwynt dychrynllyd,
O'i fynwes wanedig anadlai dân fflamllyd,
Ac ar graig ddanneddog fe 'i hyrddiodd fel ergyd!
A minnau, brif dduwies, a chwaer Iau a'i briod,
Yn ofer ymdrechaf â chenedl anhynod.
Pwy, bellach, gyflwyna i mi addoliadau?
Pa adyn lysg ebyrth mwy ar fy allorau?"
Yn chwerw 'i myfyrdod i Æolia cyfeiriodd—
Esgorfa 'r cymylau, y gwynt, a'r tymhestloedd—
Lle 'r oedd y teyrn Eol mewn ogof ddu anferth
Yn ffrwyno 'r tymhestlwynt mewn llafur a thrafferth,
Gan attal ei ruad, cyfyngu ei branciau,
Fe 'i cadwai 'n garcharor dan glöion a rhwymau.
Y gwyntoedd digofus a ruthrent o gwmpas
Y dôrau; a'r mynydd ddadseiniai 'u trwst adgas.
Ond Eol eisteddai yn uchel ei orsedd,—
Gan ddal ei deyrnwïalen, lliniarai 'u cynddaredd;
Rhag iddynt gydruthro a llusgo drwy 'r wybren
Nef, daear, a moroedd, mewn dinystr anorphen;
Ond Iau hollalluog, yn ofni 'r trychineb,
A'u clôdd yn yr ogof â chreig ar eu hwyneb,
Ac Eol deyrn arnynt osododd yn frenin,
I'w hattal a'u gollwng yn ol ei orchymyn.

Daw Juno yn ddengar at Eol (awel?) ac erfynia arno ollwng y gwyntoedd yn rhyddion, a chwalu y llongau hyd wyneb y dyfnder, gan addaw ffafrau neillduol iddo. Cydsynia yntau â'i chais, gan gydnabod ei dylanwad a'i hawdurdod. Yma daw y darluniad o'r ystorm:—

'N ol d'weyd hyn, dyrchafodd ei bicell, ac ystlys
Gan 'r mynydd darawodd, a'r gwyntoedd nwyfiannus
Ruthrasant fel byddin drwy byrth agoredig,
A'r ddaear rwygasant â chorwynt mileinig:
Gwynt dwyrain a dëau; gwynt Affrig ystormus
Gydchwythent gan hollti y weilgi cynhyrfus
I'w waelod, a threiglo ei gerhynt i'r glànau;
Crochlefau gwŷr gordient â gwichiad yr hwyliau,
A chipiodd cymylau oleuddydd a nefoedd
O olwg y Troiwyr; amdôdd nos y moroedd!
Pegynau byd d'ranent, a gwibiai mellt fforchog,
Ac angeu disymwth fygythiai 'r gwŷr ofnog.

Try Æneas mewn dychryn i resynu ei dynghed, a thra yr oedd yn gofidio na fuasai deheulaw Diomed wedi ei daraw yn farw ar wastadedd Caerdroia—

Y dymestl aruthrol darawodd yr hwylbren,
A lluchiodd y tònau yn erbyn y wybren:
Y rhwyfau dòrasant, a'r llong drôdd a'i hystlys
I'r tònau; pistyllai y gwlaw yn arswydus,
Tra 'r naill long a grogai ar grib tòn ferwedig,
Y llall a ymsuddai i geunant anelwig;
A'r dyfnder rhwygedig ddynoethai y gwaelod,
Rhwng gwreiddiau y tònau gan chwalu y tywod.

Hyrddir tair o'r llongau ar greigiau cudd, a thair eraill o flaen y dwyreinwynt ar draethelli a bâsleoedd, lle y cleddir hwynt mewn tywod. Daw tòn aruthrol heibio, gan ddisgyn o'r uchelder a tharaw llyw y llong a gludai wŷr Lycia a'r ffyddlawn Orontes o flaen llygaid Æneas; teflir y llong-lywydd dros y bwrdd ar ei hyd i'r dyfnder; chwrlïa y trobwll hi deirgwaith o gwmpas, a sugnir hi i lawr gan y llynclyn gwyllt. Yna gwelir yn nofio yma a thraw ar y dyfnder maith, ddynion a'u harfau, ac astellod a chyfoeth Caerdroia ymhlith y tònau. Yna trecha y dymhestl long gadarn Ilioneus, ac yna lestr y gwrol Achates, a'r hon yr hwyliai Abas ynddi, heblaw eiddo Alethes hen: ymdumiant oll gan holltau, a derbyniant y llif gelynol drwy eu hochrau holltedig.

Yn y cyfamser, clyw Neifion, duw y môr, fod yr eigion mewn cyffro gwyllt, a'r dyfnderoedd wedi eu dymchwelyd o'u gwaelodion. Cyfyd ei ben oddiar wyneb y môr, a geilw ar wyntoedd y dwyrain a'r gorllewin, a cherydda hwynt yn llym am eu hyfdra a'u beiddgarwch; gorchymyna iddynt ddychwelyd ar frys at eu brenin, a dywedyd wrtho nad ei eiddo ef ymherodraeth y môr, a'r tryfer arswydus; arglwyddiaethed yn hytrach ar y creigiau cedyrn, eich palasau priodol chwi O Eurus. Yn y palas hwnw ymffrostied Eol yn falch, a theyrnased yn ngharchar cyfyng y gwyntoedd. Tawela y môr yn gynt na geiriau ei deyrn,—

Fel pan yr ymgodo croch derfysg mewn gwerin,
Y brocha mynwesau y bobl gyffredin,—
Ffagodau a chèryg ehedant o gwmpas,
A'u nwydau a chwiliant am offer galanas:
Ond pan y dyneso gŵr parchus a duwiol,
Dystawant, a safant â chlustiau gogwyddol,
A thrwy ei hyawdledd, y gŵr a reola
Eu nwydau cynhyrfus, a'u mynwes dawela.
'R un ffunud encilia holl gynhwrf môr tònog
Pan lithro ei frenin mewn cerbyd olwynog
Drwy 'r awyr agored, gan lacio 'r awenau,
A gyru 'r meirch buain dros frigau y tònau.

Cododd ysgol o feirdd yn Ffrainc yn yr oes o'r blaen a alwent eu hunain yr ysgol ramantus. Dibrisient reolau gwarantedig barddoniaeth, ac ymffrostient hyd yn nôd yn eu troseddu. Y mae argraff gwrthddrychau materol ar y meddwl yn fwy bywiog nag eiddo syniadau dansoddol; a chan fod y blaenaf, yn eu perthynas â meddwl, wedi eu cymhwyso i fod yn gysgodluniau o'r olaf, defnyddia rheitheg hwy fel cyfryngau i argraffu gwirioneddau dansoddol ar y dychymyg. Tröai y rhamantwyr y ddeddf hon yn ei gwrthol, a darlunient byramid, er enghraifft, fel ambell feddwl mawr yn ymgodi mewn unigedd ar wastadedd ëang ac anialdir diffrwyth myfyrdod. Braidd na feddyliem fod ein prif-fardd, yn y dyfyniad olaf uchod, yn ymylu ar y trosedd hwn. Y mae greddf, heblaw rheolau cyfansoddiad, yn dysgu mai mater sydd i eglurebu *(illustrate)* meddwl, ac nid meddwl fater.

Gan i ni roddi cynnwysiad y cant a hanner cyntaf o saith gan' llinell y llyfr hwn yn lled gyflawn, rhaid i ni redeg yn ysgafnach dros y gweddill er mwyn cael peth gofod yn ein hysgrif i'r lleill o'r deuddeg llyfr, i'r rhai y rhanodd y bardd ei arwrgerdd.

Wedi i'r dymhestl dawelu, glàniodd y trueiniaid achubedig ar arfodir Libya, yn Ngogleddbarth Affrig. Darlunir yn brydferth a dyddorol eu dyfeisiau i gynneu tân, a darparu lluniaeth yn yr estronwlad anial. Yna daw y duwiau i mewn. Anerchir Iau gan ei ferch serchog, Gwener, yr hon a erfynia ei nawdd dros ei mab Æneas a'i gymdeithion anffodus yn eu sefyllfa ddiamddiffyn. Addawa yntau bob nodded iddynt, ac amlyga ei fwriad i'w sefydlu yn yr Eidal, a'u gwneyd yn genedl fawr a theyrnas gadarn, llywodraeth yr hon a barhäi yn dragywydd. Anfona Iau y negeswr dwyfol Mercher at Dido, banon y wlad, i dueddu ei meddwl i deimlo yn dosturiol tuag at yr anffodusion. Wedi hyny, cyferfydd Gwener âg Æneas a'i gyfeillion tra yn hela, ac adrodda iddo hanes Dido a sylfaeniad dinas Carthage. Heb ei hadnabod, adrodda yntau iddi hithau hanes ei grwydriadau meithion a'i anffodion dyrys ar fôr a thir. Y mae y fam yn methu dal i wrando am gyfyngderau ei mab, tyr ar draws ei chwedl, a chyfarwydda ef i fyned i'r ddinas ac at y frenines.

Hi dawodd; a'i mwnwgl rhosynog ddysgleiriai,
A'i gwallt llaes y dwyfol berarogl wasgarai
Wrth iddi droi ymaith; ei mantell ddirodres,
A'i chamrau mawreddog fradychent y dduwies.

Yn ofer y gwaedda Æneas ar ei hol, ac yr edliwia iddi ei hymweliad lladradaidd âg ef. Ond y mae hi yn ei orchuddio ef a'i gymdeithion â

chwmwl, ac o dan gysgod hwnw änt i mewn i'r ddinas yn anweledig i bawb, a deuant o'r diwedd i mewn i balas Dido. Yno canfyddant arwyddion y derbynid hwy yn llawen a chroesawgar gan y frenhines. Gwelant ddarluniau o ryfel Caerdroia yn addurno yr ystafell orwech, a dygir i mewn gan dorf fawr rai o'u cyfeillion y tybient oedd wedi eu boddi, blaenor y rhai a draddodai anerchiad hyawdl; a phan yr oedd Dido yn ateb, ymrwygai y cwmwl, a daeth Æneas i'r golwg. Rhoddir derbyniad gwresog iddo gan Dido, ac anfona anrhegion i'w gymdeithion oedd ar y traeth,—ugain tarw, can' baedd gwrychog eu cefnau, can' oen tew, ynghyd â'u mammogiaid. Anfona Æneas ei gyfaill Achates i adrodd ei lwyddiant wrth ei fab Ascanius (yr hwn hefyd a elwid Julus), ac i'w gyrchu i'r ddinas. Gorchymyna iddo ddwyn anrhegion i'r frenhines, sef yr hyn a arbedasid o ddistryw Caerdroia—mantell frodedig âg aur, a darluniau, a gorchudd o ymylwaith cywrain—addurniadau Helen y Roeges, y rhai a ddygasai gyda hi o Mycenæ, pan yn cefnu ar ei chyfreithlawn briod, Menelaus, ac yn ffoi gyda Paris i Gaerdroia—rhoddion ei mam Leda iddi; teyrnwialen hefyd, yr hon unwaith a gariai Ilione, merch henaf Priam, gwddfdorch o berlau, a choron wedi ei hadduro â dwy rês o emau ac aur.

Gan mai Juno oedd nawdd-dduwies Carthage, ofna Gwener rhag iddi ddylanwadu ar feddwl Dido, fel ag i niweidio ei mab Æneas. Gan hyny cynllunia y ddichell ganlynol—myfyria pa fodd y gall gynneu tân serch yn mynwes y frenines tuag at Æneas, gan dybio, pe llwyddai i wneyd hyny, nas gallai Juno ei hunan ei niweidio. Geilw am ei mab—Cupid, duw cariad, a chyfarwydda ef fel y canlyn :—

"Fy mab, O, fy ngobaith! ti 'n unig yw 'm gallu,
Fy mab, nas gall bolltau Iau dad mo 'i ddychrynu,
Ffôaf atat, gan erfyn am nawdd dy ddwyfoldeb.
Ti wyddost i Juno, o greulawn gasineb,
Hir hela 'th frawd Æneas dros foroedd pedryfan,
A mynych gofidiodd fy ngofid dy hunan.
Croesawir e 'r awrhon gan Dido 'r Phenicíad,
Ond ofnaf droi 'n frâd y Junonaidd groesawiad.
Gan hyny, bwriadaf ddyrwydo 'r frenhines,
A'i hamgylch wregysu â fflamau serch eirias,
Fel nas gallo 'i hattal un duwdod gelynol
Rhag caru f' Æneas â chariad angerddol.
Clyw, bellach, fy nghynllun i gyrhaedd fy amcan.—
Fel gallot fy nghymhorth i'w weithio 'n deg allan,
Mae 'r breiniol fachgenyn, prif wrthddrych fy mhryder,
Wrth arch ei anwyldad, i gychwyn ar fyrder
I'r ddinas Sidonaidd, gan gario anrhegion
Achubwyd o goelcerth Caerdroia a'r eigion.
Hwn suaf i gysgu, a chadwaf mewn cuddfa,
Mewn man cysegredig ar gopa Cythera,
Neu uwchlaw Idalium, mi guddia 'r bachgenyn
Rhag iddo ymyryd a d'rysu fy nghynllun:
A thithau, fy machgen, hud-wisga olygon
Cynefin y bachgen, am yspaid un noson,
Fel pan y'th gofleidio y fanon drachwantus
Rhwng breiniol ddysgleidiau, a ffrydiau 'r duw Bachus,
Y gallot anadlu dy fflam yn lledradaidd
I'w mynwes, a thywallt dy wenwyn dirgelaidd."
Duw cariad i'w fam ufuddhâi, ac yn hwylus
Dyosgai ei esgyll, a throediai fel Julus;

Tra Gwener ddylidlai wlith cwsg dros aelodau
Ascanius, i'w gludo 'n ei mynwes i fryniau
A llwyni Idalia, lle cauai y mintys
Am dano gysgodion ac arogl persawrus.
A Cupid a ddygai y breiniol anrhegion
I'r Tyriaid—i'w arwain Achates fu ffyddlon.

Anhawdd iawn yw pigo darnau lle y mae y cwbl mor dda, ac yn cael ei ddyweyd mewn dull mor weddus a phrydferth, yn enwedig lle y cèrir yr hanes ymlaen, ac y cydwëir dygwyddiadau mor gywrain. Llwyddodd Cupid i gynneu mynwes Dido. Gwnaeth y frenhines wledd o barch i'r Troiaid, ac y mae y miwsig a'r difyrwch yn parhâu ymhell i'r nos. Nid oedd diwedd ar gwestiynau Dido ynghylch hanes Æneas, ac o'r diwedd y mae yn llwyddo i gael ganddo adrodd hanes yr holl ryfel a'i anffodion o'r dechreuad. Y mae hyn yn llenwi y cyfan o'r ail a'r trydydd lyfr. Sylwer ar gelfyddyd yr awdwr yn dyfeisio llwybr mor naturiol i ddwyn i mewn yr holl hanes o'r dechreu, heb broffesu ei adrodd yn ffurfiol. Yn lle ei adrodd ei hun, gesyd y cwbl yn ngenau yr arwr.

## LLYFR II.

Dadgana Æneas, i ddechre, ei anmharodrwydd i adgofio yr helyntion blinion yr aethai drwyddynt. Dŵg hyn i'n cof fel y mae pob rhan o'r awduron clasurol wedi ei benthyca a'i hefelychu gan brif feirdd yr oesau canlynol, oblegid y mae Dante, y bardd mawr Eidalaidd, yn dechreu ei Inferno bron yn yr un gywair. Yr amgylchiad cyntaf a gofnoda yw dichell y "ceffyl pren." Y mae pawb yn gynnefin â'r hanesyn hwn.

Llywyddion y Groegiaid, o'r diwedd, yn isel
Eu meddwl, gan ingoedd Tynghedfen a rhyfel
Adeiliant farch anferth yn gywrain a chelfydd,
Gan wisgo 'i asenau â phlanciau o ffawydd.
A ffugiant e 'n offrwm er ennill y duwiau
I noddi 'u dychweliad; Och! credwyd eu chwedlau!
Ond gwŷr dewisedig drwy goelbren a guddiwyd
Yn nghrombil gaddugol 'r anghenfil; a llanwyd
Ei lydain ystlyssu 'n llechwraidd o bobtu
O feiddgar arfogion mewn dichell i lechu.

Cilia y Groegiaid i ynys fechan o'r golwg, ac yna gan gredu eu bod wedi rhoddi y gwarchae i fyny, a dychwelyd i'w gwlad, daw y Tröwyr allan yn hyf i weled y ceffyl pren. Mae'n fuan yn myned yn ddadl boeth rhyngddynt â'u gilydd pa beth i'w wneyd âg ef. Myn rhai ei ddryllio mewn moment, gan haeru nad oes fawr ymddiried yn anrhegion y Groegiaid. Myn eraill dori bwlch yn y muriau er mwyn ei lusgo i'r ddinas, oblegid yr oedd yn llawer gormod i ddyfod drwy unrhyw borth, ac yn rhy drwm i'w godi drosodd. O'r diwedd perswadir hwy drwy ddichell Groegwr ieuanc, yr hwn a ffugiai ei fod wedi dïanc o luest y Groegwyr rhag cael ei aberthu, i liniaru llid y duwiau. Haera ddarfod i Ulysses ladrata y *Palladium*, sef delw nodedig, o deml Pallas, a byth wedi hyny na bu dim llwyddiant ar arfau Groeg; eu bod bellach am ddychwelyd i'w gwlad, a'u bod yn gadael y march pren ar ol i gyn-

nrychioli y Palladium, yr hwn, yn ol cynghor Calchas, y prif ddewin, a wnaethant mor uchel, rhag ofn i'r Tröwyr ei lusgo i'w dinas, ac felly ennill ei amddiffyniad.

Ar hyn dygwyddodd rhyfeddod fawr, yr hon a barodd ddychryn i bob mynwes:—

Laocoon, offeiriad urddedig duw Neifion,
Ar allor fendigaid, aberthai hardd eidion,
Pan welwyd, o ynys Tenedos yn nofio,
Drwy 'r culfôr arianaidd (Och arswyd eu cofio)!
Ddwy sarff fras eu torchau gan gyflym ymsaethu
I'r làn, nes trochioni yr eigion o'u deutu:
Dyrchafent eu mynwes uwch brigau y tònau,
Uwchlaw y llif dalient eu gwaedlyd dal gribau,
Eu 'sgerbwd ysgubai y dyfnder o'u holau,
A thorchent eu gwegil yn anferth ddolenau.
Yr heli trochionog o'u hamgylch a drystiai;
Ond, bellach, cyrhaeddent y traeth, a gwreichionai
Eu llygaid gwaedgochion fel lampau llosgedig,
A llyfent eu safnau â'u tafod crynedig.
Mewn dychryn ni a ffôem rhag gwel'd yr olygfa,
Ond hwy yn ddiwyro gyfeirient eu gyrfa
Tuag at yr offeriad—a'r ddwy ymdorchasant
Am gyrff ei ddau fachgen, a'u hesgyrn falasant,
Och! yntau a gipient tra 'n arfog ddynesu
Tuag at ei anwyliaid i geisio 'u gwaredu.
Ymdorchent am dano, a dwywaith ymglyment
Am ganol y truan; a dwywaith dirwynent
O amgylch ei fwnwgl eu cefnau oer cènog,
Nes dringo uwchlaw idd ei goryn taleithiog,
Tra 'n ceisio â'i ddwylaw ddad-ddirwyn y torchau,
Gorchuddid â gwenwyn ei sanctaidd ragdalau.
A'i lefau 'n dispedain i'r nefoedd yn ddidor
Fel tarw clwyfedig yn ffoi 'ddiwrth yr allor,
'Nol gochel y fwyall a'i hergyd anghelfydd.
Ond ffŷ y ddwy ddraig draw i'r deml ysplenydd—
Am nodded i gysegr y greulawn Tritonia,
A chromen ei hastalch â'i helm a'u cysgoda.
'N awr llenwir pob mynwes grynedig â dychryn,
A phawb a gollfarnant Laocoon ysgymun
Am feiddio halogi y ddelw gysegredig,
A hyrddio i'w hystlys ei bicell lygredig,
A phawb gydannogent gyflëu y certh eilun
Ar sêdd, er i'r dduwies ein cadarn amddiffyn.
Bylchasom y muriau, agorsom y ddinas,
Pawb fel o un fryd i gyflawni 'r galanas:
Rhai 'n gosod chwarweni dan draed yr anghenfil;
Rhai 'n clymu carth-raffau yn dŷn wrth ei wegil.
Y peiriant angeuol, o arfau yn feichiog,
A basial ein muriau, a'n bechgyn yn chwannog,
A'n gwirion wyryfon ddadganent emynau,
A llawen gyffyrddent â'u dwylaw y rhaffau.
Ymrolia yr eilun i ganol y ddinas,
A'r Tröwyr gwallgofus a ddawnsient o'i gwmpas.

Gwelwn yn y dyfyniad diweddaf ffynnonell y chwedlau diddiwedd a ailadroddir dro ar ol tro, am fôr-seirff mawrion. Cydgordia eu manylion bron yn hollol â'r darluniad a ddyry Virgil o agwedd ac ysgogiadau yr anghenfilod dychymygol hyn. Rhaid eu gosod yn yr un dosbarth

â'r Phenix, y teirw hedegog, y salamander, y seirph asgellog, a'r unicorniaid. Cynnyrchwyd yr holl epil yn ymenyddiau toreithiog yr hynafiaid hygoelus a dychymygol. Nis gall na chŵn na phylor eu difa, ond fföant fel y tywyllwch o flaen goleuni gwyddor.

O hyn i ddiwedd y llyfr hwn cawn ddarluniad cyffröus a thorcalonus o gwymp y ddinas a'i dinystr drwy dân a chleddyf. Nis gall dim fod yn fwy bywiog a barddonol na rhai darnau o'r darluniad. Gallem enwi yn neillduol y paragraff sydd yn darlunio Æneas, ar ol pob ymdrech galluadwy i arbed y ddinas, a thrwy gynghor ei fam ddwyfol, yn dïanc drwy y gelynion a'r tân, a'i hen dad methedig ar ei ysgwyddau, Julus bach yn ei law, a Creüsa ei briod ar ei ol—yn enwedig y gyfran sydd yn adrodd ei gyffro pan ddeallodd, ar ol gadael y ddinas, fod Creüsa wedi ei cholli, a'r modd y rhuthrodd yn ol, megys i safn marwolaeth, i chwilio am dani, a'i lefau trist a gwallgof ar ei hol with redeg drwy yr heolydd, nes i'w drychiolaeth ymddangos iddo, a'i adgofio nad oedd dim yn dygwydd ond drwy ewyllys y duwiau, gan ei berswadio i ymdawelu, ac i ddychwelyd yn ol i ofalu am ei anwyl a'i unig blentyn.

## LLYFR III.

Parhâd ydyw y llyfr hwn o adroddiad Æneas o'i hanes i Dido. Dyry fanylion ei grwydriadau a'i fordeithiau ar ol gadael ei ddinas a'i wlad. Oblegid wedi gweled eu dinas yn cael ei difrodi, penderfynodd ein gwron a'i gymdeithion a ddiangasent, yn ol y cynghor a roddodd drychiolaeth ei wraig iddo, ac arfaeth y duwiau, i gyfeirio eu taith dros y moroedd, a chwilio am ryw le i ymsefydlu, lle y gallent, o gyrhaedd eu gelynion, fyw mewn heddwch, ac adeiladu ail ddinas, a sefydlu teyrnas drachefn. Crybwyllir yma y gwahanol drefi a theyrnasoedd yr ymwelodd â hwy, y derbyniad a gafodd gan wahanol bobloedd, a'r peryglon enbyd a gyfarfyddodd.

Y lle cyntaf y glàniasant oedd Thracia—gwlad oedd mewn heddwch â Chaerdroia—gwlad boblogaidd a chyfoethog. Ond pan oedd ein gwron wedi dechreu adeiladu dinas ac amddiffynfa, meddyliodd am aberthu tarw llyfndew i'w fam, Gwener, a'r duwiau eraill, a phan yn parotôi at yr aberth, dygwyddodd yr amgylchiad rhyfedd a ganlyn:—

Gerllaw yr oedd bryncyn, ar ben yr hwn tyfai
Pren cwyros, a myrtwydd picellawg ei geinciau.
Nesëais; a cheisiais ddadwreiddio 'r coed irion,
Yn orchudd i'm hallor—Och! olwg erchryslon!
Can's gwraidd y pren cyntaf a dŷnais o'r ddaear
Ddistylliai waed dugoch nes rhuddo y dalar!
Oer-ddychryn a barai 'm haelodau ddirgrynu,
A gwaed oer pob gwythen gan arswyd i fferu.
Drachefn, o bren arall, eiddilgainc a dòrais,
A chwilio i waelod yr achos a geisiais:
Och! rhedai y rhuddwaed o risgl ir hono,
A llanwyd fy mynwes gan bryder a chyffro.
Mewn parch attolygais wyddanod y meusydd
A'r tad Mawrth, i Thracia sydd nerthol arlywydd,
Ar iddynt hyrwyddo y ddofn weledigaeth,
Ac attal o'r argoel anffodion ac alaeth.
Ond pan roddais eto un prawf ar y ceinciau,
Gan dŷnu 'n fwy nerthol, ar lawr ar fy ngliniau,

Ai gweddus ei adrodd? Clybuwyd ochenaid
Yn esgyn o'r dyfuder, â llais gwâg a ddywaid—
"Paham, O Æneas, y rhwygi fi, druan?
O! arbed fy nghelain, na lygra dy hunan.
O Troia yr henais, ac ydym gyfeillion;
O cofia nad pren sydd yn gwaedu 'r dyferion.
Och! gâd y tir creulawn, a'r traethau trachwantus,
Myfi, Polydorus, sydd yma 'n druenus,
Yn griddfan dan gawod picellau trywanol,
Heb fyw ac heb farw, mewn poenau uffernol."

Rhyfedd na fyddai yn bosibl cyfarfod â rhyw feddylddrych neu ddychymyg newydd yn y beirdd diweddar. Dichon, o ran hyny, nad oedd syniadau yr hen feirdd yn wreiddiol iddynt hwythau, ac y mae yn dra thebyg na wnaeth Virgil fawr heblaw casglu traddodiadau a chwedlau poblogaidd, eu cyflëu mewn cynllun, a'u hadeiladu yn gyfanwaith. Beth bynag am hyny, yr hen syniadau a gyfarfyddwn mewn awduron diweddar o hyd, a'r rhai hyny, rywfodd, sydd yn parhâu yn ieuanc a newydd. Cawn y drychfeddwl uchod yn y chwedlau hynod hyny, "*Y Nosweithiau Arabaidd,*" wedi ei fenthyca o Virgil yn ddïau, gan y Mooriaid, ceidwaid y clasuron yn yr oesau tywyll, ac eilw o hono hefyd yn "*Orlando Furioso,*" y bardd Eidalaidd Ariosto.

Dyma hanes Polydorus mewn ychydig eiriau. Efe oedd fab ieuengaf Priam, brenin Caerdroia. Anfonwyd ef yn faban i'w fagu at ei chwaer Iliona, yr hon oedd briod i Polymestor, brenin Thracia. Dygodd ef i fyny fel ei mab ei hun, a gwnaeth i bawb arall gredu mai Deiphilus, ei gwir fab, oedd Polydorus. Gan fod y Groegiaid yn awyddus i ddinystrio holl hîl Priam, cynnygiasant iddo swm mawr o aur, ynghyd âg Electra yn wraig, os lladdai efe Polydorus. Mewn canlyniad i hyn, lladdodd Polymestor ei fab ei hun, a pherswadiodd Polydorus ei chwaer Iliona i ladd ei phriod. Ond yn ol hanes arall, yr hwn a ddilynir gan ein bardd, ymddiriedodd Priam ei fab i Polymestor pan ydoedd Caerdroia ar syrthio, gan gyflwyno swm mawr o aur tuag at ei gynnaliaeth a'i addysg. Lladdodd Polymestor ei nodd-fab er mwyn meddiannu ei drysorau, a thaflodd ei gorff i'r môr.

Cyn gadael y glànau hyn, penderfynodd y Troiwyr dalu parch angladdawl i weddillion eu cydwladwr. Pentyrasant grug fawr o bridd yn fedd iddo: cyfodwyd allor i'w ddrychiolaeth *(manes)*, a gwisgwyd hi â thorchau ac â chypreswydd pruddaidd; ac o'i hamgylch saif y mamau Tröiaidd gyda "gwallt am eu dannedd," yn ol yr arfer. Offrymant aberthau y marw—godardau trochionog o laeth cynhes, a chwpanau o'r cysegredig waed: dymunent orphwysdra i'r enaid yn y bedd, a llefent eu cyfarchiadau diweddaf. Rhyfedd mor gyffredinol oedd yr hen arferiad o godi "tomen" yn gof am y marw. Nid oedd odid genedl henafol nad oedd yn arfer codi tomenau, y rhai a arosant hyd heddyw ar wyneb pob parth o'r byd. Profa hyn hàniad cyffredin a pherthynas yr holl genhedloedd.

Y mae Æneas a'i gyfeillion yn cael eu cyfarwyddo yn barhâus gan dduwiau pa fodd i deithio, ac i ba le i gyfeirio; ond yn y cyffredin, y mae y cyfarwyddyd mor dywyll, fel nad oes neb yn gallu ei ddeall yn iawn, ac felly camgymerir ef yn ddibaid, a gwneir prawf ar amryw leoedd cyn cyrhaedd y tir addawedig. Wele ddarluniad o un weledigaeth:—

Mae 'n nos! Dros y ddaear trwm gwsg a deyrnasa,
A delwau dihalog, nawdd-dduwiau gwlad Phrygia
A ddygais o Troia drwy ganol y fflaglau,
A welaf tra 'n huno, yn sefyll yn rhengau;
Yn mhelydr "llawn llonaid" a deifl o oleuni
O gylch fy ystafell drwy 'r ceuol ffenestri.

Yr oedd y crwydriaid yn awr yn ynys Creta, wedi dechreu ymsefydlu o ddifrif; ond amlygodd y duwiau uchod i Æneas nad ewyllys Apollo oedd iddynt ymsefydlu yno, ond cyfeirio i'r Gorllewin, i'r wlad a elwid gan y Groegiaid yn Hesperia (Gosper), ond a alwyd gan y trigolion eu hunain yn Eidal, oddiwrth enw ei sylfaenydd Ond yn fuan ar ol cychwyn, goddiweddwyd hwy gan dymhestl ofnadwy,—

Pan ydoedd ein llestri yn marchog y dyfnder
O olwg y sychdir, yn nghanol ehangder,
Y wybren o'n hamgylch; o'n hamgylch yr eigion,
Fry dringodd glâs gymyl ar esgyll awelon,
A dygodd nos dywell, â thymhestl anafol,
A'r tònau a frochent dan d'wyllwch caddugol:
Y gwyntoedd ddymchwelent y moroedd, a chyfyd
Gwanegau galluog, gan ruo 'n ddychrynllyd;
A ninnau a luchir hwnt, yma, ac acw,
Fel pluen mewn corwynt, dros wyneb y berw.
Cymylau a guddiant oleuddydd mewn t'wyllwg
A nos laith a gipia y nefoedd o'r golwg;
Melltena taranfyllt o'r ffrwydrol gymylau,
A phell iawn i grwydro o'n cwrs gyrir ninnau.

Y pedwerydd dydd glàniant yn ynysoedd Strophades, preswylfa yr erchyll Celæno a'r Harpiaid eraill.

Ednogiaid bwystfilaidd â gwyneb gwyryfon,
Eu tom sydd yn ffiaidd, eu gwinedd yn llymion,
Eu dwylaw yn fachog, a gwelw 'u hwynebpryd,
Gan gnofa du newyn drwy gydol eu bywyd.

Ymosoda ein gwron a'i gyfeillion ar y crëaduriaid anghenfilaidd a chreulawn hyn. Ond gan iddynt gymeryd yr aden a ffoi, nis gwnaethant fawr niwed iddynt. Ond y mae Celæno oddiar glogwyn yn prophwydo anffodion i'r teithwyr, ac yn rhagddyweyd y bwytäent eu *trinsiwr* cyn cyrhaedd pen eu taith. Ar hyn, cychwyna y cymdeithion ymaith, a deuant o hyd i Dröwyr eraill, ac yn eu plith Andromache, gwraig Hector, yn y weithred o adgoffa marwolaeth ei phriod dewr. Mawr oedd y llawenydd o bob tu, a difyr y treuliwyd yr ychydig ddyddiau o seibiant mewn ymddyddanion a chydymgynghori. Yr oedd Helenus, mab Priam, yn y wladychfa hon, a chan ei fod yn brophwyd nodedig, holodd Æneas ef ynghylch tynghed ei anturiaeth a llwyddiant ei deithiau. Wedi myned drwy gyfres o seremonïau dewinol, rhagfynega y prophwyd iddo yr holl helyntion a'i cyfarfyddant, a therfyn llwyddiannus ei grwydriadau. Wedi cyfnewid anrhegion, a chanu yn iach, ymedy y gwroniaid, ac wedi noswaith o gwsg ar draethell gerllaw mynyddoedd Ceraunia, gan fod Palinurus—y llong-lywydd craff, yn canfod argoelion o degwch maith, cyfeiriasant eu cwrs ar draws y cefnfor tuag Eidal, a buan y daw glànau y tir dymunol i'r golwg. Ond gan iddynt ddeall fod Groegiaid wedi gwladychu y gororau hyny, moriant gyda y glànau heibio bâsfôr

Tarentum, a chyn bo hir daw mynydd tanllyd Etna i'r golwg, a chlywant dwrf a rhuad llynclyn Charybdis rhwng ynys Sicily a'r Eidal. Buont mewn enbydrwydd mawr yma, ond drwy ymdrech egnïol ysgoisant y trobwll. Daethant wed'yn i wlad y Cyclopiaid—y cewri unllygeidiog, ac yno yr oedd Groegwr mewn cyflwr enbydus, yr hwn a erfynia arnynt dosturio wrtho a'i gymeryd oddiyno i rywle. Adrodda fel y glaniodd Ulysses a'i gymdeithion yno, fel y llarpiodd y Cyclop rai o honynt, gan fwyta eu cnawd ac yfed eu gwaed, ac fel y tynodd y Groegiaid ei lygad mawr pellenog, ac y ffoisant ymaith, gan ei adael ef yn unig ar ol. Ond gydag iddo orphen llefaru, gwelent Polyphemus y Cyclop, ei hunan, yn dynesu, a brysiant i ffoi am eu hoedl. Dyma'r pryd y dygwyddodd y dymhestl a ddarlunir yn nechre y llyfr cyntaf, a chyda crybwyll am hono, cyrhaedda Æneas derfyn ei hanes, a'r bardd ddiwedd ei drydydd llyfr.

## LLYFR IV.

Ond Dido er's meityn â mynwes glwyfedig,
Sy'n porthi ei harcholl â'r fflam ddirgeledig.
Rhinweddau y gwron, ac urddas ei linach,
I'w chalon a gerfiant glwyf cariad yn ddyfnach.
Ei olwg a'i eiriau i'w henaid a suddant;
A'i phryder a'i blina heb foment o seibiant.
Ond wele Gwawr ddychwel â'i lamp i oleuo
Y ddaear, gan ymlid cysgodion wybrenfro;
A hithau anercha ei chwaer, bron gwallgofi—
"O Anna! Pa ryfedd freuddwydion i'm poeni!
Beth meddi o'r gwestwr ymwelodd â'n teyrnas?
Mor weddus ei olwg; i orsedd mor addas!
'R wy 'n credu ei haniad o epil y duwiau,—
Mor ëofn a dewr yw ei holl ysgogiadau.
Och erchyll anffodion a'u lluchiant o gwmpas!
A'r brwydrau ymladdodd—Och greulawn alanas!
Pe na buaswn gadarn i'r eithaf fy mwriad
Byth mwy i ymrwymo mewn priodas a chariad,
Gan i'm cariad cyntaf, trwy angeu, fy siomi,
A phe na 'laraswn ar garu a phriodi—
Fe ddichon y rhoiswn ystyriaeth i'r mater,
Ond bellach nid ydyw pob siarad ond ofer.
O Anna, addefaf er pan y bu farw
Fy anwyl Sichæus—dydd tywyll a chwerw
Pan lygrwyd glân ddelwau ein duwiau teuluaidd
A'i waed, tywalltedig gan frawd gorfwystfilaidd,
Ni wyrodd neb estron ond hwn fy nhueddfryd;
Ond teimlo 'r wyf weithiau hen fflam boreu bywyd.
Ond lleded y ddaear i'm llyncu ei genau,
Neu hyrddied y Tad Hollalluog ei folltau,
I'm gyru i Annwn, at welw gysgodion
Breswyliant Erebus a dunos echryslon,
Yn hytrach nag imi, O ddiwair wyleidd-dra!
Halogi dy ddeddfau drwy wendid a hyfdra.
'R hwn gyntaf gylymodd fy serch wrtho 'i hunan
A aeth â'm serchiadau i'w ganlyn yn gyfan.
Meddianned hwy eto yn ngoror ddu angau."
Terfynodd; a llanwodd ei mynwes â dagrau.

Er mwyn deall y dernyn uchod yn eglur y mae yn ofynol gwybod ychydig o hanes y frenhines. Merch ydoedd i Belus, brenin Tyrus. Yr

ydoedd yn byw tuag 850 c.c.; a chan fod dinystr Caerdroia wedi dygwydd tuag 1180 c.c., gwelir fod yn agos i 300 mlynedd rhwng y ddau amygylchiad. Nis gallai fod Æneas felly yn byw yn agos yr un pryd â Dido, a rhaid fod y bardd wedi ystumio cryn lawer ar ffeithiau (os ydynt yn ffeithiau o gwbl) er mwyn cywreinio cynllun ei gân. Priodwyd Dido â'i hewythr Sichæus, offeiriad Hercules, yr hwn oedd yn hynod am ei gyfoeth. Er mwyn meddiannu ei drysorau, llofruddiodd Pygmalion, brawd Dido, ac o ganlyniad nai Sichæus, ei ewythr a'i frawd-ynnghyfraith, ar ol esgyn i'r orsedd wedi marwolaeth ei dad, Belus. Ond ffôdd Dido o'r wlad, a llawer o'r prif bendefigion gyda hi, gan gymeryd y trysorau a berthynent i'w phriod. Ymwelodd yn gyntaf â Cyprus, i geisio gwyryfon yn wragedd i'w chymdeithion, ac oddiyno aeth i Ogleddbarth Affrica. Yno prynodd gan y brodorion gymaint o dir ag a orchuddiai croen tarw. Gorchymynodd hithau i'r croen gael ei dôri yn gareïau meinion, ac wrth estyn y garai o amgylch, ennillodd gryn ddarn o ddaear. Yno adeiladodd gastell a dinas, ac oddiwrth ddichell y croen galwai y Groegiaid hi yn *Byrsa*—croen tarw, ond mwy tebygol yw mai Bozrah—castell, oedd enw cyntefig y ddinas, ac i'r Groegiaid greu y chwedl uchod er mwyn esbonio eu ffurf hwy ar y gair. Ceisiodd Hiarabas, brenin cyfagos, ganddi ei briodi ef dan berygl rhyfel a dystryw; a chan ei bod hithau yn anfoddlawn, ac yn cael ei chymhell gan ei deiliaid i gydsynio â'i ewyllys, yn hytrach na halogi coffadwriaeth ei gŵr cyntaf, fe wnaeth goelcerth, ac ar ben hwnw, yn ngwydd ei holl bobl, trywanodd ei hunan â chyllell. Eto dywed Virgil, yn niwedd y llyfr hwn, mai o herwydd y siomedigaeth na buasai Æneas yn ei phriodi y cyflawnodd hunan-laddiad.

Y mae Æneas a Dido a'u holl osgordd yn myned i hela ryw ddiwrnod, ac y mae y sŵn yn myned allan fod y ddau wedi ymbriodi. Y mae Iau yn anfon Mercher, y cenad-dduw, i yru Æneas o Carthage.

> "Fy mab, 'hêd yn gyflym, a galw 'r awelon,
> Dôs, llithra drwy 'r wybren, ar d'edyn claerwynion.
> * * * *
> Paham yr ymdröa yn nghwmni 'r frenhines,
> Gorchymyn e 'i hwylio—dôs, dyna dy neges."
> A Mercher ymdrwsiodd i ufudd gyflawni
> Ewyllys ei dad dduw galluog, heb oedi.
> Yn gyntaf, cylymodd ei euraidd sandalau,
> A'i cludant ar edyn drwy 'r ëang wybrenau.
> Yn nesaf, cymerodd ei wïalen rinweddol,
> A'r hon y cwyd 'sbrydion o uffern boenydiol,
> Y gŷra rai eraill i drist bau Tartara
> Y rhydd gwsg, y deffry, a'r meirw ddadebra.

Ymwêl y duw âg Æneas, ac hysbysa iddo ewyllys Iau—y dylai ymadael o Carthage, a hwylio yn ddioed i'r Eidal.

> Golygfa mor danbaid, cenadwri mor hynod
> Darawodd Æneas â synllyd fudandod;
> Ei wallt fel gwrych safent o'i goryn i'w aeliau,
> A glynodd ei dafod wrth daflod ei enau.

Gan y gwyddai Æneas y gwrthwynebai y frenhines ei ymadawiad, ymdrecha hwylio ymaith yn ddirgelaidd. Ond y mae cariad yn rhy

o eiddo yn cynnrychioli ymenydd *rhyw un*, ymdrech *rhyw un*, a hunanwadiad *rhyw un*.

Os oes rhyw un math o falchder ag sydd yn fwy barbaraidd o anwybodus nag un arall—yn fwy direswm ac annyoddefol nag un arall—yn fwy anfaddeuadwy nag un arall—hwnw ydyw ag sydd yn bostio ei annibyniaeth ar lafur, fel pe byddai rhyw ragoriaeth yn gynnwysedig yn hyny. Mae y difäwr, un dydd, yn llai gŵr na'r crëwr, neu'r gwneuthurwr. Mae y gwas—y gwasanaethwr—yn llawer mwy dyn na'r hwn a wasanaethir. Gwasanaethwr—cymwynaswr y ddaear, ydyw yr haul, a mwy ydyw o herwydd hyny na'r ddaear. Yr hwn a fyn fod y *mwyaf* ymhlith dynion, bydded *wasanaethwr* iddynt. Nid oes, ysywaeth, eisieu fawr o ymenydd i fwynhâu holl fanteision a chysuron y bedwaredd ganrif ar bymtheg, ond gofyn genedlaethau o ddynion doniol a gwrteithiedig i'w cynnyrchu. Bychaniaid plu ysgafn, ïe, ysgafnach na gwegi, yr ymddengys y coegddynion a welir wedi eu gwisgo mewn llïan main, a phorphor, a phali, a'u bysedd yn dysgleirio gan fodrwyau ag ynddynt feini gwerthfawr, pan eu cymharir â'r crefftwyr a barotoisant ddefnyddiau eu gwisgoedd a'u haddurniadau. Mil mwy dyn ydyw y gŵr hwnw (unwaith yn fachgenyn mor druenus o dlawd fel yr oedd yn dda ganddo ennill *dwy geiniog* y dydd trwy dŷnu maip ar dywydd oer yn y gauaf) a wnaeth y ffordd haiarn gyntaf, na miliynau ag sydd wedi teithio ar hyd ffyrdd o'r cyffelyb, o'r amser hwnw hyd yn bresennol.

Os oes mwy o hawl gan un dyn na'r llall i godi ei ben, ïe, a'i godi yn uchel,—hwnw fêdd yr hawl ag sydd wedi *cynnyrchu* rhywbeth; ac os oes mwy o hawl gan un dyn na'r llall i holl fwyniannau rhesymol bywyd, hwnw ŷw y dyn ag sydd wedi eu hennill trwy chwys gwyneb neu ymenydd. Ni phànwyd erioed gan un pànwr frethyn rhy dêg i osod ar gefn y gweithiwr difefl, gan nad ar ba lafur-faes y llafuria; nid adeiladwyd erioed balasdŷ rhy orwych i'r hwn a'i hennillodd trwy lafur gonest diflino. Pob parch—pob gwarogaeth, ynte, i'r dwylaw celyd, cornog, oblegid hwy ydyw rhïaint holl ddwylaw masw, gwŷn, modrwyog, y tir; ac yn lle anghofio y graig o ba un eu naddwyd, a'r ffôs o ba un eu cyfodwyd, dylai disgynyddion meibion a merched llafur edrych yn gariadus, yn edmygol, ac yn ddiolchgar ar bob maes-lafur gonest a defnyddiol.

Pan fyddo, ar unrhyw amser, ragor o arian nag o eiddo, darostyngir y goludocaf i gymaint anghenoctyd â'r tlodion pan fyddo digon o nwyddau ymhob math o farchnad, ond heb fodd i'w pwrcasu. Nis medr dynion *fwyta* aur—gwell torth o fara haidd; ac nis medrant ei droi yn wisgoedd i'w cynhesu—mwy cyfaddas gwlân y ddafad. Y dosbarth mwyaf dibynol, wedi y cyfan, ydyw y cyfoethogion. O ba wasanaeth fyddai eu cyfoeth iddynt os na fedrent hurio plant llafur i'w gwasanaethu? Meddylier am drallodau boneddigion a boneddigesau ein gwlad pe gommeddai eu gweinidogion weini iddynt ond am un diwrnod. Dychymygwch weled rhyw bendefiges yn gorfod codi yn foreu i gynneu y tân, ysgubo yr aelwyd, a pharotôi boreufwyd; gwlychu y toes, troi hwnw yn dorthau, twymno y ffwrn, a mil o fân orchwylion teuluaidd cyffelyb, heb fod yn perthyn iddynt y mymryn lleiaf o farddoniaeth. Barn drom fyddai condemnio ei dosbarth hi i bluaw ieir, hŵyaid, gŵyddau, a llu o adar bwytadwy eraill; glanhâu pysgod, crafu tatws, a gwneyd y *pies* a'r *puddings*. Beth pe gorfyddid rhyw arglwydd i lanhâu ei geffylau, a'i gerbydau, a

gwisgo y pedwar carnoliaid hyn yn eu dillad gwaith! A pheth pe condemnid rhyw bendefig i lanhâu simnëiau ei balas! Gwarchod pawb! Mae hyd yn nôd *meddwl* am *bosiblrwydd* y fath drallodau yn ddigon i beri i wallt dyn sefyll ar ei wrych! Ond ni fyddai hyn yn ddim at eu sylweddoli. A'r anwyl fach! ni cheir mewn un oes ond cnwd teneu o ddynion fel Garibaldi, yr hwn a ymlawenhâ yn y ffaith na fedd ond un crys, ac y medr olchi hwnw, a thra yn dysgwyl iddo sychu ar lwyn gerllaw, y medr ddyfeisio, wrth chwiffio *cigar*, ffordd i gymeryd meddiant o amddiffynfëydd ei gaseïon. Ni fyddai *arian* o un gwerth heb lafur; a phe na byddai cyfoethogion yn abl hurio byddinoedd o îs-wasanaethwyr, byddent yn gan' mil mwy digysur na'r gweithiwr hunan-gynnorthwyol. Os yw yn wir fod yn ofynol i lïaws o bethau gydweithredu yn rheolaidd cyn y gall dyn fod yn *gorfforol* gysurus am fynyd, mae yr un mor wir fod yn rhaid i lïaws o olwynion droi yn rheolaidd yn eu gwahanol gylchoedd cyn y gall etholedigion Mammon fod yn ddedwydd am un fynyd. Gan hyny, na ddyweder dim yn ddiystyrllyd am un dyn o herwydd nad ydyw ond masnachwr—ond crefftwr— ond *cobbler*, ond *sweep;* oblegid heb fasnach, a thyrfa o bethau cwbl anfarddonol, beth fyddai gwerth cyfeiriau ëang, palasdai gorwych, a choronau dysglaer mawrion y ddaear? Bendithion fyrdd, ynte, fyddo ar ben y distadlaf o feibion llafur. Pob parch i fyddin y bechgyn bach, a'r cotiau cochion, a geir yn ystrydoedd Llundain yn barod i lanhâu esgidiau budr neu lychog y pedestrwyr a basiant heibio, yn gystal ag i faes-lywyddion rhyfel, arglwydd-ganghellwyr, esgobion, pregethwyr, beirdd, a phob dosbarth o *weithwyr* gonest a gwasanaethgar. Mae eu heisieu *oll* yn Mhrydain yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg, ac nis gellir hebgor neb o honynt. Yr ydym yn berthynasau agos iawn i'n gilydd, nid yn unig trwy y penteulu anffodus a ddygwyddodd dòri i'r ardd gynt, ond trwy ein dibyniaeth ar ein gilydd fel effaith y gwareiddiad dirfawr yr ymffrostir cymaint ynddo.

*Arian* ydyw y gallu mwyaf cyffredinol y gall y meddwl ei ddefnyddio. Mae yn *ail* i allu meddyliol, oblegid mewn gwirionedd crëadigaeth y meddwl ydyw.

*Dyn* yw yr unig grëadur ag y mae eisieu arian arno. Mae pob crëadur direswm yn ei wrthod fel peth anghyfaddas i'w fwyta neu ei daenu danynt. Llanwer un hanner o breseb âg *aur* coeth, a'r hanner arall âg ŷd neu ffâ, a'r ceffyl a gymer at yr olaf, tra y gedy y blaenaf i hâd Abraham, neu ryw genedlddyn Iuddewaidd ariangar. Gwasgarer penaduriaid dros gae lle y tyfa y meillion a'r *clover*, a'r porwyr corniog a osgöant y melyniaid, ac a wnant gyfeillion o'r glaswellt. Cymysger darnau pedair ceiniog â'r ceirch a'r haidd a roddir i'r teulu pluog, a cheir gweled yn fuan taw gwell ganddynt ŷd nag aur Peru, a'u bod yn unfrydol o'r un golygiadau, o'r cyw dibrofiad sydd newydd ddyfod allan o'r plisgyn, hyd at yr hen iâr a cheiliog a welsant fwyaf o droion ymhlith y bobl adeinawg. Gall *bank note* o hanner can' punt fod yn help i eos Sweden i ganu dipyn yn fwy hwylus; ond pe cylymid cant o honynt am wddf yr hon a gân yn y llwyn iddi ei hun ac i'r nos, ni chyffröid hi i delori yn fwy swynol. Rhwymer *bill* can' punt wrth aden yr ehedydd, ac ni wna ehedeg yn uwch na chanu yn bereiddiach.

Cysylltiad y *meddwl* â *mater*, trwy y corff, a dibyniaeth dyn ar offerynau materol er amlygu ei feddyliau, a boddio ei ddymuniadau, sydd yn gwneuthur arian yn angenrheidiol a dymunadwy.

Peth drudfawr ydyw cadw tŷ mewn *repair* i'r enaid; ac ar un corff, a hwnw wedi ei adeiladu o'r clai mwyaf cyffredin, y gwastreffir yn aml gymaint ag a ddefnyddir at addysgu *mil* o *eneidiau.*

Ymhlith manylion treuliau teuluaidd, mor awgrymiadol ac addysgiadol o fychan ydyw *bill* y llyfrwerthwr! Yn y rhan lïosocaf o dai mae mwy o ddarbodaeth yn cael ei wneyd ar gyfer y corff na'r meddwl. Mae yn rhaid cael tai wedi eu gwych ddodrefnu, gwelyau mânblu, bwyd-gelloedd gorlawn, a selerydd llawnion; ond gellir gwneyd yn gysurus *heb* lyfrau. A wna trigiannwyr y tai hyn roddi swllt am Milton neu Shakspeare? Mwy dewisol fyddai ganddynt roddi dau cymaint am bwys o *Double Glo'ster* neu *Stilton:* neu, weithiau, pan fyddo ganddynt lyfrau, dewisir hwynt, nid yn ol eu teilyngdod, ond yn ol eu maint, fel y *ffitont* y *mahogany shelves,* ar y rhai y mae ganddynt fwy o olwg nag ar eu cynnwysiad. Gwell fyddai genym fod yn geffyl meddwyn nag yn enaid i ambell ddyn. Digon truenus ydyw cyflwr y ceffyl hwnw. Gyrir ef nerth ei draed, a rhwymir ef ar noson oer yn y gauaf wrth ddrws tŷ tafarn, tra mae y marchogwr o fewn yn yfed ychwaneg o "*fire water.*" Ond wedi y cwbl, a fyddai hyny waeth na'r hyn a grybwyllwyd? Meddylier am y symiau dirfawr o arian ag sydd yn cael eu gwario ar eu cyrff yn ystod un flwyddyn. Nid yw pum' punt ddim yn y byd i'w roddi am *shawl,* ac hyd yn nôd deg a phymtheg punt; ond pe gwerid ond degwm y swm lleiaf o'r tri ar lyfrau neu ddarlunleni, condemnid y weithred fel un gywilyddus o wastrafflyd gan bawb teimladol o wir werth arian. Cîg eidion a chîg crëaduriaid eraill, gwin, a gwirod, a chwrw, dillad, a defnyddiau da, wedi eu tòri yn ol y *fashion,* a'u pwytho yn briodol, ar gyfer addurno *cyrff* gwrywaid a benywaid—a *raid* eu cael cyn y gellir cyfrif yn *respectable* y sawl a'u gwisgant; ond am feddyliau dynion mawrion sydd wedi gwneyd y bedwaredd ganrif ar bymtheg yr hyn ydyw, nid oes eisieu eu prynu er mwyn gwneyd pobl yn wybodus.

O gynifer gwaith yr ydym wedi bod yn ymyl ymbil ar ryw ddyn neu ddynes drwsiadus o ran gwisgoedd, ond truenus o anghywir eu hiaith, ac anllythyrenog eu siarad, i werthu eu holl wychder, a phrynu Gramadeg Lennie, a *Pronouncing Dictionary* Walker, a hanner dwsin o *Faps,* fel y cyrhaeddent ddigon o wybodaeth i'w hargyhoeddi eu bod yn warthus o anwybodus! O na ieuer byth sidanau a *satins,* brethyn llydan, a modrwyau, gyda gramadeg anghywir, a Chymraeg neu Saesoneg croeshoeliedig! a brysied y boreu pan fyddo can' mil mwy o gywilydd ar drigolion Brydain fod yn anwybodus nag yn *shabby* eu gwisgoedd. Y pryd hwnw, ac nid cyn hyny, y gallwn ni ddyweyd fod yr "amser da" wedi dyfod, a theyrnasiad yr *enaid* wedi dechreu.

Gwnaer heb weinidogaeth pethau *materol,* ac yna ni fydd arian yn werth ei bigo o'r baw.

Gellir dosbarthu angenrheidiau dyn yn dair rhan—y *corfforol,* y *deallturiaethol* neu y *meddyliol,* a'r *ysbrydol.* Mae yn wir mai "nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn," ond mae yr un mor wir nas medr fyw *heb* fara—heb ryw fath o fwyd.

Angenrheidiau mwyaf cyffredinol dyn ydyw y rhai *corfforol,* a'r mwyaf trawsarglwyddiaethol. Peth hynod o anmherswadadwy ydyw newyn os cynnygir oedi talu ei ofynion. Try glust fyddar at *logic* a

rheswm. Ni fyn ddim o'ch barddoniaeth na hen na diweddar. Difoes a diras ydyw. Y mae cyn hyn wedi taflu golwg trachwantus ar siop y pobwr, ac wedi chwyrngipiaw bwyd o law plentyn digonedd. Mae boliau gan bawb, ond nid ar ysgwyddau pawb mae penau. *Clopäu*, pigau, neu fath o hoelion i grogi hetiau arnynt, heb y rhai ni fyddai y daudroediaid a'u cariant yn rhai cyflawn eu dodrefn, ydynt càn lïosoced a dail y goedwig yn mis Gorphenaf; ond y nwyddau a alwn ni yn *benau*, prin, a theneu, a drudfawr ydynt hwy, a phen-dreth drom raid i'r sawl a'u cariant dalu am gerdded danynt, oblegid gorfyddir eu perchenogion i dalu *rhent* ac *income tax* drostynt. Ond peidient hwy a grwgnach, canys mwy dewisol, wedi y cyfan, ydyw bod gan ddyn rywbeth i dalu *income tax* drosto na bod mor llwm fel nad ydyw ond gwastraff ar amser un publican i alw wrth ddrws ei fwthyn. Ond serch hyny, bendigedig, meddwn ni (oddiar brofiad, mae yn ddigon tebygol), ydyw penau bychain—*clopäu;* canys ni fagant fradwriaethau, ni lettŷant gynlluniau chwyldröawl, mae iddynt gymdeithas felus â chapau nos, ac nid oes a wnelont â lloer-oleu dydd-freuddwydwyr. Gwŷn eu byd y sawl a'u cariant, canys lleng ydyw eu henw, a mawr ydyw eu cysur; ni chythryblant hwy eu hunain ynghylch yr hyn sydd anturiaethus neu beryglus, ond dilynant ôl traed eu henafiaid difeddwl a didaro. Maent yn ddiogel rhag melldith meddwl-frenhinoedd y byd, sef *rhagoriaeth*.

Nis medr dynion fyw heb ymborth, ond medrant yn rhwydd heb lyfrau. Os bydd y cîg eidion yn dyner, a'r boten wedi ei gwneyd yn ol gofynion cogyddion iawngred, neu os bydd y gwin yn flasus, a'r cnau heb dwyllo y sawl a gafodd y drafferth o'u tòri, ond yn eu gwobrwyo â chnewyllynau sylweddol, mae yn syn càn lleied o synwyr a gwybodaeth sydd yn angenrheidiol er gwneyd yn anarferol gysurus dros brydnawn nifer o blant Adda. Mawr ydyw nerth ciniaw da; dyma ydyw un o sefydliadau ein gwlad; dyma yw un o amddiffynfëydd bywyd cymdeithasol; a dyma ydyw y ffaith fawr ganolbwyntawl o gwmpas yr hon y mae yn ymlawenhâu i droi deng mil o fân ffeithiau, fel y lleuadau o gylch y planedau Iau a Sadwrn. Os byth y cyll y ffaith hon ei dylanwad dros drigolion Prydain Fawr, yna ni a suddwn i wendid llysiau-fwytáwyr, ac a wahoddwn ryw draws-deyrn tramor i'n goresgyn a'n caethiwo.

Unir y teulu dynol â'u gilydd trwy eu hangenrheidiau. Pe medrem wneyd un dosbarth yn eithriad i weithrediadau y ddeddf fawr o ddibyniaeth ar ymborth, dillad, a thô-gysgod, ysgoleigion a dydd-freuddwydwyr barddonol gai fod y dosbarth hwnw. Ond nis medrwn wneyd neb yn eithriad. Gwneir i'r ysgolaig a'r bardd-freuddwydiwr i deimlo trwy eu hangenrheidiau corfforol, y cariant hwythau y daearol o'u cwmpas, a bod yn rhaid i'r daearol hwnw gael ei gynnal gan bethau daearol.

Pe medrai ond boreufwyda ar Cowper, ciniawa ar Shakspeare, swpera ar Wordsworth, byddai byd hafaidd ar ein brawd ysbrydol; ond yn anffodus, gwrthyd anghenion *an*ysbrydol y corff gymeryd eu diwallu â dysglaid o *syllogisms*, neu fasgedaid o flodau neu foeswersi. Crïa daear am ddaear, a llwch am lwch.

O wŷdd dychymyg ni ddaeth allan wlaneni y Drefnewydd, na blancedi Whitney, na brethynau llydain *Yorkshire* a *West of England*. Nid ydyw awyr-gestyll dychymyg yn un amddiffynfa yn erbyn neb caseïon, nac yn gysgod rhag tymhestl a chenllusg. Ni chyfyd dychymyg na glo

na haiarn; ni phrŷn na chîg, na chaws, nac ymenyn; ac yn nghwmwl-wlad y dydd-freuddwydion, nid oes i'w gael gymaint ag wns o'r dailach hyny yr ymhyfryda y dyn wrth eu llosgi, ac yn nhröellau modrwyog mwg y rhai y gall weled arwyddlun pur gywir o'i amcandybiau disylwedd ei hun.

Parhâ arian, fel cynnrychiolydd y pethau daearol y mae ar ddyn eu heisieu, yn allu ac yn ddylanwad. Dyma y brenin ehangaf ei lywodraeth o bawb brenhinoedd daearol. Mae awyr, môr, a thir, at ei wasanaeth, a'u holl adnoddau wrth ei arch. Gall orchymyn pawb, o'r gweithiwr *matches* yn ei fratiau a'i faw, hyd at y bardd ar gopa Parnassus. Gorchymyn resymeg, gwybodaeth, a hyawdledd y dadleuwr o flaen y *bar*. Gorchymyn *steam engines* a *locomotives* oddiwrth Watt a Stephenson, saf-luniau *bron* yn anadlu oddiwrth Chantrey, trawsargraffiadau o natur yn ei gwisgoedd brenhinol a gorwych oddiwrth Turner, y *music* mwyaf swynol oddiwrth Handel, y darluniau mwyaf ardderchog oddiwrth Michael Angelo, y *cathedrals* mawreddog oddiwrth Wren a'i frodyr, ac abbad-dai gorfawr gan yr adeiladwyr dedwydd hyny y darfu i'w llinynau syrthio mewn gwledydd ac ar amserau pan yr oedd adeiladwyr yn ngwasanaeth *crefydd*. Mewn gair, pa beth bynag sydd ddymunol i'r llygad, pêrseiniol i'r glust, blasus i'r genau; pa beth bynag sydd ysparddynawl i'r dychymyg, cryfhäol i'r deall, tynerawl i'r galon, ehangol i'r teimlad, cyfnerthawl i'r ewyllys, a chynhyrfiol i nerthoedd dyn, y mae wrth orchymyn arian. Pa beth bynag sydd dêg neu hagr, urddasol neu fawaidd, daearol neu nefol, satanaidd neu angelaidd, y mae wrth arch y gallu hwn. Mae arian yn allu i raddau cyfyngedig dros natur. Gall ddarostwng y bryniau, a dyrchafu y dyffrynoedd; medr gywiro y gŵyrgam, a gwneyd yn llyfn y garw: gall daradru mynyddau, a phonti agendorau; gall droi sigleni yn balmant callestr, newid y grugfaes ddiffrwyth i wenith-dir ag y llonir yr amaethwr llafurfawr wrth edrych ar ei gnwd penfelyn yn tòni dan ddylanwad yr awelon, ac fe all beri i'r anialwch flodeuo fel y rhosyn. Gall wisgo uchelfanau noethlwm â fforestydd cysgodawl, a phlànu paradwys yn nghanol y mynyddau. Gall daenu dros y tir rwydwaith o ffyrdd haiarn, a gwneyd yn *llythyrenol* "lwybr i'r fellten," yr hon a dröir yn was bach i ddyn, ac i gael ei gyru allan ar nosweithiau oerion neu ystormllyd i wneyd negesau drosto. Ac yn anffodus gall hefyd doddi haiarn yn fagnelau, a gwneyd cleddyfau, ynghyd â holl offer dinystriol eraill rhyfel; a medr arfogi cenedl yn erbyn cenedl, a'u cynhyrfu i ruthro yn angeuol yn erbyn eu gilydd. Mae heddwch y byd yn nwylaw y sawl sydd yn rhoddi benthyg arian. O y fath gyfrifoldeb raid fod yr eiddynt hwy, a pha mor aml y rhaid fod arogl a blâs gwaed ar y llôg a dderbyniant am danynt!

Dyma allu sydd yn cael ei ddeall a'i deimlo yn well nag un gallu arall. Caiff dau ddyn o'r darluniad canlynol gymeryd eu trigfa yn ymyl rhyw dref. Mae gan un 10,000p. y flwyddyn i fyw arno, a'r llall ddim ond y swmyn distadl o 100p. y flwyddyn. Gall yr hwn sydd â chant y flwyddyn i fyw arno, feddu gwybodaeth Shakspeare o'r galon ddynol, athrylith grëadigol Milton, *humour* Lamb, arabedd Sydney Smith, dawn siarad Coleridge, dysgeidiaeth Parr, hyawdledd Demosthenes; caiff fod swyn ynglŷn â'i berson, peroriaeth yn ei lais, mesmeriaeth yn ei lygad, —cynneua ei eiriau frwdfrydedd, ac efe a chwareua yn fedrus ar linynau y galon; ond ni cha hyn oll un effaith ar y werin, oblegid nid oes

ganddo ragor i fyw arno na'r swm cardotynaidd o gan' punt yn y flwyddyn. Beth yw athrylith i'r cigydd os nad all ei berchenog *fforddio* prynu mwy nag un *joint* o gîg ganddo yn yr wythnos? llawer gwell cwsmer iddo ef fydd dyn cyffredin â phwrs llawn ac yn gorchymyn *round* o gîg eidion yn pwyso deugain pwys. Ychydig mae y *grocer* yn debyg o faliaw am ehediadau awenyddol y bardd, os gorfydd i blentyn yr awen ymfoddloni ar ddim ond pwys o dê iddo ef a'i deulu, a chyfartaledd cyfatebol o nwyddau eraill. Ychydig gyfrif wna'r teiliwr a'r brethynwr o gyrhaeddiadau dealltwriaethol, os na dderbyn ef oddiwrth eu perchenog ychwaneg o ennill nag ellir sugno oddiwrth un pâr o ddillad yn y flwyddyn. Beth ydyw darganfyddiadau gwyddonawl i werthwr gwin, gwirod, a chwrw, os na rêd i'w boced ef o ddwylaw y sawl a'u gwnaeth fwy o fantais nag ellir ddysgwyl wrth werthu iddo un gasgen o gwrw, ychydig alwyni o *gin*, a dwsin neu ddau o win coch neu wŷn,—neu, ysgwaetheroedd, ddim gylfinaid o'r naill na'r llall, fel gyda'r llwyrymwrthodwyr? Na, yr hyn a ddymuna pob masnachwr ydyw cwsmeriaid, nid yn oludog mewn ymenydd, ac yn gyforiog o wybodaeth, ond yn llawn angen o bob math, ac yn foddlawn ac abl i ddiwallu eu hangenrheidiau â'r gwahanol nwyddau a gynnygir iddynt ar werth ganddynt hwy.

Cedwir y byd ynghyd yn benaf trwy angenrheidiau corfforol dynion. Gefaill-frenhinoedd y ddaear ydyw y Bol a'r Cefn, gydag ychydig raglawiaid i lywodraethu y taleithiau. Am un dyn sydd yn alluog i farnu teilyngdod unrhyw waith llênyddol neu wyddonawl, ceir miloedd yn alluog i ffurfio barn ar dynerwch neu annhynerwch hŵyad a phŷs gleision. Am un dyn sydd yn maliaw am Goll Gwynfa Milton, ceir torf yn zelog dros rôst, a berw, a photen. Am un dyn y cynneu ac y fflamia ei lygaid wrth syllu ar olygfëydd aruchel, mae lleng y pelydra eu llygaid bychain pan welant *salmon* a *sirloin*. Oblegid onid yw pethau bwytadwy, yfadwy, a gwisgadwy, yn hawdd eu hamgyffred, ac yn gydwastad â chynneddfau o'r fath fwyaf cyffredin? tra, o'r tu arall, y mae gweithiau yr athronydd, y bardd, yr areithiwr hyawdl, y cerfiwr, a'r darluniwr, yn gofyn chwaeth a gwrtaith fel cymhwysderau i'w beirniadu a'u hiawn brisio. Cerbydau gwychion, ceffylau llosgfanus, pranciawg, nerthol, buandroed; palasau prydferth, a *digonedd* o aur ac arian ydynt bethau y medr llanciau anwybodus eu beirniadu a'u prisio yn llawn cystal a phe buasent ddoethion y tir.

Mae yn llawn bryd i ni enwi rhai o'r pethau dros ba rai mae nerth a dylanwad gan arian.

1. Mae gan arian, ysywaeth, ddylanwad grymus ar gysylltiadau priodasol. A pharhâ felly cyhyd ag yr edrychir ar amgylchiadau cyfyng fel gwarthnôd îsraddoldeb mewn gwlad lle mae llawer mwy o ofn tlodi nag anonestrwydd.

*Dyn* ieuanc sydd weithiau yn cael ei demtio gan ei chyfoeth i briodi dynes ddigon hen i fod yn fam iddo; neu yn ddigon hagr, neu yn ddigon anwybodus, neu yn ddigon difoes, i ofyn am i'r belen fod wedi ei thrwchus oreuro, cyn y gallesid mewn un wedd ei llyncu.

Bryd arall, geneth dlos, ddiwylliedig, ond tlawd, sydd yn cael ei themtio i daflu ei hun i fynwes rhyw hen ddyn penwŷn, gauafaidd, neu oferddyn dadyrddus, neu ddrel anfoesgar. Adwaenom eneth gariadus a hawddgar a fu mewn perygl o ymgysylltu mewn glân briodas â dyn

na feddai ddim i'w gymeradwyo ond y ffaith noeth fod llawer o eiddo wedi cael ei adael iddo yn nhestament ei ewythr. Pa gymundeb a all fod rhwng personau fel y rhai canlynol? Caiff y ferch fod yn gynllun o brydferthwch; têg a gwŷn fel alabaster ydyw ei thalcen, du fel y frân ei gwallt, bwâog ei heiliau, Groegaidd ei thrwyn, ei llygaid yn nofio mewn tynerwch, ei gwefusau fel y rhosyn, a'i dannedd fel rhes o berlau, ei genau (nid twll bwyd, neu *potato trap)* yn llawn mynegiant, ei ffurf yn fain ac ystwyth, ac mor droed-ysgafn fel mai braidd y cyffyrddai â'r gwlithyn ar flaenau glaswellt,—ac yn cysylltu â'r rhagoriaethau corfforol hyn, enaid grymus, a chalon fawr, dyner, llais peroriaethus, a moes-ddulliau swynol. Dychymyger fod y fath angeles yn priodi rhyw delpyn o glai dilun, dienaid, a difoes, ond yn orlawn o nwydau anifeilaidd; neu ynte ryw hen bryfyn diddant, diwallt, a'r fogfa yn mron a'i fygu, ac yn llawer mwy cyfaddas i gael ei *nurso* fel talp o henaint digymhorth, na'i lawen briodi! Pa gymundeb a all fod rhwng Mai flodeuog, ddeiliog, â Rhagfyr oer a thymhestlog? A pha hawl sydd gan henaint difêr a difywyd i demtio â'i arian i drigo gydag ef yr ieuanc hoenus a gwaed-dwymn?

2. Mae gan arian ddylanwyd ar uchelgais—eisoes yn gyfoethog, ond yn chwennych mwy o gyfoeth. Mae digon o wrywaid a benywaid i'w cael ag sydd lawer mwy dan ddylanwad uchelgais na chariad, ac yn fwy dewisol ganddynt wneyd ymddangosiad allanol coegwych na mwynhâu dedwyddwch sylweddol cartref tawel, ond neillduedig. Ni feddant y mymryn lleiaf o *galon*, ond y mae ganddynt ddigon o falcher bydol. Nid yw o un pwys ganddynt pwy briodant, ond i swm y cyllid blynyddol ddyfod i fyny â gofynion eu huchelgais. Yr unig ddyben a etyb rhai gwrywaid fel *gwŷr priod* ydyw, talu biliau eu gwragedd gwastrafflyd. Mewn ystyron eraill nid ydynt ond gwâgnodau. *Prin* y cuddir y dirmyg a deimlir tuag atynt. Maent wedi gorfod *prynu*, a phrynu yn ddigon drud hefyd, y benywaid gwastraffgar, difeddwl, difwrw, a diddarbod, nad ydynt dda i ddim ond i afradu eu harian, ac esgeuluso eu cysur. Ac o'r tu arall, mae llawer dynes ddiniwed, grediniol, wedi melldithio, ac nid heb ddigon o achos, y diwrnod pan y darfu iddi roddi ei chalon a'i heiddo i law rhyw anturiwr uchelgeisiol, ond oergalon a hunangarawl, yr hwn ni faliai am ddim ond ei *gwaddol*, a'r hwn oedd yn ddigon brwnt a bawaidd i luddias perchenog cyntaf ei eiddo i gyfranogi o hono ond yn ol ewyllys y cardotyn y bu y gredaden mor ddiniwed a'i wneyd yn oruchwyliwr arno. Gwyddom am enghreifftiau o fenywod yn gorfod *gofyn* i'r tlodion a briodasent am bob swllt fydd yn eisieu arnynt at eu gwasanaeth personol eu hunain, neu at ddybenion teuluaidd. Gan hyny, dylai pob etifeddes gyfoethog ystyried fwy na dwy waith, ïe, fwy na dwy waith a chant, pa un ai *hi* ei hun, neu ynte ei *phwrs* y mae yr ymgeisydd têg ei eiriau, tyner ei dôn, a swynol ei ddawn, yn garu fwyaf.

3. Nerth a dylanwad dros y farchnad. Mawr mor wahanol yr ymddygir tuag at Arian Parod a Choel pan fyddys yn prynu nwyddau. Gall Arian Parod feirniadu fel yr ewyllysio ar gymeriad y nwyddau a ddygir ger ei fron; ond ni oddefir hyn o ryddid i Goel. Fe gaiff *Cash luncheon* yn y *warehouse*, a gwahoddiad i giniawa yn y *country house*. Mae efe yn sicr o'r gwenau siriolaf, a'r sylw mwyaf astud, os nid *gwasaidd* o ostyngedig a gwarogaethol. Ni raid iddo ef gynnyg un esgusawd am y drafferth a achosa wrth ddymuno edrych ar y peth hyn a'r peth arall ag y

dewisa, *fe allai*, i'w prynu. Ond gwahanol iawn y trinir *Credit*, druan. Ni wnaiff hi ddim o'r tro iddo ef i siarad yn awdurdodol a chwyddedig. Ni oddefir ganddo ef ysgrifenu epistolau ystormllyd i drîn yr hŵn a ddanfonodd y nwyddau, os nad ydyw yr *invoice* a'r *orders* yn cyfateb i'w gilydd. Y tâl a dderbyn am fod mor feiddgar, yn ddigon tebygol, fydd awgrym, (ac mor ddealladwy fel na eilw am gymhorth un esboniwr,) yn dyweyd y gellir *closo* yr *account*, yr hyn nid yw yn gyflëus i boced *Credit* helbulfawr. Y nefoedd drugarog a *helpo Credit* lafurfawr hyd nes byddo ei enw yn *Cash!* Felly b'o.

Mae *Cash* am flynyddau wedi talu ei dreuliau teuluaidd â manna a mêl masnach lwyddiannus—*discount;* tra mae Coel wedi gorfod (ac yn gorfod eto) talu *llôg* am yr arian a fenthycodd i gychwyn masnach. Gall Arian Parod wrthod coel i'r prynwr; ond *gorfyddir* Coel i roddi coel, neu ynte gau ei siop. Gall *Cash* wylio y marchnadoedd, a phrynu yn y rhataf, a phrynu, mewn gwirionedd, pa bryd y golyga y bydd yn fantais iddo i brynu. Mae yn barod at fargen bob amser, ac yn sicr o honi. Y cyfan sydd yn ofynol ydyw *uniad ffodus cyfle ac arian.* Mae arian yn ennill arian, a Choel yn arwain i goel. Y gair Groeg am lôg ydyw, τόκος, *y ganedig,* neu y plentyn; felly medr yr hwn rydd fenthyg arian son am y bunt a'i *phlentyn,* neu y llôg.

4. Nerth a dylanwad dros *opiniwn.* Nid oes, mewn un ystyr, eisieu cyfoeth fel cymhwysder er bod yn aelod seneddol. Mewn llawer o siroedd gyrir pleidleiswyr i'r *poll* fel pe byddent gynifer o eidionau neu o ddefaid. Beth yw y rheswm am hyn? Ofn pa beth sydd yn achosi golygfa mor wasaidd a gwarthus? Ofn *Mammon a'i waedgwn.* Dros lawer bwrdeisdref a sîr, pwy ydyw yr aelodau? Ai dynion o'r egwyddorion puraf, y wybodaeth ehangaf, yr annibyniaeth mwyaf anhyblyg, yr hyawdledd parotaf? *Nage;* ond rhyw bobl na feddant uwch cymhwysder na'u bod wedi eu geni yn yr ardal, fod eu tiroedd yn agos i'r dref neu yn y sîr, ac nas medrant esgor ar hanner dwsin o frawddegau heb gymhorth bydwraig neu Dr. Prompter, ac heb ddyweyd y gair *Gentlemen* lawer gwaith fel arwydd o ing eu hesgoreddfa fèr ond poenfawr. Mewn llawer man —yn y trefydd yn gystal â'r wlad—mae dynion yn sisial eu gwahaniaeth barn oddiwrth eu cymydogion, ac ni feiddiant *sisial* eu syniadau ond pan fyddo y ffenestri a'r drysau yn nghau, a'r gwasanaeth-ddynion wedi myned i'w gwelyau. Mewn llawer plwyf mae ar y trigolion ofn y palas, y castell, a'r clochdŷ.

Y mae amryw resymau ag sydd yn gwneuthur meddiant o allu arianol yn *ddymunadwy.* Mae pawb yn addef taw gallu ydyw hwn, ac mae pob math o allu yn beth i'w chwennych. Bod yn wan ydyw bod yn annedwydd; bod yn gryf yw bod yn ddedwydd. "A fyno barch," medd y ddiareb Gymreig, "bid gadarn." Gwana, *gwaedded:* äed at y mûr. Yn y dyddiau presennol, mae yn ofynol i ddyn fod yn gryf mewn *rhywbeth;* bydded ynte yn gryf mewn gwybodaeth, cymeriad, poced, ïe, ac mewn aelodau, oblegid mae *anifail* cryf, iachus, yn sylfaen dda i adeiladu *dyn* arno. Gellir crynhoi yr holl resymau i un neu ddwy o frawddegau— "Cysgod yw arian." "Arian a ateb i bob peth."

1. Mae yn gysgod rhag *ofn.* Mae arian yn un o'r pethau sydd yn galluogi dyn i fod yn *hyf.* Ychwaneger *cymeriad* ato, a gall perchen y ddau fforddio bod yn hyf. "Mae y cyfiawn yn hyf fel y llew;" pa faint

mwy hyf y medr y "cyfiawn," y gŵr o gymeriad, fod, pan fyddo ei gwpbwrdd yn llawn? Gwledd a mwyniant o'r mwyaf ydyw *teimlo* yn hyf, a bod yn ngallu dyn i ddyweyd wrth ryw ormeswr oer-waed, brwnt, gyda phwyslais ag a fuana hyd yn nôd gylchrediad ei waed, er mor falwodenaidd y rhed yn gyffredin,—"Ti wyt y dirasyn mwyaf diymysgaroedd y cafodd un wraig y boen o esgor arno, a'r unig esgusawd a fedri di gynnyg, a'r unig iawn a fedri dalu am feiddiaw ymddangos ymhlith *dynion* ydyw, myned allan o'r byd yma, ac ar hyd y ffordd feraf." Meddylier am ddyn ag sydd bob modfedd o hono yn *ŵr boneddig* o ran egwyddor, teimlad, ac ymddygiad, yn gorfod dibynu am ei fara ar ryw feistr traws, drygnaws, difoes, ac arianfalch!

2. Cysgod yn erbyn nacâd ac anfri. "Y sawl sydd ganddo y rhoddir iddo, ac efe a gaiff helaethrwydd." Yr hwn sydd berchen ceffyl a fedr fenthyca ceffyl, a'r hwn sydd ganddo asyn a fedr fenthyca asyn; ond cynghorem y sawl na feddant na cheffyl nac asyn i wneyd defnydd o ryw offerynau eraill er symud eu pebyll o un man i'r llall, neu drigo gartref—pa un bynag a darawo oreu eu cyfleusdra â'u hangen. Gwell *peidio* gofyn benthyg pedwarcarnolyn un cymydog. Difrïr y goludog yn ei gefn, ond ni wna hyny niwed yn y byd iddo. Yr hyn ni chlyw y glust, yn gystal a'r hyn ni wêl y llygad, ni ddoluria'r galon. Nid ydyw y cyfoethog *doeth* yn dysgwyl am, nac yn prisio cyfarchiadau yn yr heolydd ac mewn marchnadoedd; ond y maent yn rhagori ar weinyddiadau ŵyau clwc, llaid, a chèryg, ac amryw bethau eraill y gall braich dan ddylanwad diffeithdra a gelyniaeth luchio dyn â hwy. Mae arian yn hebgor iddo y drafferth o beneliniaw ei ffordd trwy y dorf. Gesyd ef yn ddigon pell o gymydogaeth yr hyn a dramgwydda synwyrau ei gorff a theimladau ei galon, a diogela ef rhag cyffyrddiad â'r cywelyaid dyeithr hyny, y "*strange bedfellows*," â pha rai y mae tlodi yn gwneyd ei drueiniaid yn gydnabyddus.

3. Mae arian yn gysgod rhag *pryder a gofalon*. Mae tlodi, gan nad pa un ai cynnyrch diogi, gwastraff, neu goll cymeriad, neu ffrwyth camymddygiad neu gamdrefniad rhieni, yn brofedigaeth gref i ddyn gellwair â rhai rhanau o'r Deg Gorchymyn. Mae cwpbwrdd gwâg yn tueddu yn uniongyrchol i brofi moesau dynion. Ac eto mae gofalon a thrafferthion ag sydd yn llawer mwy dewisol—serch eu dannedd meinion, awchlym, nag undônedd a diflasdod llwyddiant didor a digynhwrf. Ymddengys pethau i fwy mantais yn ngoleu cyferbyniad. Dywedai Dr. Johnson na wyddai hen lanc ddim beth oedd gofid na chysur; ac y mae lluoedd o bobl yn berchen ar bocedi llawn o arian, ac yn medru treulio eu bwyd yn ddigon didrafferth, ac yn mwynhâu iechyd diffuant, ac y byddai pang o gystudd yn fendith annhraethol iddynt. Byddai yn fath o gymwynas â hwy i osod tân yn eu nyth *rhy* glyd, a'u bendithio â'r angenrheidrwydd o wneyd un newydd. Diolch i Ragluniaeth am y ddeddf fawr wasanaethgar sydd yn gosod un peth ar gyfer y llall, onidê nis gwyddom beth ddaethai o "blant tònau" "gwlad y cystudd mawr."

4. Mae arian yn gysgod rhag y brofedigaeth o wadu egwyddorion. Nid oes *un* math o esgusawd gan ddyn ag y mae ei fara yn ddiogel, i aberthu ei egwyddorion—pechadur *gwirfoddol* ydyw hwnw. Adeiladol iawn ydyw gwrando ar ambell ŵr wedi ymneillduo oddiwrth fasnach i fwynhâu ei annibyniaeth mewn neillduedd cysgodlawn yn pregethu i ddyn *tlawd* ar yr angenrheidrwydd o lŷnu wrth ei *egwyddorion*, er yr

enbydai hyny ei fywioliaeth, pan y gŵyr pawb nad oedd neb, pan mewn masnach, yn dymmoreiddiwr mwy gwasaidd na'r pregethwr ei hun.

Ddarllenwyr! *mynwch* arian, nid *ryw* sut, ond mewn ffordd onest. Os ennillwch arian yn anonest, cofiwch yr hen ddiareb ddidderbynwyneb, yr hon a ddywed y bydd raid "Gwario dan dôr y diawl yr hyn ennillwyd ar ei gefn." Ennillwch arian mewn ffordd onest, onidê fe feichir eich etifeddion â *mortgage* drom, yr hon y gorfoda deddfau mawrion didosturi y bydysawd ei thalu i'r ffyrling eithaf. Mae llawer math o eiddo wedi cael ei destamentu ag sydd yn drwmlwythog gan *fortgages* can' mwy melldithiol na rhai arianol, a'u talu *raid*, neu ynte fe fwytëir cnawd a mêr gan y llôg.

*Mynwch* arian, ond gofelwch beidio talu yn rhy ddrud am danynt. Maent wedi costio i rai dynion eu *hiechyd*, i eraill eu *rheswm*, i eraill eu hanrhydedd, a'u heneidiau. Gweision da yw arian, ond meistri drwg. Mae dŵr a thân yn weision ardderchog, ond yn feistri creulawn. Gwna dwfr, os medrwch ei lywodraethu, eich cario chwi yn ddidrafferth dros hŷd a llêd y wlad; ond os na fedrwch chwi ei feistroli, ni falia ddim i foddi y doethaf o honoch, a hyny a wna yn sicr, os câ ond y cyfle. Cogydda y tân eich ymborth, twymna eich traed, a siriola eich aelwyd; ond os nad edrychwch chwi ar ol y filain digydwybod, fe lŷsg eich tai a chwithau gyda hwy. Mae y *byd* yn ddigon parod i wneyd eich arch os chwi fydd feistri; ond y nef a'ch helpo os unwaith yr ewch dan ei draed. *Mynwch* arian fel y galloch osod troed *meistr* ar wddf y *rascal*.

*Cymhwysderau angenrheidiol er gwneyd iawn ddefnydd o arian.*

1. *Synwyr cyffredin, dysg, a chwaeth goethedig.* Cyhoeddid y dyn hwnw yn esiampl hynod o'r natur ddynol a ammheuai ei gymhwysder i wario cyllid blynyddol y *Marquis of Westminster*. Medr unrhyw ddyn *wario* arian, ond *sut* y mae yn debyg o'u gwario ydyw y pwnc ag y rhaid i bobl dda a doeth deimlo dyddordeb dwfn a pharhâus ynddo. Os cyfrifir meddiant ar ddoniau gorwych, heb farn, cydwybod, na chalon i reoli y defnydd wneir o honynt, fel yn orlawn o berygl i gymdeithas, nid llai peryglus ydyw etifeddu eiddo mawr heb ddylanwad llywodraethol yr un rheolwyr gwerthfawr. Mae athrylith a chyfoeth, pan wedi eu cysylltu âg egwyddorion goleuedig ac uchel-dôn, yn offerynau diail i wneyd daioni. Ceir calon "yr hael a ddychymyg haelioni" mor aml mewn cysylltiad âg amgylchiadau cyfyng a gwasgedig; ac yn llawn mor aml y ceir calon gul ac oer fel y rhew yn mynwes perchen meddiannau ehangfawr. Gwario arian yn *ddoeth* a *defnyddiol* ydyw cais pobl dda at ein cyfoethogion. Mae cynifer o bethau y gall y gŵr goludog eu gwneyd, a'u gwneyd yn orwych a digymhar o dda, fel y mae o'r pwys mwyaf i'w olygiadau fod mor oruchel ag ydyw ei adnoddau o helaethion. Nid oes un undeb mor drychinebus a dinystriol ag undeb gorchwylion iselwael, amcanion annheilwng, â chyfoeth mawr a safle dylanwadol. Pe buasai ond y filfed ran o'r arian sydd wedi cael eu hafradu gan wallgofiaid difeddwl a diofal ar ffolineb, a phob math o gythreulwaith, wedi cael eu cyflwyno at ddybenion rhesymol a gwasanaethgar, pa mor wahanol fuasai sefyllfa bresennol y celfyddydau, y gwyddonau, ynghyd â holl sefydliadau addysgiadol a dyngarol ein gwlad! Mor llïosog ac amrywiol ydyw y dybenion da at ba rai y maent yn ddefnyddiol; ac, o'r tu arall, mor llïosog ac amrywiol ydyw y ffyrdd y gellir camddefnyddio

arian, fel nad all un dyn ystyriol byth chwennych gweled cyfoeth yn meddiant neb ond perchenogion penau goleuedig, calonau tyner, ond dan reolaeth barn gywir, ynghyd â chydwybod dan ddysgyblaeth ofn Duw, a dylanwad ymwybodolrwydd dwfn o gyfrifoldeb iddo am bob peth a ymddiriedwyd i'w gofal.

2. *Syniadau cywir mewn perthynas i'r lle dylai arian gael ymhlith galluoedd eraill.* Nid pob nerth ydyw nerth arian: mae nerthoedd eraill ag ydynt yn anfeidrol uwch. Dylai y *perchen* ei hun fod yn llawer mwy na'i eiddo—na'i amgylchiad. Y defnydd mawr cyntaf a ddylai pob dyn synwyrol wneyd o'i gyfoeth ydyw benthyca ei help i wneyd *ei hun* yn fwy nag ef, onidê nid ydyw ei berthynas âg ef ond cyffelyb i *label* wedi ei osod ar *luggage* teithiwr—i arwyddo taw iddo ef ac nid i chwi y mae yn perthyn. Yn hytrach na suddo i'r fath ddyfnder o warth, dylai perchen y golud mawr ymfoddloni ar dreulio ar ei ofynion corfforol ond rhan fechan o'i gyllid blynyddol, a chyflwyno y rhelyw at wrteithio ei feddwl a'i galon, ac at brynu yr achlesau mwyaf drudfawr er mwyn gwneyd ei natur yn helaeth ffrwythlawn mewn pob rhinweddau a gweithredoedd da.

3. *Crefydd*, yr hon ydyw yr unig beth a ddysg i ddyn deimlad priodol o'r cyfrifoldeb cysylltiedig â meddiant o'r gallu hwn. Nid yw arian-*feddiannwyr* ond *stewards* yn unig; a siarad yn briodol nid ydynt yn *feddiannwyr* o gwbl; ac o ganlyniad y maent yn gyfrifol i awdurdod uwch am bob ceiniog a wariant, a bydd yn rhaid iddynt ddangos eu *vouchers*. A beth fydd y nefoedd yn feddwl am *rai*—ac fe allai y mwyafrif o'r rhai hyny!

Nid ydyw y *materol*—y daearol—ond o fyr barhâd; y *meddyliol* a'r *ysbrydol* ydyw unig bethau *parhâus* dyn. Pe ceisid benthyca ond ffyrling oddiar y nefolion, o bob gradd ac urdd, ni lwyddid, canys ni feddant ar un golud ond un ysbrydol, ac y mae hwnw yn gynnwysedig yn eu *gwybodaeth a'u cymeriad.* Help mawr i fyned trwy y byd hwn ydyw arian, ac i'n galluogi ni i gyflawni mil a mwy o orchwylion gwasanaethgar; ond yn y byd nesaf ni fydd o'r gwasanaeth lleiaf.

Yr unig esiampl o gyfoeth y *nefoedd* a welwyd ar y ddaear, oedd yn mherson a bywyd y Gŵr nad ydyw y goreu o honom "yn deilwng i ymostwng ac i ddattod carai ei esgidiau." *Tlawd*, yn yr ystyr ddaearol o'r gair, y dewisodd Efe fod, yn gymaint ag nad ydoedd ganddo "le i roddi ei ben i lawr;" ond, yn yr ystyr *nefol* o'r gair, Efe ydoedd y goludocaf a gerddodd ein daear ni erioed.

Yr ydym yn erfyn ar bawb cyfoethogion i wneyd brys i gyfnewid eu harian i ffurf a gylchdaenir yn myd yr ysbrydoedd. Pa beth bynag all arian wneyd tuag at gyrhaedd yr hyn sydd feddyliol ac ysbrydol, gosodwch ef allan yn ddiarbed, oblegid y mae yn annhraethol uwchlaw gallu un cyfrifwr i ddyweyd maint y swm a dderbynir yn llôg.

Os gwna syn-fyfyrio yn nghanol adfeiliau dinasoedd, temlau, a phalasau, ag sydd yn enwogfawr mewn hanes neu gân—os gwna ymweled â genedigaethfëydd y dynion hyny ag sydd wedi gwneyd eu hunain yn "frenhinoedd y ddaear,"—neu â'r rhyfel-feusydd lle yr hyrddwyd y gorthrymwr ar ffô, ac y drylliwyd llyffetheiriau y caethion—neu â'r golygfëydd hyny mewn natur ag sydd yn gwawdio holl ymdrechion mwyaf llwyddiannus y tafod, y pin, a'r pensil, i'w darlunio; os gwna

cymdeithasu â mawrion byd, yn fyw ac yn farw—os gwna *paintings* neu *sculptures* gorwych—os gwna un neu *bob* un o'r pethau hyn, a lliaws eraill allesid enwi, grëu yn mynwesau goludogion syched didòr am yr "*excelsior*," a phenderfyniad diysgog i osod eu traed ar uchelfanau haulwyn lle trig yr angelion, yr ydym yn ymhwedd â hwynt am "wneyd iddynt gyfeillion o'r mammon anghyfiawn," a'i gyflwyno at y dyben dyben sanctaidd a goruchel o sicrhâu iddynt esgyniad buddugoliaethus at y nefolion yn eu trigfanau tawel a thragywyddol.

---

# JOHN OWEN, D.D.

Doctor Owen; ïe, dyna fel y gelwir ef yn llafar ein gwlad; neu os oes arnoch eisieu cyffroi y parch dwfn sydd yn ein calonau iddo, gelwch ef fel hyn—"yr hen Ddoctor Owen." Heblaw y lle mawr y mae y Doctor ei hun wedi ei ennill yn ein calon, ni ddisgyna y geiriau—"yr hen Ddoctor Owen," un amser ar ein clust nad ydym yn dychymygu gweled gwêdd fawreddog, barchedig, prif Efengylydd Cymru yn sefyll o'n blaen; a thybiwn ein bod yn gwrando ei ynganiad araf-ddwys a'i lais todddedig, yn dywedyd—"Ddynion ieuainc! yn eich syched am y Germaniaid yna, nac anghofiwch yr Hen Ddoctor Owen."

Ond, oni fuost yn synu, ddarllenydd, fod un y mae y fath barchedigaeth ac anwyldeb ynglŷn â'i enw; un ag y mae Cymru yn dàl y fath berthynas âg ef, ac o dan y fath ddyled iddo; un ag y mae ei ddysgeidiaeth ëang, ei weithoedd cynnwysfawr a chyfoethog, a dylanwad sancteiddiol ei ysbryd seraphaidd yn brashâu gardd yr Arglwydd hyd y dydd hwn, nes peri i'r blodau ymddangos ar y ddaear, ac i'r ffigysbren fwrw allan ei ffigys îrion, a'r gwinwydd a'u hegin grawn i roddi arogl têg,—fod y fath un, rywfodd, heb dŷnu sylw neillduol y Traethodydd eto? Heb geisio dyfalu sut y bu hyny, gallem fod yn sicr mai nid diffyg parch iddo, nac ychwaith dyeithrwch i ddylanwad ei ysgrifeniadau ar Gymru, a fu yr achos.

Y mae gan bob gwlad ei thadau mewn duwinyddiaeth; y rhai trwy eu rhagoriaethau, gwirioneddol neu dybiedig, a ennillasant serch ac ymddiried eu pobl; ac yn y sefyllfa hono, gydag awdurdod patriarchaidd, y maent yn rhoddi cyfeiriad penodol i ymchwiliadau, ac, megys yn ddiarwybod i neb, yn rhoddi eu delw eu hunain ar gynnyrchion yr oesau dilynol. Ni bu Cymru ar ol o gael dynion gwreiddiol ac anghyffredin, dynion yn meddu eu rhagoriaethau a'u hynodion gwahaniaethol; anfonwyd ati brophwydi o ymddangosiad mor hynod, ac yn meddu y fath ddoniau dyeithr, fel yr aeth Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen, allan atynt i'r diffaethwch, ac y bedyddiwyd

hwynt, wrth y cannoedd o filoedd, i edifeirwch. Ni raid eu henwi; y maent eisoes yn meddwl y darllenydd. Neillduolrwydd dysgeidiaeth ac athrawiaethau y dynion hyny sydd yn gwahaniaethu y ffurf sydd ar grefydd ein gwlad heddyw oddiwrth y ffurfiau sydd arni mewn gwledydd eraill.

Er hyny, yr ydym yn tybio, gyda pharch gwirioneddol i'n tadau, na freintiwyd Cymru eto,—beth bynag am y duwinyddion sydd yn awr yn fyw,—â'r un duweinydd o'r radd uchaf, yr un y gellid ei gyfrif fel ein duweinydd cenedlaethol. Ond tra y cydsynia ein darllenwyr, hwyrach, â'r hyn a ddywedwyd, y mae llawer o honynt, mae'n debyg, wedi sylwi fod ôl rhyw un duweinydd neillduol i'w ganfod a'r dduwinyddiaeth Cymru: hynodir hi yn benaf gan neillduolrwydd a rhagoriaethau Dr. Owen.

Hanes bywyd Dr. Owen, adolygiad ar ei brif weithoedd, sylwadau ar ei athrylith, ei egwyddorion a'i dduwioldeb; ymchwilio beth allai fod ei safle yn hanes yr eglwys, a pha mor fawr fu ei ddylanwad ar dduwinyddiaeth a chrefydd yr oesau dilynol—dyna, ddarllenydd, y llwybr y bwriadwn dy gymeryd ar hyd-ddo yn yr erthygl hon a'r erthyglau dyfodol, os yr Arglwydd a'i myn. Yr ydym yn dy gymhell i'n dilyn, am ein bod yn sicr y cyfarfyddwn â golygfeydd sydd yn wastad yn bedyddio ysbryd dyn â dylanwad iach ac adfywiol. Cawn weled anian, nid anian y bywyd crëadigol yn gwisgo y dyfnderoedd â brasder a thlysni bywyd, a'r uchelderau â mawredd a gwrhydri; nid golygfeydd natur, pa mor enaid-orchfygol bynag y dichon i'r rhai hyny fod, ond y *dduwiol* anian; y dduwiol anian yn ymfywhâu ac yn ymagor nes tori allan yn brydferthion byw anniflanedig, digon perffaith ac anfarwol i ddal haf tragywyddol y byd a ddaw; y dduwiol anian, nid yn yr agweddau sydd arni yn yr angel gwŷn neu yn y seraph dihalog, nac ychwaith fel y mae yn hanfodi yn Nuw, ei ffynnonell; ond, yr hyn sydd o fwy o ddyddordeb i ni, y dduwiol anian yn y ffurf y mae yn ei gymeryd yn *soil* y ddaear,—yn y natur ddynol; cawn weled pethau dwyfol mewn ffurfiau dynol, pethau pell, uchel, dwyfol, oedd erioed yn guddiedig yn Nuw, mewn ffurf y gallwn ni eu gweled â'n llygaid, edrych arnynt, a'u teimlo â'n dwylaw. Y mae fod y bywyd dwyfol yn cael ei egluro yn marwol gnawd pechadur yn anfeidrol ryfedd; ond y mae yn cael ei egluro yn helaeth yn mywyd Dr. Owen. Yr oedd Owen yn ddyn gwir fawr, ac yr oedd yn ddyn mawr duwiol iawn, ac hefyd yr oedd yn ddyn mawr duwiol yn byw mewn oes ac yn nghanol amgylchiadau, na chyfeiliornem pe dywedem na bu un dyn yn oes Cristionogaeth yn byw yn eu pwysicach; ac ymhellach, nid edrychydd neillduedig ydoedd Owen yn nghanol y daear a'r nefoedd grynfäau oedd yn siglo y "pethau wedi eu gwneuthur;" eithr yr oedd ganddo gymaint o law ynddynt fel nad oes genym un ddirnadaeth pa mor wahanol i'r hyn a fuont a fuasai y chwyldröadau hyny oni buasai am dano ef. Tra y byddwn yn nghymdeithas Dr. Owen, ynte, byddwn yn nghymdeithas dyn mawr duwiol, yn yr amgylchiadau mwyaf manteisiol i'w fawredd a'i dduwioldeb gael eu hegluro.

Rywfodd neu gilydd, nid ysgrifenwyd Cofiant Dr. Owen gan neb o'i gydoeswyr; eithr aeth deugain mlynedd heibio wedi ei farwolaeth ef, cyn i Mr. Asty, gweinidog Annibynol parchus yn Llundain, y cyntaf o'i fywgraffwyr, ymgymeryd â'r gorchwyl: ac nid ydyw gwaith hwnw ond

bŷr ac anmherffaith iawn. Drachefn, ymddangosodd Cofiant o hono gan ryw awdwr anadnabyddus, yr hwn sydd mor fŷr a diffygiol a'r cyntaf. Ond, o'r diwedd cafwyd Bywgraffiad da o hono gan y Parch. W. Orme, yr hwn a chwiliodd yn ddyfal bob cyfeiriad ato yn Mywgraffiadau ei gydoeswyr enwog, ynghyd â'r hyn a allai gasglu o Ragdraethodau Owen i'w wahanol weithoedd, ac hefyd yr hyn a geid yn ysgrifeniadau ei wrthwynebwyr a'i elynion, y rhai yn eu byw nid allasent beidio dyweyd rhywbeth am dano; a llwyddodd i gael at ei gilydd grynodeb lled gyflawn o hanes ei fywyd. Wedi hyny ysgrifenwyd buchdraeth gryno a galluog iddo gan y Parch. Dr. Thomson o Edinburgh, yr hwn a gyhoeddwyd yn gysylltiol â gweithoedd Owen, cyhoeddedig gan T. a T. Clark. Cymerwn y rhai hyn yn awdurdod am y ffeithiau yn hanes bywyd Owen.

Y mae âchyddiaeth y Doctor yn dyfod â ni ar ein hunion i Sir Feirionydd. Yn nheyrnasiad Harri VIII., Iorwerth VI., a Mari (Waedlyd), yr oedd boneddwr o fri, o'r enw Lewis Owen, Ysw., Uchelsirydd dros Sir Feirionydd, yn byw yn y Llwyn, gerllaw Dolgellau. Cyfarfu y boneddwr hwn â diwedd galarus. Ar ei ddychweliad o un o frawdlysoedd Sir Drefaldwyn, ymosodwyd arno gan haid o yspeilwyr, y rhai oeddynt wedi rhwymo eu hunain â diofryd y dyfethent ef, oblegid y rhan ffyddlawn a gymerodd efe yn nedfrydiad un o'u cymdeithion am ryw drosedd neu gilydd; ac wedi ei adael gan bawb oddieithr un cyfaill ffyddlawn, llofruddiwyd ef ganddynt yn Nghoed Monthrey. Bu i'r boneddwr uchod amryw feibion; enw ei bummed mab oedd Gruffydd. Mewn amser, priododd Gruffydd Owen, a chafodd blant; enw un o'i ferched oedd Susan. Drachefn, priododd Miss Susan Owen un Humphrey Owen, boneddwr o Feirionydd, yn hànu o'r un cŷff a Lewis Owen; a ganwyd iddynt hwythau amryw blant; enw yr ieuengaf o honynt oedd Henry. Wedi i Henry Owen gael addysg gartrefol dda, anfonwyd ef i Rydychain, ar y bwriad o'i barotôi i wasanaeth Eglwys Loegr. Daeth y boneddwr yma mewn amser yn vicar Stadham, yn Swydd Rhydychain. Hynododd Henry Owen ei hunan yn gymaint yn ei lafur fel gweinidog, ac yn ei zel dros gael diwygiad yn yr Eglwys, fel y daeth i gael ei alw yn "Puritan." Yn y flwyddyn 1616, ganwyd i'r gweinidog duwiol hwn ail fab, a galwyd ei enw ef John; a'r John hwnw a ddaeth mewn amser yn John Owen, D.D., y Puritan cawraidd, "Tywysog y Duwinyddion."

Fel y gallesid dysgwyl, trwy hir oediad y gwaith o ysgrifenu hanes ei fywyd, y mae helyntion ei ddyddiau boreuol wedi eu colli, fel nad ydys yn gwybod nemawr am hyny. Pa fath wraig oedd ei fam, tybed? Hawdd iawn fyddai dychymygu; oblegid faint o ddynion tebyg i Owen welodd y byd nad oedd ganddynt famau rhagorol? Colled fawr i'r byd ydyw fod hanes cynifer o famau da mewn ebargofiant. Y tebygrwydd ydyw i Owen dderbyn elfenau cyntaf addysg gartref dan ofal ei barchus dad; eithr anfonwyd ef pan yn bur ieuanc i Ysgol Ramadegol Rhydychain, yr hon oedd dan arolygiaeth Edward Sylvester, dysgawdwr o gryn enwogrwydd yn y dyddiau hyny. Ymroddodd Owen i'w efrydiau â'i holl egni, a dangosodd fod ynddo alluoedd anghyffredin yn fuan; oblegid derbyniwyd ef i Goleg y Frenhines yn fachgenyn ieuanc deuddeg oed. Yma drachefn llafuriodd yr efrydydd ieuanc gydag ymroddiad awchus; a

graddiwyd ef yn A.C. pan yn 19 oed. Yn ol addefiad Owen ei hun, ni wyddai am un amcan uwch y pryd yma i'w symbylu yn ei ymroddiad nag uchelgais anianol—cyrhaedd enwogrwydd a dyrchafiad. Ond tra yr oedd efe wedi rhagdrefnu ei yrfa o'i flaen, a chyda brwdfrydigrwydd balch yn ymbarotôi i'w rhedeg, yr hon, pe cawsai lonydd i'w dilyn, fuasai yn hynod hyd heddyw yn ddïau am ei chamrau beiddgar, gwrhydrus, darfu i'r Arglwydd Iesu, trwy ryw Ananïas, roi ar ddeall iddo ei fod yn "llestr etholedig iddo ef, i ddwyn ei enw ger bron cenedloedd, a brenhinoedd, a phlant Israel," a dangoswyd iddo "pa bethau eu maint oedd raid iddo ef eu dyoddef er mwyn enw Crist." Ni wyddys nemawr ddim am y moddion a fu yn effeithiol i droi ei feddwl at y pwnc pwysig o grefydd; pa un a ffynodd ai yr hadau a hauwyd yn ei feddwl pan gartref dan ofal ei rïeni, neu ynte ryw "hâd da" o ganol y cymysgedd oedd wedi ei ystorio yn ei ben a ddisgynodd rywfodd yn ddiarwybod i'w galon, nid ydym yn gwybod. Modd bynag, gwelwyd ef yn fuan yn ymofyn yn bryderus am "deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef." Yr oedd Owen yn argyhoeddedig ei hun fod y "gwaith da" wedi ei ddechreu ynddo yn ystod ei fywyd athrofäol; ac er na chyrhaeddodd y "tangnefedd sydd trwy gredu" hyd adeg ddiweddarach ar ei oes, gofynai o'i galon—Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?

Y mae gwirionedd ei argyhoeddiad, a diffuantrwydd ei egwyddorion, i gael eu profi megys trwy dân. Tra yr oedd Ysbryd Duw yn cyfnewid calon ein duweinydd, yr oedd William Laud yn gweithio ei ffordd i sylw ac awdurdod mawr yn y deyrnas. Un o'i ddyrchafiadau oedd cael ei alw yn Ganghellydd y Brifysgol yn Rhydychain. Gwyddys mai efe oedd prif gynghorydd Charles I., a'i fod hefyd yn gynghreiriwr o un galon â'r Iarll Strafford; a thrwyddynt hwy yr oedd eisoes wedi trawsffurfio llywodraeth eglwysig y deyrnas, nes ei dwyn mewn llawer o bethau yn gyfryw âg a foddiasai y Pab mwyaf Pabaidd; ac nid cynt y daeth yn Ganghellydd Rhydychain nag y dechreuodd osod ar y sefydliad hwnw gyfresi diddiwedd o seremonïau Rhufeinig; ac nid oedd un gosb dynerach am anufudd-dod i'r rhai hyny nag ysgymundod o'r Coleg. Ond nid un a ddychrynid i ufudd-dod gan fygythion a tharanau prelad balch, pa faint bynag o drawsawdurdod allai fod ganddo yn ei law, oedd yr efrydydd ieuanc, John Owen. Yr oedd llawer o'r defodau a arosodid gan Laud yn gyfryw ag yr oedd Owen yn barnu yn gydwybodol fod Gair Duw yn eu gwahardd; a phethau eraill y gallesid eu hystyried yn ddibwys ynddynt eu hunain, pan y gosodid hwy ar yr un tir a phethau mawrion y gyfraith fel yn hawlio yr un ufudd-dod, yn ei olwg ef yr oeddynt yn bethau i'w gwrthwynebu, fel pethau yn sangu ar awdurdod unbenaethol Duw, ac yn sathru ar iawnderau cydwybod dyn. Fel hyn ennillwyd Owen i fabwysiadu dadl sylfaenol y Puritaniaid, yr hon y buont yn ei hamddiffyn er dyddiau Ridley a Latimer—"Na ddylid dysgu fel athrawiaethau orchymynion dynion." Ond y mae poethder awr y brofedigaeth yn dal y llanc newydd iddo gael ei broselytio i'r ffydd hon. Os oedd ei gydwybod yn gwrthod gosodiadau Laud, y mae pob rhagolygon a buddiannau bydol yn dadleu y dylai ymostwng iddynt. Gadael Rhydychain ar hyny o bryd a barai i'w holl obeithion têg a dengar ddiflanu fel niwl y bore; gadael Rhydychain yn awr fyddai cau y drws yn ei erbyn ei hun i bob dyrchafiad yn yr eglwys, ac hefyd, hyd

yr ymddangosai iddo ef, i bob defnyddioldeb; gadael Rhydychain o dan y fath amgylchiadau fyddai tynu arno ei hun ŵg y prelad ffroenuchel ag yr oedd ei lygaid eiddigus yn cyniwair trwy bob congl o'r deyrnas, a thrwy ei ystrywiau yn darostwng pawb, o'r brenin i waered, i ddawnsio fel ynfydion i ba dôn bynag y clywai efe ar ei galon i'w chware; ac hefyd, os cymerai y cam hwn, byddai yn dra thebyg o ddigio ei ewythr yn Nghymru, yr hwn, hyd yn hyn, oedd wedi ei gynnal yn y Coleg, ac hefyd oedd wedi amlygu ei fwriad o'i wneyd yn etifedd ei ystâd ar ei ol. Dyma ymrysonfa bybyr rhwng "dirmyg Crist" a "thrysorau yr Aipht!" Ond y mae ein Moses wedi "dewis;" y mae yn edrych "draw, dros y bryniau tywyll, niwliog," ac yn gweled "taledigaeth y gobrwy." Yn llencyn ieuanc un ar hugain oed, gallesid ei weled yn cefnu ar y Brifysgol, yn gadael o'i ôl frenddwydion deniadol ei faboed, a'r gobeithion bywiocäol fu yn deffro ac yn adloni ei enaid blinedig ar hyd nosweithiau meithion y deng mlynedd diweddaf; yn gadael o'i ôl ddyrchafiadau eglwysig—gwisg y proffeswr heb gymaint a'i rhoi am dano, a chadair yr esgob heb gymaint ag eistedd ynddi unwaith; yn troi ei gefn ar yr enwogrwydd a'r bri urddasol oedd eisoes yn parotôi eu llawryf yn goronbleth i'w ben ef; yn cefnu ar ffafrau ac etifeddiaethau ei ewythr, ac yn troi i'r byd mawr cynhyrfus yn alltud dirmygedig oblegid cydwybod. A ydyw yn ddrwg genyt ei weled, ddarllenydd? Wyt ti yn tosturio drosto? Raid i ti ddim. Canys "nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu rieni, neu frodyr, neu wraig, neu blant, er mwyn teyrnas Dduw, a'r nis derbyn lawer cymaint yn y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Cawn weled yn y man fel y gwiriwyd y geiriau yna yn mywyd Dr. Owen.

Er dan yr amgylchiadau a nodwyd, derbyniodd urddau i wasanaeth Eglwys Loegr ar ei ymadawiad â Rhydychain, gan yr Esgob Bancroft; ac yn fuan wedi hyny cafodd le, yn annysgwyliadwy, gyda Syr Robert Dormer, o Ascot, fel caplan i'w deulu, ac athraw i'w fab henaf. Ni bu gyda y boneddwr hwn yn hir; derbyniodd wahoddiad i fod yn gaplan i deulu Arglwydd Lovelace, Hurly; ymha le, fel yr ymddengys, y cafodd lawer o garedigrwydd, ac y gwerthfawrogid ei wasanaeth. Ond erbyn hyn yr oedd y gagendor rhwng Charles a'r Senedd yn myned yn lletach letach. Mae amgylchiadau y cyfnod hwn wedi eu dwyn i sylw ein darllenwyr ar amryw achlysuron o'r blaen, fel yr hyderir eu bod bellach yn hyddysg ynddynt; felly ni raid i ni sylwi arnynt ond càn belled ag yr oedd a wnelo Owen â hwynt. Yn y fath gyfwng yr oedd yn annichonadwy i neb sefyll yn ganolog—rhaid fod cydymdeimlad pawb gyda y naill blaid neu y llall; a gwelwyd Owen a'i noddwr yn ymwahanu, un â'i gydymdeimlad gyda y Senedd ac achos cysegredig rhyddid y bobl, a'r llall yn dwyn arfau dros y Brenin. Mewn canlyniad i hyn, y mae Owen yn gadael teulu Arglwydd Lovelace, ac hefyd yn cael sicrwydd yr amddifedid ef o etifeddiaeth ei ewythr yn Nghymru, yr hwn oedd *Royalist* zelog. Wedi gadael Hurly, y mae yn symud i Lundain, ac yn trigianu yn Charter House Yard. Ymddengys ei fod yn bur isel ei feddwl y pryd hwn; yr hyn a achosid, i raddau, mae yn debyg, gan wêdd fygythiol ei amgylchiadau tymmorol, ond yn benaf gan ei bryder dwysfawr yn nghylch ei gyflwr fel pechadur. Nid oedd eto wedi profi ynddo ei hun "heddwch tuag at Dduw;" a dwys oedd ei ofid a'i flinder oblegid hyny.

Ond daeth yr amser i'r baich hwn syrthio oddiar ei enaid. Y pryd yma yr oedd Dr. Edmund Calamy yn gweinidogaethu yn Nghapel Aldermanbury, ac ato yr ymdyrai tyrfäoedd mawrion i wrandaw ei weinidogaeth efengylaidd, yr hon a gyhoeddid ganddo gyda hyawdledd digyffelyb. Un bore Sabbath, aeth Owen gyda chyfaill iddo tua Chapel Aldermanbury, gan ddysgwyl clywed Calamy; ond er eu siomiant, gwelent ryw weinidog dyeithr o'r wlad yn esgyn i'r pulpud. Awgrymodd y cyfaill wrth Owen y byddai yn well iddynt adael y lle, a myned i ryw gapel arall, lle y gallent glywed gŵr arall o gryn enwogrwydd; ond ni fynai Owen gydsynio. Wedi gweddi fèr a difrifol, darllenodd y pregethwr dyeithr ei destun,—"Paham yr ydych yn ofnus, O chwi o ychydig ffydd?" Mat. viii. 26. Gafaelodd y geiriau yn meddwl Owen; credodd ei fod yn air mewn pryd wrth ei enaid diffygiol ef, ac anadlodd weddi at Dduw am i'r genadwri fod yn fendithiol iddo. Gwrandäwyd ei weddi; yr oedd y pregethwr fel pe buasai yn gweled meddyliau ei galon ef; nododd allan yr ammheuon neillduol oedd yn ei flino, a gorchymynodd i'r holl ysbrydion aflan hyn i fyned allan o hono, byth i ddychwelyd mwy.

Wedi cael esmwythâu arno oddiwrth y baich blinderog yma, y mae ei feddwl yn dechreu adwisgo ei yni ieuengaidd drachefn; ac yn Mawrth, 1642, y mae yn cyhoeddi ei waith llênyddol cyntaf,—"*The Display of Arminianism.*" Wrth ddarllen agos yr oll o'r gweithoedd safonol sydd yn ein llênyddiaeth, cyn y gellir eu beirniadu yn dêg, na'u deall yn drwyadl, rhaid cymeryd i ystyriaeth hanesiaeth yr oes ymha un yr ysgrifenwyd hwy—beth oedd sefyllfa ac amgylchiadau y pwnc mewn dadl ar y pryd? Beth oedd natur yr hyn a barodd i'r awdwyr ymgymeryd â'u gwaith? Amgylchiadau y cyfnod, yn ddiammheu, a barodd i Owen ysgrifenu "Dynoethiad Arminiaeth;" ac ysgrifenwyd ef gyda llygaid sefydlog ar yr amgylchiadau hyny. Hen bwnc wedi cael sylw dyfal gan ddynion meddylgar yn y naill gyfnod ar ol y llall ydoedd cysylltiad a chydgordiad y dynol a'r Dwyfol yn nhrefn yr efengyl—perthynas dyn â'i Grëawdwr; ond er cymaint yr ymchwil fu, ychydig ydyw ein gwybodaeth am hyny eto. Y mae dyfodiad pechod i'r byd wedi taflu y fath dywyllwch ar y pwnc, pwnc fuasai, hwyrach, i fesur, yn ddirgelwch pe na buasai pechod yn bod, fel nad oes nemawr o obaith y gellir ei ddirnad yn briodol hyd nes y ceir edrych arno â golygon mwy perffaith, yn awyr gliriach y sefyllfa ddyfodol. Ond er nas gall neb ein cyfeirio at drigle y dirgelwch, a dywedyd,—Dyna y gwirionedd; eto y mae yn hawdd iawn deall pan eir ymhell oddiwrtho. Mae y ddaear i'w theimlo yn gadarn a gwastad o dan ein traed pan yr ydym yn sefyll rywle yn nghymydogaeth y gwir; ond os pwysir yn ormodol i'r ochr ddynol, nes colli ein golwg ar Dduw, fe'n llyncir yn fuan yn siglenau a chorsydd Arminiaeth a Morganiaeth; neu ynte, os gŵyrir yn rhy bell i'r ochr Ddwyfol, nes colli golwg ar rwymedigaethau a dyledswyddau dyn, y canlyniad fydd cwympo yn anafus ar draws creigiau erchyll Antinomiaeth. Y mae dwyfoldeb person yr Arglwydd Iesu, natur yr iawn, llwgr a dirywiad y natur ddynol, yn athrawiaethau â pherthynas hanfodol rhyngddynt â'u gilydd; beth bynag fyddo y golygiad a fyntumir ar gwymp dyn a'i ganlyniadau, y mae y golygiad hwnw, o angenrheidrwydd, yn dylanwadu ar ein barn am natur yr iawn; a pha beth bynag fyddo ein barn am natur yr iawn, y mae hyny yn ein cydgau i ryw olygiadau

anocheladwy am berson y Gwaredwr. Y mae gras Duw ac ewyllys rydd yn dal perthynas gyffelyb; y mae golygiadau neillduol am y naill yn dylanwadu ar ein golygiadau ar y llall. Fe ddygwyd y pynciau pwysig hyn i sylw arbenig yn fuan wedi cyffröad byd-gynhyrfus y Diwygiad Protestanaidd; yn nesaf at y dadleuon rhwng y Babaeth a Phrotestaniaeth, y peth penaf yr ymaflodd meddylgarwch ac athrylith yr eglwys ynddo, newydd ddeffro o'u cwsg oesol, oedd ymchwiliad egnïol, ac hefyd tra chyffredinol, iddynt. Cariwyd y ddadleuaeth ymlaen yn Holland i bwynt uchel a therfysglyd; a chafodd yr ymdriniaeth yn y wlad hono gryn effaith ar dduwinyddiaeth Prydain. Y mae cwestiynau y ddadl yn cael eu trafod gan Owen yn y gwaith hwn, gan mwyaf, yn y ffurf a roddwyd iddynt gan yr ymdriniaeth fu yn Holland. Yn y flwyddyn 1603, dyrchafwyd James Arminius i gadair dduwinyddol Athrofa Leyden. Cafwyd allan cyn hir, yr hyn a ammheuid gan rai pan y codwyd ef i gadair yr athraw, ei fod yn gŵyro mewn llawer o bethau oddiwrth gyffes yr Eglwys Ddiwygiedig; a bu dadleu cyndyn rhyngddo ef â'i gydathraw, Gomarus. Bu Arminius farw yn y flwyddyn 1609, ond cariwyd y ddadl ymlaen gan Episcopius, ac eraill oedd wedi mabwysiadu golygiadau Arminius. Yn y flwyddyn 1610, anfonasant wrthdystiad at awdurdodau Taleithiau Holland, yn cynnwys eu golygiadau mewn pum' erthygl, ac yn gofyn am gyfnewidiad yn llyfrau yr Eglwys ac yn y Cyffes Ffydd. Galwyd cynnadledd ynghyd, yr hon a gyfarfyddodd yn Hague; ond ni phenderfynwyd dim yno. Yn y flwyddyn 1618, galwyd Synod Genedlaethol i gyfarfod yn Dort, i geisio penderfynu y ddadl; pryd yr oedd wedi dyfod ynghyd Ddirprwywyr o agos yr oll o'r Eglwysi Diwygedig yn Ewrop. O Loegr, yr oedd yn bresennol, y Doctoriaid Carleton, Hall, Davenant, a Ward; a Dr. Balcanquhal, o'r Alban. Y pum' pwnc oedd gan y *Remonstrants* i'w dwyn i sylw Cymanfa Dort, ac i wrthdystio yn eu herbyn oedd:—1. Etholedigaeth; 2. Marwolaeth Crist, a natur ac ehangder y prynedigaeth; 3. Achos Ffydd; 4. Dull a Moddion Tröedigaeth; 5. Parhâd mewn gras. Condemniwyd golygiadau y Gwrthdystwyr gan y Gymanfa hon, yn yr hyn y cydunai y duwinyddion Prydeinig. Eithr er hyn, cafodd golygiadau y *Remonstrants* amryw i'w pleidio yn y deyrnas hon. Gwyddys fod Erthyglau Eglwys Loegr yn eithaf Calfinaidd; ond ar ddyrchafiad Laud i archesgobaeth Canterbury, cafodd Arminiaeth achles a lledaniad o'i mewn. Yr oedd Laud mor dŷn dros athrawiaethau neillduol Arminiaeth ag oedd o zelog dros seremonïau Pabaidd, ac ymostyngiad gwasaidd i'r awdurdodau eglwysig. Felly fe ddaeth Arminiaeth yn unig ffordd i ddyrchafiad; ac o ganlyniad yn gredo proffesedig y rhai diegwyddor, nad oeddynt yn prisio dim yn gyfwerth â'u lles personol eu hunain. Yr un pryd yr oedd gan Arminiaeth amryw ddynion dihoced a chydwybodol yn ei phleidio; o'r cyfryw yr oedd John Goodwin, un nas gall neb ei gyhuddo o waseidd-dra i na phrelad na brenin.

Yr amgylchiadau a nodwyd a dynodd Owen allan i ysgrifenu y gwaith dan sylw. Dylid addef hefyd fod Arminiaeth y dyddiau hyny yn llawer mwy eithafol nag fel y coleddir hi gan Arminiaid y dyddiau hyn; yn wir, yr oedd rhai golygiadau yn cael eu cario ganddynt i'r fath eithafion fel ag i fod yn wir beryglus i fywyd a hanfod yr efengyl. Dengys Owen yn y gwaith yma yr un rhagoriaethau a nodweddion ag a ddadblygwyd

ynddo i fwy o berffeithrwydd yn ei weithoedd diweddarach: cydnabyddiaeth ëang â'r pwnc; meddwl athronyddol a meistrolgar i gario y ddadl ar unwaith at wreiddyn y mater; gofal mawr ymhob pwynt i ymwrando beth a ddywed yr Ysgrythyr; a thuedd wastadol i edrych ar bob peth yn ei berthynas â Duw. Y mae yn cymeryd gafael yn erthyglau ei wrthwynebwyr, ac ar unwaith yn eu gwasgu i gyffesu canlyniadau eu gosodiadau, wedi eu cario allan yn llawn; ac y mae yn cael fod eu gosodiadau yn eu gorfodi i wneuthur y pethau canlynol:—1. Cau eu hunain allan o fod dan lywodraeth Duw; i beidio byw, symud, a bod, ynddo; a dal fod ganddynt allu cwbl annibynol ynddynt eu hunain i'w hysgogi yn eu holl weithredoedd, fel nad ydyw unrhyw ymddygiad o'u heiddo yn dal perthynas â dim ond hap, dygwydd, a'u hewyllys eu hunain. 2. Clirio y natur ddynol oddiwrth y cyhuddiad pwysig o fod yn bechadurus a dirywiol; a hawlio iddynt eu hunain allu i wneuthur yr holl dda y gall Duw yn gyfiawn ei ofyn oddiwrthynt yn eu sefyllfa bresennol. Tuag at brofi y gosodiadau uchod, y mae yn dyfynu o ysgrifeniadau ei wrthwynebwyr; a chan eu trafod â llaw drom, a'u rhesymu i'w canlyniadau, y mae yn eu dwyn i wyneb tystiolaeth rheswm ac Ysgrythyr am arfaethau, rhagwybodaeth, rhagluniad, ac ewyllys Duw. Fel ei holl weithoedd, y mae yn draethawd llwythog o fater; ac er nad ydyw yn lân oddiwrth fryntni personol, yr hyn a anurddai ddadleuon yr oes hono mor fawr, eto teimlir yr eneiniad sanctaidd sydd yn nawseiddio ei holl ysgrifeniadau, yn rhedeg drwyddo.

Dygodd y gwaith hwn Owen i sylw ar unwaith; a chafodd trwy hyny fywoliaeth Fordham, yn Essex. Cyn hir wedi iddo symud i Fordham, priododd foneddiges o'r enw Rooke. Ni wyddys nemawr am yr undeb hwn, oddigerth y ganwyd iddynt un-ar-ddeg o blant, y rhai a fuont feirw oll yn eu mebyd, oddieithr un ferch. Modd bynag, ymddengys fod yr amser y bu yn y lle hwn yn un o gyfnodau dedwyddaf ei fywyd. Ymgymerodd â'i waith bugeiliol â'i holl galon; a phregethodd Grist croeshoeliedig gydag arddeliad mawr. Tra bu yn Fordham, cyhoeddodd amryw weithoedd duwinyddol; y cyntaf o ba rai ydoedd, "*The Duty of Pastors and People Distinguished,*" yr hwn a gyhoeddwyd yn 1643. Amcan penaf y gwaith hwn, fel y dywed ef ei hun ydyw, "Dangos y moddion sydd i'w defnyddio gan bobl Dduw, ar wahan oddiwrth eu swyddogion eglwysig, tuag at gynnydd gwybodaeth ddwyfol ynddynt eu hunain ac mewn eraill." Byddai darllen y traethawd yma yn sicr o fod yn fendithiol i Gymru y dyddiau hyn; pan y mae gwaith bugeiliol a chenadol yr eglwys yn cael ei gadw gan rai yn gwbl yn nwylaw y gweinidog, y mae eraill am wneyd heb weinidog, a rhoi y gwaith i gyd i'r eglwys, dangosir yma fod gan y naill a'r llall eu gwaith prïodol eu hunain, a bod mor anhawdd hebgor y naill a'r llall. Gwaith arall a gyhoeddwyd ganddo yn fuan wedi hyn ydyw—"*The Principles of the Doctrine of Christ Unfolded, in Two Short Catechisms;*" y cyntaf i blant ieuainc, a'r llall i rai mewn oedran addfetach. Erbyn hyn, yr oedd enw a chlodforedd Owen yn prysur ymledanu dros y deyrnas; ac yn y flwyddyn 1646, Ebrill 29ain, galwyd ef i bregethu o flaen y Senedd. Testun y bregeth hono oedd Act. xvi. 9: "A gweledigaeth a ymddangosodd i Paul liw nos; rhyw ŵr o Macedonia a safai ac a ddeisyfai arno, ac a ddywedai, Tyred drosodd i Macedonia, a chymhorth ni." Ni alwyd

dyn erioed i bregethu yr efengyl i gynnulleidfa, ac mewn adeg ac amgylchiadau mwy pwysig. Yr oedd hyn ar derfyn y rhyfel cartrefol cyntaf; yr oedd y Seneddwyr wedi buddugoliaethu ymhob man. Yr oedd Hopton ac Astley, y cadfridogion a arosasent olaf ar y maes o du y Brenin, wedi eu gorfodi i ymostwng yn ystod y mis o'r blaen; mor drylwyr yr oedd y fuddugoliaeth wedi eu hennill, fel yr oedd Charles wedi ffoi, ac Oliver Cromwell wedi dychwelyd a chymeryd ei eisteddle drachefn yn y Senedd. Ond nid gorfoli y gwŷr dewrion oedd wedi ymladd brwydrau rhyddid; nid rhifo rhinweddau na chanmawl doethineb y gwŷr cedyrn, nerthol, oedd yn gwrando arno, er mwyn sicrhâu eu ffafrau a'u nawddogaeth yn y dyfodol, fel y gwnaed yn rhy fynych mewn amgylchiadau cyffelyb gan glerigwyr gwasaidd, y mae John Owen; eithr y mae yn galw y Senedd a'r genedl i ymostwng yn ddirfawr ger bron yr Arglwydd, ac i gywilyddio ac edifarhâu oblegid eu pechodau; y mae yn llawenhâu oblegid llwyddiant yr efengyl drwy y brwydrau diweddar; ond y mae yn "llawenhâu mewn dychryn" rhag na byddai i'r efengyl, yr hon y bu agos iddi gael ei phechu ymaith o fysg y genedl ddwywaith weithian, gael ei derbyn a'i chadw yn ei phurdeb; ac y byddai Perchenog y winllan, pan y delai y "drydedd" waith i geisio ffrwyth, nid yn defnyddio gorchwyliaethau llymion er ei phuro a'i glanhâu, fel y gwnaed drwy y terfysgoedd blinion a'r rhwygiadau gwaedlyd oedd newydd gymeryd lle; ond y byddai yn ei "gosod i eraill"—y byddai yr efengyl yn cael ei chymeryd yn llwyr o Frydain! Y mae yn eu hysbysu fod rhanau helaeth o'r deyrnas heb yr efengyl; ac y mae yn eu galw oll i gyduno i anfon gair y bywyd i bob congl o'r wlad. Y Macedonia benodol oedd ganddo ef y pryd hyny i ddadleu drosti ydoedd Cymru orthrymedig; mynai ei waed Cymröaidd a'i ysbryd efengylaidd gael ganddynt gofio hen wlad ei dadau. Ebai tua diwedd ei bregeth— "Dylai pob un o honom, pwy bynag sydd yn alluog i wneyd rhywbeth, ddyfod ymlaen i gynnorthwyo y rhanau hyny o'r ynys sydd eto megys yn eistedd yn mro tywyllwch a chysgod angeu, heb neb i estyn bara y bywyd i'w heneidiau diffygiol. Onid yw Cymru yn gwaeddi, a'r gogledd yn gwaeddi, ïe, a'r dwyrain yn gwaeddi, Deuwch drosodd, a chynnorthwywch ni? Yr ydym ni eto mewn gwaeth caethiwed na'r un y cawsom ein rhyddâu o hono drwoch chwi; os gadewch chwi ni fel hyn, ni wna eich amddiffyniad ond rhoi i ni fynedfa ryddach a hoewach i ystafelloedd marwolaeth. * * * Pan oedd manna yn disgyn o law yr Arglwydd yn yr anialwch, yr oedd pob un yn cael rhan gyfartal o hono. Mi ddymunwn na byddai yn awr y fath anghyfartaledd dirfawr wrth wasgaru y manna, pan y mae yn cael ei roddi trwy ddwylaw dynion; fel y mae rhai yn cael y cwbl, a'r lleill ddim; rhai defaid yn cael beunydd eu dewis irwellt o'r porfeydd brasaf, a'r lleill yn crwydro hyd fynyddoedd noethlwm heb na bugail na phorfa." Derbyniodd Owen ddiolchgarwch y Tŷ wedi pregethu y bregeth hon; a gorchymynwyd ei hargraffu. Y mae Mr. Orme yn dyweyd, ac y mae Dr. Thomson yn ei ddilyn, mai yn Fordham yr oedd Owen yn gweinidogaethu pan alwyd ef i bregethu y bregeth uchod; ond ar wyneb-ddalen y copi gwreiddiol, ymddengys enw yr awdwr fel "gweinidog yr efengyl yn Coggeshall." Dichon mai yn Fordham yr ydoedd pan y gwysiwyd ef i bregethu, a'i fod wedi symud i Coggeshall pan y cyhoeddwyd hi.

Yr oedd crefydd yn Nghymru mewn cyflwr gresynol yr adeg yma; dim Biblau yn y wlad, nac ychwaith unrhyw lyfrau eraill i gyfarwyddo na dysgu neb yn ffordd iachawdwriaeth; ac os oedd rhyw ddosbarth o'r boblogaeth yn fwy llygredig na'u gilydd, y clerigwyr oedd y rhai hyny; yr oedd eu bywyd a'u hesiamplau yn felldith yn y cymydogaethau lle trigiannent. Ac, fel y gallesid dysgwyl yn y fath amddifadrwydd o foddion gras, suddodd y genedl i anwybodaeth ac annuwioldeb arswydol. Ond ni bu y bregeth uchod heb ddwyn ffrwyth da. Yn y flwyddyn 1649, dygwyd mesur i'r Senedd tuag at ledanu yr efengyl yn fwy effeithiol, a thuag at ddiarddel clerigwyr anfoesol, yn Nghymru. Oddiwrth adroddiad y dirprwywyr fe welir i gynifer a 175 o offeiriaid llygredig gael eu diswyddo; ac ymhellach, trwy ymdrechiadau y Senedd, sefydlwyd 150 o weinidogion duwiolfryd i wasanaethu yn Siroedd Cymru, zêl ac ymroddiad pa rai ellir weled yn y ffaith fod llawer o honynt yn pregethu dri neu bedwar diwrnod o bob wythnos. Hefyd, gosodwyd ysgolfeistr ymhob tref farchnad, a dau ŵr dysgedig, wedi eu dwyn i fyny yn y brifysgol, ymhob un o'r prif drefi. At hyn, sefydlwyd chwech o bregethwyr teithiol ymhob Sîr, a chynnorthwyid hwynt hefyd gan amryw leygwyr duwiol, y rhai a ymroddent i gynnal cyfarfodydd crefyddol ar hŷd a llêd y wlad.

Dro arall, pan wedi ei alw i bregethu o flaen y Senedd, cymerodd Owen fantais i alw sylw mawrion y deyrnas at Gymru. Ei destun y pryd hwnw ydoedd, 2 Cron. xv. 2: "Ac efe a aeth allan o flaen Asa, ac a ddywedodd wrtho, O Asa, a holl Judah, a Benjamin, gwrandewch fi; yr Arglwydd sydd gyda chwi, tra fyddoch gydag Ef; ac os ceisiwch Ef, chwi a'i cewch Ef; ond os gwrthodwch chwi Ef, yntau a'ch gwrthyd chwithau." Mynai gael gan ddeddfwyr Prydain ddeall os oeddynt am gael Duw yn ffynnonell eu llwyddiant, y byddai raid iddynt gadw eu golwg yn barhâus ar y pethau oedd yn tueddu at sicrhâu presennoldeb neillduol Duw yn ei ragluniaeth yn eu mysg. Heblaw dibynu ar Dduw eu hunain, a bucheddu yn addas i'r efengyl yn eu holl gysylltiadau personol, yr oedd yn orphwysedig arnynt luniaethu eu trefniadau gwladol yn y fath fodd fel ag i sicrhâu pob rhyddid a mantais i broffes gyhoeddus o grefydd yn y tir. Tua therfyn y bregeth hon dywed,—"Y mae rhai pethau wedi eu gwneuthur yn ddiweddar, yn y rhai, wedi i genfigen, a llid, a siomedigaethau ddarfod cynhyrfu, y caiff holl bobl Dduw yn y genedl hon achos i lawenychu. Na chyfrifer yn fai ynof, os bydd i mi eich adgoffa am un gyfran o'r genedl yn neillduol; y mae esiamplau y saint yn caniatâu i ni gymeryd gofal arbenig am ein cenedl ein hun, ein perthynasau yn ol y cnawd. Am Gymru yr wyf fi yn siarad; lle y mae ysfa annedwydd y rhan fwyaf o'r bobl, wrth redeg i eithafion, wedi afrwyddo lledaniad a chynnydd yr efengyl, pryd yr oedd genym sail dda i ddysgwyl pethau gwell. Y mae rhai eto yn zelog dros draddodiadau eu tadau, ac nid oes dim a'u boddlona ond yr hen ffordd o gael darllenwyr anfedrus ymhob plwyf. Y mae eraill drachefn, hwyrach oddiar zêl dda, wedi chwyrnwthio y bobl yn dreisiol tu hwnt i'w hegwyddorion, ac weithiau, fe allai, tu hwnt i'r gwirionedd; ac fel y dywed Jacob, wrth or-yru y defaid a'r ŵyn, bron wedi dinystrio yr holl ddeadell. Rhwng achwyniadau y naill ochr a'r llall,—rhwng zêl yn cael ei cham arwain, a ffurfioldeb—yr wyf yn ofni fod yr holl waith ymron cael ei ddymchwel

i'r llawr. * * Nid ydyw gwaith Sïon, fel y cyfryw, yn cael gofalu am dano ond yn brin gan neb. Bydded i'r Arglwydd daionus eich arwain at rywbeth er ei waredu, fel y bo i'r rhai sydd yn dduwiol gael eu calonogi, ac na bo i'r rhai sydd mewn anghen hyfforddiant gael eu hesgeuluso."

Rywbryd yn y flwyddyn 1646, cafodd Owen wahoddiad i ddyfod i weinidogaethu i Coggeshall, a symudodd yno. Yr oedd y lle hwn wedi ei freintio â gweinidogion efengylaidd o'r blaen, yr eglwys yn llewyrchus, a'r gynnulleidfa yn llïosog, ac yr oedd eu bywyd a'u harferion dillynaidd, a'u diwylliant meddyliol, yn gyfryw ag oedd yn ei foddio yn fawr. Yn ystod ei arosiad yn Coggeshall, aeth golygiadau Owen ar lywodraeth eglwysig drwy ryw fesur o gyfnewidiad. Cyn hyn coleddai y golygiadau Presbyteraidd, ond gogwyddai o hyny allan at Annibyniaeth. Gydag egwyddorion proffesedig Henaduriaeth ac Annibyniaeth, fel y deallir hwy yn awr gan yr eglwysi mawrion sydd dan y naill faner a'r llall, o flaen ein golwg, byddai yn anhawdd gwybod pa un ai Annibynwr ai Henaduriaethwr ydoedd o ran ei egwyddorion; yr ydym yn tybio y byddai yn haws penderfynu nad ydoedd yn hollol na'r naill na'r llall. Y mae yn ddigon eglur mai Presbyteriad y cyfrifai Owen ei hun cyn ei fynediad i Coggeshall, ac mai Annibynwr y galwai ei hun wedi hyny; ond gwyddom nad oes rhyw lawer o bwys i'w roddi ar *enw;* gadewch i ni gael adnábod y dyn sydd o dan yr enw. Y mae cael gwybod barn gŵr fel Dr. Owen ar lywodraeth eglwysig yn werth amser a llafur i'w chael. Dywed y Dr. ei hun yn yr ail bennod o'i "*Vindication of the Treatise on Schism,*" beth a'i harweiniodd i roddi ystyriaeth i'r pwnc, a pha fodd y bu iddo ymbellhâu oddiwrth Bresbyteriaeth. Y mae yn ysgrifenu mewn hunanamddiffyniad yn erbyn ymosodiad brwnt y Parch. Daniel Cawdrey, yr hwn yn ei draethawd, "*Independency a great Schism,*" a geisiai bardduo cymeriad Owen yn gystal a'i egwyddorion, gan ei gyhuddo o fod yn anwadal ei farn, ac o ŵyro oddiwrth wirionedd at gelwydd. Hynod mor dawel a diymdawr ydyw yr amddiffynydd wrth ateb ei wrthwynebwr; ond y mae felly yn gyru yr holl gyhuddiadau i ffoi fel tywyllwch o flaen yr haul. Pa gyfnewidiadau bynag allai fod wedi cymeryd lle yn ei olygiadau, neu pa beth bynag a dybid am ei waith yn gadael Presbyteriaeth, dywed i hyny gael ei ddwyn oddiamgylch trwy ei ymchwil gonest a chydwybodol i'r mater, a ffyddlondeb i arddel yr hyn a gredai oedd yn wirionedd. Ac yn wir, rhaid fod y dyn a ddrwgdybiai gydwybodolrwydd John Owen yn ddyn â'i galon yn llawnach na chyffredin o ddrwgdybiau; na, gogoniant penaf ei gymeriad ef ydoedd fod ynddo ddiniweidrwydd a didwylledd plentyn wrth chwilio am, a chofleidio, gwirionedd; ac unwaith wedi ei gredu, meddai nid yn unig gydwybod anhyblyg hyd angeu, ond hefyd dewrder dyn llawn o'r Ysbryd Glân i'w gyhoeddi.

Ni a gawn olygiadau Owen ar natur eglwys yn lled gyflawn yn ei draethawd ar "*The True Nature of a Gospel Church, and its Government;*" ac er mai un o gynnyrchion ei flynyddoedd olaf ydyw, hwyrach mai yn y fan yma y byddai yn fwyaf naturiol i ni ymgydnabyddu â'i olygiadau ar yr eglwys,—ei natur a'i llywodraeth. "Gellir adrych ar yr eglwys naill ai yn ei *natur,* ei *chyfansoddiad,* a'i *hanfod;* neu yn ei *gallu* a'i *threfn* ar ol iddi gael ei ffurfio. Gyda golwg ar ei natur a'i han-

fod, ei rhanau cyfansawdd ydyw ei *mater* a'i *ffurf*." Wrth "fater" yr eglwys yr ydym i ddeall "y personau o ba rai y mae yr eglwys yn gynnwysedig, ynghyd â'u cymhwysderau;" ac wrth ei "ffurf" y golygir, "rheswm, achos, a dull y math hwnw o berthynas sydd rhyngddynt ag sydd yn rhoddi iddynt fodolaeth fel eglwys, a chyda hyny, hawl i bob peth a berthyn i eglwys, megys rhagorfreintiau, gallu, awdurdod, &c." Rhaid fod y personau sydd i wneyd i fyny yr eglwys "yn gwneyd proffes gyhoeddus o'u hymostyngiad i awdurdod Crist yn yr efengyl, a'u parodrwydd i roddi ufudd-dod i'w holl orchymynion;" yn "meddu gwybodaeth briodol o athrawiaethau a dirgelwch yr efengyl, yn enwedig ynghylch person a swyddau Crist;" "ymostyngiad proffesedig i awdurdod Crist yn yr eglwys;" eu "bod yn ymwadu â hwy eu hunain, ac yn cario y groes;" "argyhoeddiad a chyfaddefiad o bechod, a golwg ar waredigaeth trwy Iesu Grist;" rhaid eu bod hefyd yn ymdrechu "cyflawni yn feunyddiol holl ddyledswyddau adnabyddus crefydd, ac yn ymwrthod â phob peth y gwyddys ei fod yn bechod." Dylai yr eglwys hefyd "gymeryd o dan ei harolygiaeth a'i rheolau gyfryw rai ag nad ydynt eto yn gymhwys i'w derbyn yn gyflawn aelodau, megys plant a gwasanaethyddion y rhai sydd yn aelodau cyflawn." Y modd y mae y cyfryw bersonau ag a ddesgrifiwyd yn dyfod yn eglwys, ac i feddiant o freintiau a gallu eglwysig ydyw, "trwy ymuno â'u gilydd mewn cyfammod difrifol i gyflawni yr holl ddyledswyddau a roddes yr Arglwydd Iesu i'w ddysgyblion, ac mewn trefn i arfer yr awdurdod y maent fel eglwys, yn ei dderbyn, yn ol rheol y Gair." Yn awr, y mae cymdeithas wedi ei ffurfio o'r cyfryw bersonau, i'r cyfryw ddyben—yr eglwys —yn meddu gallu priodol iddi ei hun, gallu a dderbyniodd yn ei ffurfiad oddiwrth yr Arglwydd Iesu; ac y mae y gallu hwnw bellach yn yr eglwys i'w ddefnyddio tuag at gyflawni ei dyledswyddau a'i hamcanion fel eglwys. Pa drefn neu swyddogaethau bynag a ddefnyddir tuag at adeiladaeth yr eglwys, a chyflawniad o'i holl rwymedigaethau, y mae y swyddogion yn derbyn eu hawdurdod o allu yr eglwys i'w galw, eu dewis, a'u gosod. Rheol neu lywodraeth yr eglwys, yn gyffredinol, ydyw, "gweinyddiad o allu neu awdurdod Iesu Grist, yr hyn a roddwyd i'r eglwys, yn ol y cyfreithiau a'r cyfarwyddiadau a roddwyd ganddo Ef ei hun, er ei hadeiladaeth." "Y mae y gallu yma, yn y lle cyntaf, neu yn wreiddiol *(actu primo)*, yn yr eglwys ei hun; yn yr ail le, neu yn weinyddol *(actu secundo)*, yn y rhai a alwyd yn neillduol i swyddau." Gallu ysbrydol ydyw y gallu hwn; gan hyny y "mae dwyn i mewn awdurdod ddynol, o ryw fath, i lywodraeth eglwys Crist, yn dinystrio ei natur, ac yn ei gwneuthur yn deyrnas o'r byd hwn, a rhywrai o'i dysgyblion, i fesur, yn debyg i frenhinoedd y cenedloedd." Eithr pa fodd y mae gallu eglwysig yn cael ei drosglwyddo i'r eglwys? Trwy fod pob credadyn, yn rhinwedd ei undeb â Christ, yn cael ei wneuthur yn blentyn i Dduw; Ioan i. 12. Fel y cyfryw y mae yn dyfod i hawl o holl freintiau yr eglwys, y mae ganddo hawl i'w defnyddio a'u mwynhâu yn ol y cyfarwyddiadau gosodedig; oblegid y mae gan yr hwn sydd yn blentyn i Dduw hawl yn holl freintiau a manteision teulu Duw, mor wirioneddol ag y mae yn rhwymedig i gyflawni dyledswyddau tŷ Dduw. "Y mae hyn yn gyfran o'r etifeddiaeth a bwrcaswyd gan Grist, i ba un y mae y credadyn yn derbyn hawl trwy fabwysiad." "Gan hyny y mae

y gynnysgaeth o bob gallu a rhagorfreintiau eglwysig yn cael eu rhoddi yn gyntaf i'r credinwyr, fel y cyfryw."

"Eto, nid ydyw y ffurf yna ar yr eglwys," sef cynifer o gredinwyr gyda eu gilydd, "yn berffaith, ac nid ydyw dybenion ei sefydliad yn gyrhaeddadwy yn y sefyllfa yna; oblegid y mae yr Arglwydd Crist wedi ordeinio y cyfryw bethau ynddi ac iddi nas gall yn yr ystâd yna eu cyflawni na'u mwynhâu." Y pethau sydd gan yr eglwys yn yr ystâd a nodwyd yn unig ydyw hawl a gallu; ni fêdd awdurdod; y mae ganddi hawl a gallu i gael pa beth bynag sydd yn eisieu tuag at weinyddu yr holl ordinhadau sydd wedi eu gosod; ond ni fêdd awdurdod i weinyddu yr ordinhadau hyny yn yr ystâd a nodwyd. "Y mae yr Arglwydd Crist wedi ordeinio swyddau, ac wedi penodi swyddogion i'w sefydlu yn yr eglwys," Eph. iv. 11—15. I'r rhai hyn, wedi eu galw a'u dewis gan yr eglwys, y mae yr awdurdod i weinyddu yn perthyn; "canys gweithred o allu swyddol ydyw pob awdurdod." Felly i'r eglwys fel casgliad o gredinwyr yn unig y mae Crist wedi rhoddi hawl a gallu i alw, ethol, a neillduo personau cymhwys at waith y swyddau a sefydlwyd ganddo Ef; ac nid oes un ffordd arall trwy ba un y gellir sefydlu swyddogion cyffredin yr eglwys. Eto, nid oddiwrth yr eglwys yn *unig* y mae yr alwad i swyddau cysegredig; y mae yn alwad uniongyrchol oddiwrth Grist. Yn y lle cyntaf, yr Arglwydd Iesu a ordeiniodd y *swyddau* eu hunain, ac a'u rhoddodd yn gynnysgaeth i'w eglwys, er ei hadeiladaeth; ac Efe hefyd a benodd ac a nododd derfynau gallu a dyledswyddau y swyddogion. "Felly y mae awdurdod swyddogion yr eglwys yn tarddu o awdurdod Crist; oblegid yr hwn sydd yn rhoddi bôd i rywbeth sydd hefyd yn rhoddi iddo ei ansoddau hanfodol." Yn yr ail le, Crist, fel ffynnonell gras a doniau yr eglwys, sydd yn codi ac yn cymhwyso dynion i lenwi y swyddau a ordeiniodd. Drachefn, i'r graddau y byddo eglwys o dan arweiniad Dwyfol wrth ddewis swyddogion, Efe sydd yn goruwchlywodraethu eu dewisiad; ac ymhellach, y mae wedi gorchymyn i'r holl eglwys gydnabod ac ymostwng i awdurdod y swyddogion yn ngweinyddiad eu swyddau. "Trwy y moddion yma y mae yr Arglwydd Crist yn trosglwyddo gallu swyddol *(office power)*, i'r rhai a elwir; trwy yr hyn y maent yn dyfod nid yn swyddogion dros ddynion, nac ychwaith yn weision i'r eglwysi, ond yn swyddogion a gweinidogion Crist ei hunan." Yn ngalwad a sefydliad swyddogion eglwysig, y mae gallu neu awdurdod newydd yn cael ei greu megys—y mae awdurdod yn dyfod i fôd nad oedd yn bôd o'r blaen. Nid rhoddi y mae (yr eglwys) i'r cyfryw swyddogion allu neu awdurdod oedd yn ffurfiol a gwirioneddol yn yr eglwys o'r blaen, trwy rinwedd appwyntiad a chyfraith Crist, fel y gallent dderbyn a defnyddio gallu yr eglwys fel dirprwywyr drosti; nid ydyw yr eglwys ond yn unig cynllunio, dewis, a neillduo personau, y rhai trwy hyny sydd yn derbyn gallu swyddol gan Grist ei hun."

Dyma i'r darllenydd ryw wibolwg, debyg i'r gipdrem a geir ar wlad ëang trwy ddellt yr *express train*, ar olygiadau Owen ar yr hyn a eilw yn "fater" a "ffurf" yr eglwys Gristionogol. A chan nad oes yn y fan hon ond *station* fechan, dim yn galw arnom i aros yn hir, na dim *refreshments* i'w cael pe bae rhywun yn galw am danynt, gadewch i ni gymeryd gwib eto i gael gweled beth sydd ganddo i'w ddangos am yr eglwys wedi ei chorffori yn gymdeithas gyflawn a pherffaith—beth am ei gallu, ei hawdurdod, a'i threfn, fel y cyfryw.

Nid ydyw cymdeithas o gredinwyr yn meddu y gallu a fu genym o dan sylw, yn eglwys berffaith a chyflawn, hyd nes iddi arfer y gallu hwnw i alw swyddogion i weinyddu yr ordinhadau gosodedig, ac i arfer awdurdod y swyddau a ordeiniwyd tuag at gyrhaedd dyben ac amcan eglwys i Grist. "Canys rheol a llywodraeth yr eglwys ydyw gweinyddiad o awdurdod Crist yn nwylaw y rhai yr ymddiriedwyd ef iddynt, y rhai hyny ydyw swyddogion yr eglwys." Y mae swyddogion yr eglwys yn ddau ddosbarth, sef henuriaid a diaconiaid. Phil. i. 1. Ac y mae eu gwaith yn cael ei ddosbarthu i "brophwydo a gwasanaethu," Rhuf. xii. 6, 7. "Y mae yr henuriaid yn ddau ddosbarth:—1. Y cyfryw ag sydd yn meddu awdurdod i *addysgu* a gweinyddu y sacramentau, ac hefyd i *lywodraethu;* ac, yn 2, Rhai nad ydynt yn meddu ond awdurdod i *lywodraethu* yn unig." Dadleua efe fod y dosbarth cyntaf yn cynnwys "bugeiliaid" ac "athrawón," ac mai nid yr un peth yn hollol a feddylir wrth y naill a'r llall. Felly, yn ol Owen, y mae tri math, neu dair gradd, o henuriaid i fod yn yr eglwys, sef "prophwydi" neu "fugeiliaid," "athrawon," a'r hyn a elwir yn gyffredin henuriaid llywodraethol. Nid ydyw y diaconiaid yn henuriaid, ac nid oes ganddynt awdurdod swyddol i ddysgu na llywodraethu yn yr eglwys. Nad ydyw yr esgob yn urdd uwchlaw yr "henuriad"—mai yr un urdd a olygir wrth y naill a'r llall sydd eglur; oblegid wrth ddesgrifio anhebgorion presbyteriaid neu henuriaid, dywed yr apostol y dylai esgob feddu y cyfryw: "Ac y gosodit *henuriaid* ymhob dinas, os yw neb yn ddiargyhoedd, yn ŵr un wraig, &c., canys rhaid i *esgob* fod yn ddiargyhoedd," Tit. i. 5—7. Rhaid mai yr un peth a olygai yr apostol wrth henuriad ac esgob, yn ol y geiriau yna. Pe dadleuai rhywun, "Os ydych yn gwneuthur *ynad heddwch,* rhaid iddo fod yn ŵr anmhleidgar a chyfiawn, oblegid rhaid i *frenin* fod yn gyfryw," cyfrifid ei fod yn rhesymu yn gloff iawn; eto dyna ydyw dadl y rhai a fynant fod esgob yn rhywbeth amgen na henadur. Barna Owen y dylai fod amryw henuriaid ymhob eglwys, yn enwedig os bydd yn eglwys gref a lliosog. Y swyddog cyntaf yn yr eglwys ydyw ei bugail, neu ei gweinidog; henuriad ydyw y bugail ag y mae yn perthyn iddo borthi ac arwain y praidd—dysgu a llywodraethu. Eithr cyn y gall neb fod yn fugail i eglwys, rhaid iddo yn gyntaf gael galwad ffurfiol gan yr holl eglwys i fod yn fugail iddi. Math arall o henuriaid ydyw yr "athrawon;"—"rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon," Eph. iv. 11. Gwaith y swyddog yma ydyw holwyddori a dysgu yn yr eglwys, yn enwedig dysgu y "rhai bach," a chydweithredu yn llywodraethiad yr eglwys. Y mae gwaith yr "athraw," fel yna, o'r un natur a gwaith y "bugail," ond ei fod yn îs mewn gradd. Y trydydd math o henuriaid ydyw yr hyn a elwir yn gyffredin "henuriaid llywodraethol;" rhai yn meddu llais fel y "bugail" a'r "athraw" yn llywodraethiad yr eglwys, ond heb fod *wrth eu swydd* i athrawiaethu a dysgu. Eu gwaith hwy, o'i wahaniaethu oddiwrth waith y lleill, ydyw "*edrych dros rodiad ac ymarweddiad aelodau yr eglwys, gydag awdurdod,* gan eu cynghori, eu dyddanu, eu cyfarwyddo, neu eu ceryddu, fel y byddo yr achos yn gofyn." (Yr "henuriad llywodraethol" hwn, gallwn feddwl, ydyw "blaenor" y Methodistiaid Calfinaidd, ond fod y "blaenor" hefyd yn "ddiacon.") Fod yr henuriaid llywodraethol hyn yn radd wahaniaethol oddiwrth y bugail a'r athraw, sydd eglur oddiwrth y geiriau hyn: "Cyfrifer yr henuriaid

sydd yn llywodraethu yn dda, yn deilwng o barch dauddyblyg, yn enwedig y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth;" lle y gwelir fod rhai yn llywodraethu yn unig, ac eraill, at hyny, yn "poeni yn y gair a'r athrawiaeth." Gwelir fod holl addysgiad a llywodraeth yr eglwys, yn ol Owen, yn nwylaw neu o dan arolygiaeth Presbyteriaid neu henuriaid.

Eto: yr oedd gofalu am y tlodion yn orchymyn penodol i'r eglwys wedi ei roddi gan Grist o'r dechreuad; yr oedd edrych ar fod y gorchymyn yma yn cael ei gyflawni yn effeithiol yn disgyn yn uniongyrchol ar yr apostolion; ond gan nas gallent hwy, heb gyfyngu ar eu rhwymedigaethau i bethau eraill, gyflawni yn bersonol y gorchwyl hwn; a chan eu bod yn gweled nas gallai henuriaid eglwysi mawrion a llïosog, o herwydd yr un rheswm, ymroddi i arolygu yn effeithiol achos y tlodion, darfu iddynt, gyda'r awdurdod Dwyfol oedd yn perthyn iddynt hwy, sefydlu neu ordeinio swyddogaeth newydd yn yr eglwys, sef y *ddiaconiaeth;* swydd a gwaith cwbl wahaniaethol oddiwrth eiddo y naill ddosbarth a'r llall o'r henuriaid. Gwaith arbenig y diaconiaid ydyw edrych a gofalu am dlodion yr eglwys. I'r eglwys yn unig y perthyn galw a dewis yr holl swyddogion hyn; ni fêdd na'r gweinidog, na'r henuriaid ynghyd, na chynnadledd na chymanfa, na neb arall, awdurdod i alw na dewis henadur na diacon i eglwys: ond wedi hyny, gwaith yr henaduriaeth ydyw derbyn a gosod y dewisedig yn ei swydd. Beth eto am yr undeb sydd i fod rhwng eglwysi a'u gilydd? "Dylai yr eglwysi ddal cymundeb â'u gilydd gyda golwg ar holl ddybenion eu sefydliad a'u trefn. Y mae dyben yr eglwys gyffredinol, yn ol trefn natur, i'w ystyried o flaen sefydliad eglwysi neillduol. Eithr yn sylfaen tegwch a chyfiawnder yn y cyfryw undeb, rhaid i bob eglwys, boed hi fechan neu fawr, wan neu gref, dlawd neu gyfoethog, gael ei chyfrif ar yr un tir o ran gallu ac awdurdod. Y mae yr undeb yma rhwng yr eglwysi i gael ei gadw yn fyw, nid trwy osod un dyn yn ben ac yn gynnrychiolydd holl eglwysi crêd, fel y gwneir yn Eglwys Rhufain drwy y Pab; ac nid trwy ranu yr eglwysi yn wahanol ddosbarthiadau, a gosod awdurdod dros ac arolygiaeth ar, bob dosbarth yn llaw un dyn, fel y gwneir yn Eglwys Loegr, drwy yr esgobion; ac nid ychwaith trwy fod unrhyw henaduriaeth hunan-etholedig yn meddu pob awdurdod dros yr eglwysi yn eu llaw eu hunain; eithr y mae yr undeb yma i gael ei ddwyn i weithrediad trwy i "gymanfa o eglwysi, yn eu cenadon neu eu cynnrychiolwyr gydgyfarfod i ystyried a phenderfynu y cyfryw bethau ag sydd yn perthyn yn gyffredinol i'r eglwysi." Ond nid ydyw gweithrediadau y gyfryw gymanfa i fod yn ddim amgen nag "annogaeth" neu "gynnorthwy." Mae llawer o bethau yn rhwym o godi nas gellir eu penderfynu ond mewn cynnadledd o gynnrychiolwyr gwahanol eglwysi. "Nid oes yr un eglwys, gan hyny, mor annibynol ag y gall bob amser, ymhob amgylchiad, gyflawni ei dyledswyddau tuag at yr Arglwydd Crist, a'r eglwys gatholig, trwy ymarferiad o'r holl alluoedd y gall eu defnyddio ynddi ei hun yn neillduol, heb gyduno gydag eraill. Ac y mae yr eglwys sydd yn cyfyngu ei holl gyflawniadau i weithrediadau ei chynnulleidfa ei hun, yn tòri ei hunan allan o gymundeb allanol â'r eglwys gatholig; ac ni byddai yn ddïogel i unrhyw ddyn ymddiried bugeiliad ei enaid i'r gyfryw eglwys." Dyben pob eglwys neillduol ydyw adeiladaeth yr eglwys gy-

ffredinol, er gogoniant i Dduw a Christ; ac y mae yn eglur, mewn llawer amgylchiad, nas gellir cyrhaedd y dyben hwnw ond trwy gyfarfyddiad gwahanol eglwysi yn eu cynnrychiolwyr. "Gall gwirionedd, heddwch, a chariad, gael eu colli mewn eglwysi; ac felly undeb yr eglwys gatholig gael ei golli ynddynt hwy, oddieithr i'r moddion yma gael ei ddefnyddio er eu cadw a'u hadferu. Ac y mae yr eglwys neillduol hono, yr hon nad ydyw yn estyn ei chyfraniadau tu hwnt i'w chynnulleidfa a'i haelodau ei hun, yn syrthio ymaith oddiwrth brif ddyben ei sefydliad; ac y mae pob egwyddor, tyb, neu duedd, sydd yn gogwyddo unrhyw eglwys i gyfyngu ei gofal a'i chyflawniadau tuag at ei hadeiladaeth ei hun yn unig, ie, neu hyd yn nôd at y rhai hyny yn unig sydd yn cyttuno â hi mewn rhyw ymarferiadau neillduol, gan ei gwneuthur yn ddiofal am bob moddion tuag at adeiladaeth yr eglwys gyffredinol, yn sismaticaidd." Creda y gall "cymanfa wedi ei galw yn enw Crist, trwy gydsyniad gwirfoddol y gwahanol eglwysi sydd yn dal perthynas â'r cymundeb, benderfynu a chyhoeddi beth yw meddwl yr Ysbryd Glân yn yr Ysgrythyrau; ac y gall orchymyn cyflawniad o bethau pwysig ac angenrheidiol, oblegid eu bod wedi eu dadguddio yn y Bibl;" ac ymhellach, "os rhybuddir, neu os ydyw yn wybyddus ar dystiolaeth gredadwy, fod rhyw eglwys wedi dwyn i mewn i'r addoliad Dwyfol unrhyw beth coelgrefyddol neu ofer; neu fod ei haelodau yn rhodio yn debyg i'r rhai a ddesgrifir gan yr Apostol Paul, Phil. iii. 18, 19, er dianrhydedd i'r efengyl a gorchymynion Crist, a'r eglwys ei hunan heb ymdrechu diwygio ei hun, dylai eglwysi eraill, y rhai sydd yn rhodio yn yr un cymundeb, yn rhinwedd eu dyddordeb cyffredinol yn ngogoniant Crist ac anrhydedd yr efengyl, wedi defnyddio rhyw foddion mwy anghyhoedd er ei hadferiad, fel yr egyr ffordd a chyflëusdra i'r henuriaid ymgynnull mewn cymanfa er ymgynghori, naill ai ynghylch rhyw foddion pellach er ceisio adferu y gyfryw eglwys, neu, ynte, i attal pob cymundeb â hi, os bydd yn parhâu yn ei ffyrdd drygionus."

Dyna amlinelliad brysiog, ond mor gywir ag y gallasem ei grynhoi i gylch bychan, o olygiadau Owen ar yr Eglwys Gristionogol, a'i ffurflywodraeth. Fe wêl y darllenydd, weithian, fod yr hyn a ddywedasom yn wirionedd, sef nad ydoedd Owen, o ran ei olygiadau, yn hollol na Henaduriaethwr na Chynnulleidfäwr. Os oes rhyw eglwys, o ran ei llywodraeth eglwysig, yn agosach na'u gilydd i'w olygiadau, eiddo y Methodistiaid Calfinaidd yn ddïau yw yr eglwys hono. O barth eu hathrawiaeth, y maent yn agosach fyth iddo. A pha ryfedd? Oblegid pwy, er wedi marw, a lefarai yn amlach, nac a ddadleuai gyda mwy o nerth argyhoeddiadol yn llyfrgelloedd Charles o'r Bala; Charles, Caerfyrddin; Jones o Ddinbych; Elias o Fôn; ac eraill o'r tadau Methodistaidd, na Dr. Owen? Pwy yn debycach o fod yn bwysicaf gŵr yn eu cynghorau, pan y ceisid casglu aelod at aelod, a dodi cymal wrth gymal, i wneuthur corff unedig a grymus o ffrwyth eu llafur a'u lludded ar hŷd a llêd y wlad, nag efe? Yn sicr, y mae dylanwad Owen ar grefydd Cymru wedi bod yn ddwfn ac yn ëang.

Ond yr ydym yn ymdroi. Y mae cryn bellder rhwng y golygiadau fu dan sylw ar lywodraeth eglwysig, â daliadau Presbyteriaid dyddiau Owen; ac yn ddiammheu yr oedd hyny yn un achos o'i ymbellhâd oddiwrthynt. Ond yr hyn a gafodd ddylanwad mwy fyth arno i wneuthur hyny, yn ddïau, ydoedd syniadau eithafol y Presbyteriaid ar Oddefiad a

Rhyddid Crefyddol. Er holl ragoriaethau yr Henaduriaid, rhaid dyweyd eu bod mor elyniaethus i berffaith ryddid crefyddol ag oedd eu herlidwyr a'u gorthrymwyr esgobaethol. Yn ebrwydd wedi eu dyrchafu i awdurdod, cawsant eu hud-ddenu gan y lledrith twyllodrus, Unffurfiaeth, nes dangos gormod o barodrwydd i wneyd defnydd o foddion treisiol i orfodi pawb i gydsyniad. Y gwirionedd am hyn ydyw, yr oedd un seren yn ffurfafen y gwirioneddau Dwyfol, a'i goleuni bendigedig heb gyrhaedd y ddaear eto; er ei bod yn yr un gyfundraeth a ser eraill oedd yn adnabyddus, ac er fod y ser hyny yn awgrymu fod y fath seren yn bod yn rhywle, eto nid oedd wedi ei darganfod. Yr oedd un ddeddf fyd-gydiol, heb yr hon yr ymollyngai pob peth i annhrefn, gan ymfwrw yn erbyn eu gilydd, a dirwasgu y naill y llall,—deddf sydd yn hanfodol i'r byd moesol,—heb ei gweled eto, oddieithr gan ryw ychydig o Newtoniaid, sef y ddeddf sydd yn rhoi rhyddid i bob crëadur rhesymol i ymddwyn tuag at ei Dduw a'i Farnwr yn ol fel y barna ac yr ewyllysia ef ei hun, heb fod yn gyfrifol, mewn un modd, i na brenin, na barnwr, nac unrhyw swyddog gwladol ar y ddaear. Ebe y duwiol a'r anfarwol Richard Baxter,—"*I abhor unlimited liberty or toleration for all;*" ac ebai un arall o'r cewri Puritanaidd,—"*Toleration will make the kingdom a chaos, a Babel, another Amsterdam, a Sodom, an Egypt, a Babylon.*" Mae yn rhyfedd meddwl hefyd, wrth ystyried gymaint ddyoddefodd y Puritaniaid o ddyddiau Elizabeth hyd y cyfnod sydd genym dan sylw, na buasent wedi gweled ffynnonell y drwg; ond er iddynt gael eu carcharu a'u llofruddio, lawer o honynt, ac eraill o herwydd eu duwioldeb a'u cydwybod i'r gwirionedd orfod ymguddio yn nhyllau ac ogofäu y mynyddoedd oddiar ffordd gwladweinwyr dienwaededig; er iddynt orfod gadael eu praidd ynghanol bleiddiaid, a ffoi yn grwydriaid erlidiedig i edrych am noddfa yn eithafoedd y ddaear rhag trais y gallu gwladol a fynai arglwyddiaethu ar eu cydwybodau; eto i gyd, ni ddaeth i'w meddwl mai gosodiad gŵyrdraws y gallu gwladol i deyrnasu ar yr eglwys oedd achos eu holl orthrymderau. Y mae yn eglur na ddeallasant hyny; oblegid cynifer o honynt ag a fordwyasant i'r America, ac a sefydlasant y Taleithiau cyntaf yn Lloegr Newydd, pan y cawsant berffaith ryddid i ffurfio eu deddfau gwladol a chrefyddol eu hunain, a sefydlasant fath o Dduw-lywodraeth—rhyw eilun o'r llywodraeth Foesenaidd—gan roddi gallu i'w swyddogion gwladol i gosbi pwy bynag a brofid yn heretic, serch y byddai yn ddeiliad ufudd a didramgwydd o'r llywodraeth wladol. Ni byddai raid ond ymgydnabyddu â hanes bywyd y Cymro ardderchog Roger Williams, i weled mor gamsyniol ydoedd y Puritaniaid mawrion yn eu golygiadau ar ryddid crefyddol. Iddo ef y perthyn yr anrhydedd o ddarganfod y gwirionedd pwysig dan sylw; efe oedd y cyntaf i beryglu ei fywyd trwy ddadleu drosto ger bron gwladlysoedd; ac iddo ef y perthyn yr enw o sefydlu y llywodraeth wladol gyntaf yn y byd yn cydnabod perffaith ryddid crefyddol y deiliaid. Yr athrawiaeth y dadleuodd efe drosti, ac y cysegrodd ei fywyd i'w sefydlu ydoedd,—*Y dylai awdurdodau gwladol gosbi troseddau gwladol; ond nad oes ganddynt un hawl i ymyryd â materion cydwybod, nac i gosbi opiniynau crefyddol.*" Wedi dyoddef llawer oddiwrth awdurdodau Boston a Massachusetts, y mae yn cefnu ar ei gyfeillion oll, ac yn gweithio ei ffordd i ganol yr anialwch, ac yno yn adeiladu tref Rhagluniaeth *(Providence)*, yr hon yn fuan a ddaeth yn brif ddinas

Rhode Island; a dyna y llywodraeth gyntaf erioed i gydnabod perffaith ryddid y bobl mewn pethau crefyddol.

"Oh, call it holy ground,
The soil where first he trod;
He left unstained what there he found,—
FREEDOM TO WORSHIP GOD."

Ond yn ol at Owen. Y mae yn anrhydedd iddo ei fod yn methu cydredeg â dynion a goleddent syniadau mor gaethiwus; profa hyn ei fod yn gweled ymhellach na nemawr yn ei oes; yr oedd ei lygaid eryraidd ef yn treiddio trwy y llèn ddu oedd yn cuddio goleuni adlonol y rhyddid gogoneddus oedd ar fyrder i ymdòri yn ddydd cànaid, a bedyddio y byd Protestanaidd â sirioldeb a bywiogrwydd na welwyd ei gyffelyb. Gellir gweled gymaint oedd Owen o flaen ei oes yn ei syniadau ar oddefiad a rhyddid oddiwrth y dyfyniadau canlynol. Tua'r flwyddyn 1646 yr oedd cryn gynhwrf yn y wlad ynghylch deisebu y Senedd i ffurfio deddf i attal ymbleidio, ac i gosbi cyfeiliornadau mewn athrawiaeth. "*Non-toleration*" oedd cri cyffredinol y Presbyteriaid ac eraill. Y mae Owen yn gwrthod cydweithredu â'i gyfeillion yn y cais yma; ac yn nghyswllt y bregeth gyntaf a lefarodd o flaen y Senedd, y mae yn cyhoeddi,— "*A Country Essay for the Practice of Church Government;*" yn yr hwn, heblaw rhoddi braslun o ffurf eglwys, y mae yn ymesgusodi dros beidio cydredeg â'r llïaws i ddeisebu y Senedd yn y mater a grybwyllwyd, ac yn dwyn ei resymau ymlaen dros oddefiad (*toleration*).

"Beth, ynte, ydych yn ei ddywedyd; a ydyw pob un i gael ei adael i wneuthur yr hyn a fyno? Dyna ydych yn ei olygu—meddwl neu gredu y peth a fyno, neu yr hyn y mae efe wedi ei berswadio sydd wirionedd. A ydyw pob math o ddynion ac opiniynau i gael eu goddef? Nid ydyw y pethau hyn i'w hateb mewn un gair; mae llawer peth i'w brofi, a llawer o syniadau i'w clirio a'u sefydlu, cyn y gellir rhoddi ateb penderfynol. Cymerwch hwy yn eu ehangder, a gallant wasanaethu pob plaid yn eu tro. Byddai penderfyniad nacâol cyffredinol yn dyfod i hyn— 'Ni ddylai y llïaws, gan y rhai y mae awdurdod wrth eu cefnau, oddef neb o syniadau gwahanol iddynt hwy, os barnant hwynt yn gyfeiliornus.' Yn awr, yn sicr o'm rhan i, pe buaswn i yn Yspaen neu Itali, yn frodor o un o'r lleoedd hyny, a phe buasai Duw yn gweled yn dda ddadguddio i mi yno y gwirioneddau a ddatguddiodd i mi yn Lloegr, yr ydwyf yn credu y dylasai y llywodraethau hyny fy ngoddef, er iddynt hwy gredu mai fi oedd yr heretic gwaethaf o dan y nefoedd; a pha gosbedigaeth bynag a roisent arnaf am fy mhroffes, y gofynid hyny oddiar eu dwylaw, oddieithr iddynt allu fy argyhoeddi i fod Duw yn caniatâu i ddynion ladd ei weision am broffesu yr efengyl, os byddant hwy yn credu eu bod yn gyfeiliornus, ac felly hefyd esgusodi yr Iuddewon am groeshoelio ei anwyl Fab o herwydd eu bod yn ei gyfrif yn dwyllwr. * * *

"Ond dywed rhywrai, ac y mae y rhai sydd yn erbyn goddefiad cyflawn yn ei ddywedyd,—Fod y rhai yr ydym yn eu gwrthwynebu yn hereticiaid a chyfeiliornwyr. Yr ydym ni ein hunain yn uniongred; ac nid oes un ddeddf naturiol, na dim yn yr Ysgrythyr, a'n tueddai i farnu yn dêg wneuthur ac ymddwyn tuag at bersonau uniongred megys tuag at hereticiaid, hudolwyr, a gauathrawon. Oblegid fod lladron yn cael eu

cosbi, a raid i ddynion gonest ofni y cosbir hwythau hefyd? Ond y mae lleidr yn lleidr yn yr holl fyd, ac yn ngolwg pawb, pa le bynag y byddo; mewn opiniynau nid ydyw felly.—Y mae yr hwn sydd i'w gosbi yn heretic.—Ond i bwy? yn marn pwy? yn ei farn ei hun? dim mwy nag ydym ni yn ein barn ninnau.—Ond y mae felly yn ngolwg y rhai sydd yn ei farnu.—Gwir. Cymerwch achos fel hyn, Fod Protestant i gael ei farnu gan Babydd, fel y cafodd miloedd o seintiau; onid ydyw yr heretic gwaethaf yn ngolwg ei farnwr? Y mae y pethau hyn yn troi mewn cylch; yr hyn ydym ni i ni ein hunain, hyny ydyw yntau iddo ei hun; yr hyn ydyw ef i ni, hyny ydym ninnau i eraill y rhai a allant fod yn farnwyr arnom. Ond modd bynag, dywed rhywun, yr ydym ni yn y gwirionedd, am hyny dylem gael myned yn rhydd. Yn awr, yn sicr, yr un twyll-ymresymiad ydyw hwn. Pwy sydd yn dyweyd ein bod yn y gwirionedd? eraill? nage, ni ein hunain. Pwy sydd yn dyweyd fod eraill (y rhai a gyfrifir felly) yn hereticiaid, neu yn gyfryw? hwy eu hunain? nage, eithr ni. * * Yn awr yr ydwyf yn camsynio os na bydd i'r egwyddor hon—y dylai y gweinidog gwladol gondemnio, mathru, a chosbi pob un a brofir yn gyfeiliornus, er mai yn y pethau lleiaf—yn y pen draw, mewn pethau o fwy o bwysigrwydd, wneuthur gwledydd crêd yn chwareufwrdd i lofruddion gwaedlyd, i ladd a charcharu o amgylch ogylch, nes daw y trechaf yn arglwydd ar bawb, ac efe ei hun i gael ei gyfrif o bawb yn meddu y rheol anffaeledig—pawb eraill yn ddim ond hereticiaid o herwydd eu bod wedi eu gorchfygu. Bu agos i mi ddyweyd y byddai angeu wrth ei fodd, pe cyttunem oll â'r fath egwyddor. Ond eto, y mae gwasgaru cyfeiliornadau yn sicr o fod yn ddinystr i eneidiau dynion.—Felly y mae llawer o bethau, y rhai er hyny na chosbir â marwolaeth. Bydded i'r hwn sydd yn barnu felly fyned a lladd y Paganiaid a'r Mohammedaniaid. Fel y cyfryw, y mae heresi yn gancr, ond un ysbrydol ydyw; bydded iddo gael ei lesteirio trwy foddion ysbrydol. Nid ydyw tòri penau dynion yn feddyginiaeth briodol rhagddo."

Nis gallwn fyned ymlaen efo dyfynu. Y mae syniadau clir ac addfed Owen ar ryddid crefyddol, yn enwedig pan gofiom yr oes yr oedd efe yn byw ynddi, yn anrhydedd i'w ben a'i galon. Cymerodd ddyddordeb mawr, ac ysgrifenodd lawer ar y pwnc yma; a dichon y cawn ddychwelyd at yr ysgrifeniadau hyny eto. Nid oedd yn rhyfedd, gan hyny, i un oedd yn coleddu y fath olygiadau ëang a rhyddfrydig adael Presbyteriaeth yn y wedd ymyrgar ac anoddefol oedd arni y pryd hwnw.

Y mae yn hysbys ddigon mor bell ymlaen oedd Cromwell yn ei olygiadau ar y pwnc o ryddid crefyddol; a gwyddys hefyd fod Cromwell yn hànu o fonedd Cymreig. Fel y dengys Dr. Romeo Elton, o America, yr oedd yn hànu o'r un gwehelyth a Roger Williams. Gyda y tri wŷr hyn, a'r hyn a wnaethant dros achos cysegredig rhyddid, y mae gan hen Wyllt Walia le i godi ei phen, a hawlio yr un anrhydedd o fod wedi gwneuthur rhan glodadwy i gynneu y fflam, yr hon, "trwy nerth Duw, nad ydyw byth i'w diffoddi!"

# O ADDA HYD MOSES.

Gelwir y cyfnod hwn ar oes y byd, yn ei berthynas âg eglwys Dduw, "yr oruchwyliaeth batrïarchaidd." Gelwir ef felly, yn un peth, ar gyfrif yr oedran mawr yr oedd dynion yn gyrhaedd y pryd hwnw; ond, yn benaf, am mai y ffurf batrïarchaidd oedd ar yr eglwys a'r wladwriaeth yn y cyfnod hwn. Tarddiad y gair yw πατηρ—tad, ac αρχη—llywodraeth. Yr oedd y penteulu, yn rhinwedd ei safle, yn brophwyd, offeiriad, a brenin i'w deulu. Y mae y cyfnod hwn o'r cwymp "hyd y ddeddf"—"o Adda hyd Moses," yn ymestyn dros yr yspaid maith o tua dwy fil a hanner o flynyddoedd.

Neillduolrwydd arbenig yr oruchwyliaeth hon ydoedd ei *symlrwydd*, neu ei hamddifadrwydd mawr o ddefodau, gosodiadau, ac ordeiniadau, tuag at gynnal a meithrin crefydd yn y byd, ac i fod yn rheolau buchedd ac ymarweddiad tuag at "lywodraethu cerddediad" dyn ar y ddaear; yr ydoedd yn fwy felly hyd yn nôd na goruchwyliaeth ysbrydol "y dyddiau diweddaf hyn." O herwydd hyn yr ydym yn gweled yr oruchwyliaeth batrïarchaidd yn fwy tebyg i'r oruchwyliaeth efengylaidd nag i'r Foesenaidd, yr hon yn uniongyrchol a'i dilynodd; crefydd yn fwy rhydd oddiwrth ddefodau, ac yn fwy ysbrydol o ran trefn addoliad, fel y gellid meddwl ei bod yn myned yn fwy yn ôl nag ymlaen pan drosglwyddwyd hi i ofal yr oruchwyliaeth Foesenaidd, neu "y ddeddf."

Gellid egluro hyn trwy edrych ar gynnydd yr eglwys yn y byd fel cynnydd dyn unigol. Am y rhan gyntaf o fywyd dyn, pan y mae yn faban, y mae yn rhy ieuanc i'w roddi dan ddeddf o gwbl. Y mae efe yn rhy ieuanc i dderbyn ac i ddeall unrhyw ddeddf yn y cyfnod yna; ddim ond natur syml sydd yn ei reoli a'i arwain. Y mae efe yn dysgu llawer iawn yn y cyfnod babanaidd yma, mwy, fe allai, nag mewn un cyfnod arall ar ei oes, yn yr un faint o amser; ond y mae yn dysgu trwy ddadblygu greddfau a theimladau natur yn fwy na thrwy unrhyw reol allanol a osodir arno. Mae rhyw gynnydd hefyd ar y cyfnod hwn, pan yr ydys yn rhoddi ychydig o fân reolau, gan ychwanegu "llin ar lin, gorchymyn ar orchymyn," fel y bydd y plentyn yn gallu eu derbyn. Ond, yn y man, y mae y plentyn yn cyrhaedd cyfnod ar ei fywyd pan y mae yn cael ei roddi yn gwbl dan ddeddf,—greddfau ei natur wedi eu dadblygu, a'u tynu allan i'r fath raddau, fel y mae yn angenrheidiol bellach eu *dysgyblu* a'u dwyn dan reolau; ac i'r dyben hwnw gosodir ef dan addysg deddf a rheol gyda phob peth. Ond, o'r cyfnod deddfol yna, y mae y plentyn yn cael ei symud ymlaen i gyfnod sydd i raddau mawr uwchlaw deddf, pan y mae yn dyfod i addfedrwydd oedran. Erbyn hyny y mae ei synwyrau a'i reswm wedi eu dadblygu a'u dysgyblu i raddau digonol i'w arwain a'i lywodraethu heb ei fod yn barhäus dan gaeth reolau gosodedig a sefydlog. Y mae bellach yn alluog i ymdeimlo âg egwyddorion sydd yn ddyfnach ac yn fanylach na phob rheol allanol. Fel yna y mae cynnydd dyn yn ei arwain drwy dri chyfnod arbenig;—*islaw* deddf yn ei fabandod, *dan* ddeddf yn ei ieuenctyd, ac *uwchlaw* deddf

mewn addfedrwydd oedran. Ac y mae mwy o debygrwydd rhwng y cyfnod cyntaf a'r trydydd—y baban a'r dyn—am ei fod yn y naill a'r llall yn gweithredu oddiar reddfau ac egwyddorion natur yn fwy nag oddiar reolau deddf; natur cyn addysg, a natur wedi ei pherffeithio trwy addysg.

Fel yna yn hollol yr ydym yn cael cynnydd yr eglwys. O dan yr oruchwyliaeth batrïarchaidd yr oedd hi megys yn faban, *islaw* deddf, yn rhy ieuanc i dderbyn "deddf gorchymynion mewn ordeiniadau;" greddfau crefyddol yr eglwys oedd yn ymdeimlo â phethau crefydd yn fwy na dim oedd yn cael ei ddysgu iddi trwy reolau gosodedig, er, mae yn wir, ein bod yn cael y naill ddeiod ar ol y llall yn cael eu hychwanegu fel yr oedd amser yn cerdded ymlaen.

Ond o dan oruchwyliaeth Moses, y mae yr eglwys yn dyfod i'r cyfnod hwnw pan y mae hi yn cael ei gosod "dan y ddeddf"—rheolau gosodedig i lywodraethu pob peth—"dan athraw"—yn yr ysgol bob dydd—"yn gaeth dan wyddorion y byd"—heb ddim rhagor rhwng y bachgen a'r gwas. Ond o dan oruchwyliaeth yr efengyl, pan y "danfonodd Duw ei Fab i'r byd," fe godwyd yr eglwys o sefyllfa *wasaidd* i ystâd *fabaidd*, fe'i "prynwyd o dan y ddeddf," a "derbyniodd y mabwysiad." Ie, "danfonodd Duw ysbryd ei Fab i'w chalon yn llefain, Abba, Dad." Daeth yr eglwys i addfedrwydd oedran, "fel nad yw mwyach dan athraw;" y mae bellach yn alluog i ymdeimlo âg egwyddorion sydd yn ddyfnach ac yn fanylach na phob rheol "cyfraith gorchymyn cnawdol," ac i gael ei harwain a'i llywodraethu i fesur mawr gan "nerth bywyd annherfynol" o'i mewn. Ac o'r fan yma y mae tebygrwydd yr oruchwyliaeth batrïarchaidd i'r un efengylaidd yn codi—y gyntaf *islaw* deddf, a'r olaf *uwchlaw* deddf; natur syml cyn addysg, a natur wedi ei pherffeithio trwy addysg. Yr oedd yr eglwys ar y cyntaf mor anghymwys i'r ddeddf ag i'r efengyl, ac ni buasai hi byth yn dyfod yn gymhwys i'r efengyl heb ei gosod yn gyntaf "dan y ddeddf." Yn yr ystâd gyntaf, fel y dywedwyd, yr oedd yr eglwys "o Adda hyd Moses" yn faban, yn dysgu llawer yn ddïau, ond yn dysgu trwy ddadblygiad greddfau a theimladau tumewnol yn fwy na thrwy ddysgybliad rheolau a gosodiadau allanol. Ac y mae yn ddïau mai dyna y modd y gallasai ddysgu mwyaf, a dysgu oreu, yn yr ystâd fabanaidd hono.

Ond eto, nid oedd yr eglwys yn yr adeg hon wedi ei gadael yn hollol amddifad o reolau ac ordinhadau yn addoliad a gwasanaeth Duw. Ni a gawn, beth bynag, ddau sefydliad yn y cyfnod boreuol hwn, sef y Sabbath, *penodol amser* addoli, ac aberthu, *priodol ddull* addoli. Yn awr, ni a geisiwn alw sylw y darllenydd at y ddau ar wahân.

1. *Y Sabbath*—penodol *amser* addoliad Duw. Y mae yn rhaid i ni ddyweyd wrth ddechreu fod y Sabbath boreuol yn destun dadl, yn enwedig yn y dyddiau presennol, pan y mae cynifer, nid yn unig o ddynion y byd, ond hefyd o aelodau a gweinidogion "Yr Eglwys," yn gwadu moesolrwydd y Sabbath Cristionogol. Ac mewn trefn i gadarnhâu eu pwnc, haerant mai peth Iuddewig, tros amser, ydyw Sabbath y Bibl; nad oedd yn bod *cyn* y ddeddf, ac felly nad ydyw yn bod *wedi* y ddeddf. Prin y mae yn angenrheidiol adgoffa i'r darllenydd, gyda llaw, fod y dosbarth yma yn gwadu moesolrwydd y "deng air," o ba rai y mae y gorchymyn am gadwraeth y Sabbath yn un, yr hyn sydd yn bur awgrymiadol gyda pha fath ddynion y mae a wnelom yn y mater hwn. Ond

meddyliem y rhaid fod dynion wedi eu mawr ddallu â rhagfarn, onidê hwy a welent fod y Sabbath yn bod *cyn* cyhoeddiad y ddeddf, fodd bynag, a dyna ein pwnc ni ar hyn o bryd. Yr oedd y Sabbath yn bod yn Eden, pan oedd dyn yn ei ystâd grëadigol; ac ymddengys mai Sabbath oedd y boreu cyntaf a wawriodd arno wedi ei grëu ar y chweched dydd—"y seithfed dydd."

Yr oedd nerth, nid gorchymyn Duw, tu cefn i'r gosodiad, ond ei esiampl. Ymddengys na chyhoeddwyd yr un o orchymynion y ddeddf foesol i Adda, ond fe'u plànwyd hwynt yn egwyddor yn ei galon. Ac yr oedd y Sabbath yno yn gorwedd mor naturiol, ac mor esmwyth, ag unrhyw un arall. Ond yr oedd yn angenrheidiol nodi allan pa un o'r saith oedd yn unol â meddwl Duw i fod yn ddydd gorphwys ac addoli. Hyn a wnaeth Duw trwy esiampl. Yr oedd cadwraeth y Sabbath yn foesol, a'i sail ar natur dyn fel y crëodd Duw hi, ond pa *ddydd* yn benarglwyddiaethol yn codi o ewyllys Duw. Y mae gwrthwynebwyr Sabbath boreuol yn dadleu ein bod i ddeall Gen. ii. 2—3 yn rhag-gyfeiriol at y Sabbath Iuddewig, yr hwn, meddant, a sefydlwyd yn yr anialwch. Fel hyn:—"Ac ar y seithfed dydd y gorphenodd Duw ei waith, yr hwn a wnaethai efe, ac a orphwysodd ar y seithfed dydd, oddiwrth ei holl waith, yr hwn a wnaethai efe. A Duw (ymhen amser wedi hyny, sef ar Sinai) a fendigodd y seithfed dydd, ac a'i sancteiddiodd ef; oblegid ynddo y gorphwysasai oddiwrth ei holl waith, yr hwn a grëasai Duw i'w wneuthur." Pwy heb ei ŵyrdroi gan ragfarn ddall a roddai y fath ystyr annaturiol i osodiad amlwg? Ond, hyd yn nôd pe byddai raid cymeryd yr ystyr chwithig yna, y mae digon o gyfeiriadau yn yr Ysgrythyrau boreuaf at y Sabbath, i ddangos ei fod "o Adda hyd Moses," mewn rhyw ffurf neu gilydd.

Y mae rhaniad amser yn wythnosau yn dal perthynas agos â'r Sabbath. Nid oes sail mewn natur i'r rhaniad hwn ar amser fel i'r rhaniad i fisoedd a blynyddoedd; ac eto cawn gyfeiriad at y rhaniad i wythnosau yn fynych yn Llyfr Genesis. Gwel pen. vii. 4, 10; viii. 10, 12. Ac yn amser Jacob, ni a gawn fod yr un rhaniad yn cael ei gadw. Pen. xxix. 27, 28. Yr ydym yn cael hefyd mor fore â hyn, fod y rhif saith yn rhif cysegredig, yr hyn yr ydym yn hollol ar goll o allu cyfrif am dano ond ar yr ystyriaeth o gysegredigrwydd y seithfed dydd. Yr oedd saith anifail glân gyda Noah yn yr arch. A pha reswm arall a ellir ei roddi dros fod holl genhedloedd y ddaear, fel rheol, yn cydnabod rhyw Sabbath, os nad yw hyny yn draddodiad o'r hen Sabbath cyntefig yn glŷnu yn eu natur, â'r hon y mae yn cyttuno yn berffaith o'i chrëadigaeth, ac o ganlyniad nid mor hawdd y gellir ei ysgwyd ymaith na'i ddilëu trwy dreiglad amser? Ymddengys fod hyn, fel rhai pethau eraill, yn un o'r hen arferion a ffurfiodd dynion yn blant ar aelwyd eu rhïeni—"ymhen eu ffordd," cyn eu gwasgaru dros y ddaear; "ac wedi eu heneiddio, nid ydynt yn ymadael â hi."

Ceisiwyd, yn ddiweddar, siglo y sail hon trwy haeru nad yw y syniad am Sabbath yn beth cyffredin ymysg cenhedloedd y ddaear. Ond, fel bob amser, y mae gwrthwynebiad yn crëu ymchwiliad, ac ymchwiliad bob amser yn fantais i'r gwirionedd; felly y mae yr ymchwiliad a wnaed i'r mater yma yn dangos nad oes ond ychydig eithriadau i brofi y rheol; a lle y mae y natur ddynol wedi ei darostwng i oferedd yn îs na'r cyffredin ydyw

hyny. Ond yn awr, wedi colli y rhesymau cyntaf, dadleuir fod y syniad am Sabbath, ac mewn cysylltiad â hyny am wythnos, sydd mor gyffredin ymhlith holl genhedloedd y ddaear, yn codi oddiar yr hen syniad mai saith yw rhif y planedau, a bod un diwrnod o'r wythnos yn perthyn i bob un o'r planedau; a chan mai y seithfed yw dydd yr haul, fod hyny yn rhoddi cyfrif am wythnos, ac am gysegredigrwydd y seithfed dydd hefyd. Y mae yn wir, am rai cenhedloedd, fod eu hwythnos yn dal cysylltiad â'u seryddiaeth; ond nid ydym yn cael hyny hyd amser diweddar, mewn cymhariaeth, pan aed i alw y Sabbath, dydd Sol, neu Sul, ar enw yr haul. Ond yn ol y gyfundrefn hon, y dydd cyntaf a ddylasai fod dydd *Sol*, ac nid y seithfed, am mai yr haul oedd y cyntaf yn eu cyfundrefn hwy o seryddiaeth; ac felly nid yw y dybiaeth hon yn rhoddi un math o gyfrif am gysegredigrwydd y rhif saith. Ond nid ydym yn cael yr awgrym leiaf fod dim o hyn yn bod yn amser Noah. Yn wir, nid awgrymir eu bod eto wedi talu dim sylw i seryddiaeth, er eu bod wedi gwneyd peth cynnydd mewn rhai o'r gwyddorau a'r celfau. A phe buasai eu hwythnos a'u Sabbath yn codi o'u seryddiaeth, ymhlith addolwyr yr haul y buasai hyny, ac nid ymysg addolwyr Duw, yr hwn a wnaeth y nefoedd a'r ddaear. Ac yn ol y dybiaeth hon, darfu i'r Arglwydd osod deddf y Sabbath ar ei bobl, yr hon oedd yn bod o'r blaen, ac wedi cael ei bod yn hauladdoliad y Paganiaid. Na, y mae pob syniad priodol am Dduw yn peri i ni gilio oddiwrth y golygiad hwn gyda dirmyg.

A phan y deuwn at Sinai, i wrando y ddeddf yn cael ei chyhoeddi, y mae y Sabbath yn cael ei orchymyn, nid fel peth newydd a dyeithr, ond fel peth oedd yn bod o'r blaen, ag yr oedd y genedl, i fesur, beth bynag, yn hysbys o hòno—"*Cofia* y dydd Sabbath, &c." Ac mewn cysondeb â hyny, yr ydym yn cael fod meibion Israel, *cyn* cyhoeddiad y ddeddf ar Sinai, yn talu sylw i'r Sabbath. Yn Exod. xvi, yr ydym yn cael hanes y genedl yn dyfod i anialwch Sin, lle y rhoddwyd y manna iddynt am y tro cyntaf. Yr oedd y bobl yn casglu o'r manna "ddogn dydd yn ei ddydd,"—"pob un yn ol ei fwyta, sef omer i bob un," a'r peth a weddillid o hòno hyd y bore a fagai bryfed, ac a ddrewai. Ond ar y chweched dydd, disgynodd dau cymaint o hòno, ac felly y mae y bobl, cyn i Moses eu dysgu i hyny, yn casglu "dau cymaint." A phan hysbyswyd hyny i Moses gan benaethiaid y gynnulleidfa, dywedai yntau fod y bobl yn gwneyd yn iawn, am fod drannoeth yn Sabbath sanctaidd i'r Arglwydd. "A'r bobl a wnaethant felly, a hwy a'i cadwasant hyd y bore, ac ni ddrewodd, ac nid oedd pryf ynddo." Eto, rhai o'r bobl a aethant allan y seithfed dydd, ond ni chawsant ddim. Ac o herwydd hyny y mae Duw yn ymliw â Moses am fod neb o'r bobl yn anmharchu y Sabbath trwy fyned allan i chwilio am fanna ar y seithfed dydd; yr hyn sydd yn dangos fod y Sabbath yn hysbys iddynt cyn cyhoeddiad y ddeddf. Felly, pan oedd y ddeddf yn cael ei chyhoeddi, y mae y Sabbath yn cael ei grybwyll fel gosodiad oedd yn bod o'r blaen; ac y mae geiriad y gorchymyn yn olrhain y gosodiad i'w sefydliad gwreiddiol, trwy esiampl Duw, pan "orphenodd y nefoedd a'r ddaear."—"O herwydd mewn chwe' diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaear—ac a orphwysodd y seithfed dydd, *am hyny* y bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabbath, ac a'i sancteiddiodd ef." Y mae yn naturiol i ni feddwl

y gallasai y Sabbath patrïarchaidd fod wedi myned yn isel yn eu plith, tra yn aros yn "nhŷ y caethiwed," a'u bod, i fesur mawr, wedi colli eu golwg ar gysegredigrwydd y dydd; ac o herwydd hyny, fe ddywedir yn Nehem. ix. 14, pan sonir am ddygiad y genedl at Sinai, "A'th Sabbath sanctaidd a *hysbysaist* iddynt." Ond mae yn amlwg, yn wyneb y pethau a nodwyd, nad meddwl y geiriau ydyw mai y pryd hwnw yr *hysbyswyd* ef gyntaf erioed iddynt, ond iddo y pryd hwnw gael ei godi i fwy o sylw, bri, a pharchusrwydd, pan gyhoeddwyd ef o "ganol tân" ar Sinai. Nid yn unig codwyd ef yn uwch nag ydoedd ymysg y genedl yn yr Aipht, ond hefyd yn uwch nag y bu erioed o'r blaen yn ystod y cyfnod patrïarchaidd, pan y cyhoeddwyd ef o enau Duw oddiar y mynydd, ac yr ysgrifenwyd ef â bys Duw ar y llechau.

Fel hyn gellir dyweyd fod y Sabbath yn y byd "hyd y ddeddf," a'i fod yn cael ei "gyfrif" hefyd am ei fod wedi ei osod trwy esiampl Duw i'n cynrïeni. Ac y mae hyny yn myned ymhell i brofi ei fod i aros wedi i gyfammod Sinai fyned yn hen, ac yn oedranus, a diflanu.

Ond er fod y Sabbath yn bod yr adeg hon, "o Adda hyd Moses," nid ydoedd ddim ond sefydliad noeth, heb reolau yn perthyn iddo, na cheryddon na chosbau gosodedig am ei droseddu, fel ag a geir mewn amser diweddarach, pan y dangoswyd ei le yn y "deng air deddf." Yr oedd yn cael llawer o barch, er hyny, yn ddïau, gan y gwir dduwiolion ar gyfrif ei sefydliad Dwyfol, ac ar gyfrif y fantais fawr oedd yn ei fforddio iddynt hwythau i orphwys oddiwrth eu negesëuon bydol, i ddal cymdeithas â Duw, a'i addoli, yn bersonol ac yn deuluaidd. Yr oedd rheswm yn ddigonol i'w harwain i weled, os oedd Sabbath yn angenrheidiol yn Eden Ardd, ei fod yn llawn mor angenrheidiol wedi i ddyn gael ei droi i'r anialwch—ei ddedfrydu i fwyta ei fara "trwy chwys ei wyneb"—iddo gael un dydd o saith i orphwys oddiwrth ei lafur blin, ac i gael hamdden i ddal cymundeb â Duw ei Wneuthurwr.

2. *Aberthu*—prïodol *ddull* addoli. Yr oedd y ddefod o aberthu hefyd yn bod o "Adda hyd Moses." Y mae graddau o dywyllwch ar, a llawer o ddadleu am, ddechreuad y ddefod hon; ond mae ei *bod* yn rhy amlwg i'w wadu. Cawn Abel yn aberthu, a Duw yn "dwyn tystiolaeth i'w roddion ef," Gen. iv. 10; Heb. xi. 4. Cawn Noah yn aberthu, "a'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth" ar ei aberth ef, Gen. viii. 21. Cawn Abraham hefyd yn codi allor i aberthu ymhob lle y sefydlai ei babell ynddo, yn ei holl symudiadau. Ac mewn cysylltiad âg ef, cawn fod yr Arglwydd, nid yn unig yn cymeradwyo, ond yn gorchymyn aberthu. "Ac efe (Duw) a ddywedodd wrtho, Cymer i mi anner dair blwydd, a gafr dair blwydd, a hwrdd tair blwydd, &c.," Gen. xv. 9. Cawn yr un peth hefyd gyda Jacob,—"Cyfod, esgyn i Bethel,—a gwna yno allor i Dduw," Gen. xxxv. 1. Yn ystod y cyfnod yma y golygir fod Job yn oesi; a chawn ei fod yntau yn arfer aberthu, pen. i. Y mae Duw hefyd yn gorchymyn i gyfeillion Job ddwyn "saith o fustych, a saith o hyrddod," at Job, mewn trefn iddo aberthu drostynt. Ond y mae tywyllwch yn aros ar ddechreuad y ddefod—"pa un ai o'r nef ai o ddynion" y mae o ran ei tharddiad. Y mae dynion, ar y cwestiwn hwn, fel yr Iuddewon, pan ofynwyd yr un cwestiwn iddynt o berthynas i "fedydd Ioan," cyn rhoddi eu hatebiad, yn gorfod edrych o'u hamgylch pa fodd y mae yr ateb a roddir yn debyg o effeithio ar eu golyg-

iadau blaenorol; am natur dadguddiad—am ddyben aberthu—ac am natur yr aberth mawr, o'r hwn y golygir fod yr holl aberthau yn gysgod. Y mae y rhai sydd yn gwadu natur wrthddrychol dadguddiad, yn haeru fod pob amlygiad o feddwl Duw i ddyn am bethau crefydd yn beth a gynnyrchir yn dumewnol yn ei feddwl; ac y mae y rhai sydd yn dal allan nad oes dim o'r elfen ddyhuddol yn cael ei harddangos yn yr aberthau—dim yn Nuw o'i ran ei hun yn galw am iawn mewn trefn i faddeu—mai cariad yw Duw—ac mai o galon gyndyn, a chydwybod euog pechadur, yn unig y mae yr angenrheidrwydd am iawn yn codi—y mae y dosbarth hwn yn ateb, "O ddynion." Ond y mae dosbarth arall sydd yn dal allan yr angenrheidrwydd am ddadguddiad gwrthddrychol o feddwl Duw i ddyn am bethau crefydd, ac hefyd fod yr angenrheidrwydd am iawn yn codi o gyfiawnder natur Duw, ac felly fod yr elfen ddyhuddol yn cael ei chysgodi yn yr aberthau,—y mae y dosbarth hwn yn ateb, "O'r nef." Ceir syniadau y blaid gyntaf wedi eu crynhoi yn y brawddegau canlynol:—Nad oedd yr aberth yn ddim ond cyfaddefiad darluniadol o ddrwg-haeddiant yr aberthwr, dangosiad o awydd yr aberthwr i wneyd iawn, pe gallai, am ei holl ddiffygion; arwyddlun o'i ddymuniad i ymgyflwyno yn hollol i wasanaeth Duw; cyflwyniad rhôdd i Dduw, oddiar deimlad diolchgar o'i rwymedigaethau iddo; nid oedd yr aberth yn ddim ond iaith mwy bywiog nag a allasai yr aberthwr ddefnyddio mewn geiriau i osod allan syniadau ei feddwl, a theimladau ei galon, ger bron Duw, ïe, i dlodi yr *iaith gyntefig* o ymadroddion i amlygu teimladau dyfnaf y galon yr ydym i briodoli tarddiad y ddefod. Y mae hyn oll yn dal allan ddynol-darddiad yr aberthau; a dywedir nad oes dim yn y pethau hyn yn anghyson â chymeradwyaeth Duw y cariad o ymdrechion ei grëadur darostyngol i ddyfod i fyny i'w heddwch a'i ffafr.

Y mae golygiadau y rhai sydd yn dal dwyfol-darddiad yr aberthau, yn cael eu cynnwys yn gryno yn y tri pheth canlynol:—

1. Y mae yn hollol groes i drefn arferol Duw iddo adael ei eglwys heb gyfarwyddyd am y dull a'r modd y mynai Efe gael ei addoli. Ni adawodd mo honi felly mewn un cyfnod arall yn ei hanes. Yr oedd holl ordinhadau yr eglwys Iuddewig wedi eu sefydlu yn ol ei gyfarwyddyd Ef. Ac felly y mae holl ordinhadau yr eglwys Gristionogol hefyd; a chondemnir pob peth nad ydyw felly, fel "ewyllys grefydd." Ac ni fu yr eglwys erioed, mewn un cyfnod ar ei hanes, mewn cymaint o angen am gyfarwyddyd Dwyfol a'r cyfnod hwn. Er nad yw yn anghyson i Dduw, o herwydd babanrwydd ei eglwys, ei gadael heb reolau manwl a chaeth ar y mater, y mae yn anghyson â'r arferiad cyffredin iddo ei gadael, dan y fath amgylchiadau, heb un cyfarwyddyd "â pha beth i ymddangos ger ei fron."

2. Yr oedd yr aberthau cyntefig oll yn aberthau gwaedlyd. Gwrthododd Duw offrwm Cain am nad ydoedd felly, dim ond "ffrwyth y ddaear:" ac y mae yn annaturiol i ni feddwl y buasai pechadur dan deimlad o'i euogrwydd, o hono ei hun, byth yn meiddio cynnyg bywyd crëadur diniwed yn aberth dros ei anwiredd. Ni ddarfu i ddyn feiddio lladd crëaduriaid direswm yn ymborth nes cael caniatâd gan Dduw; llawer llai, dybygid, y buasai yn meiddio cynnyg bywyd crëadur direswm yn aberth dros bechod heb ganiatâd Dwyfol. Gallai fod greddf grefyddol natur, mewn cysylltiad âg euogrwydd cydwybod, yn ddigon i arwain dyn i weled fod *marw* yn

angenrheidiol, os oedd aberth i fod o gwbl, yn enwedig mewn cysylltiad â'r bygythiad, "Gan farw ti a fyddi farw." Ond y mae cydwybod euog, wedi ei gwir oleuo, bob amser am syrthio arni ei hun—nid oes tuedd ynddi i chwilio am arall—mae hi yn "meddiannu ei hanwiredd." Ni fuasai dyn yn yr ystâd yma chwaith byth yn meddwl fod dim teilyngdod yn marwolaeth crëadur direswm i fod yn aberth dyhuddol dros bechod, am nas gallasai byth ddarganfod yr elfen gysgodol heb ryw gyfarwyddyd oddiuchod. Y mae yn beth anmhosibl ei gredu y buasai dyn, o'i ran ei hun, byth yn taro ar y dull hwn o ymddangos ger bron Duw.

3. Y mae yr hanes cyntaf oll sydd genym am aberthu yn cadarnhâu y dybiaeth am Ddwyfol darddiad y ddefod. Yn yr hanes hwnw, yr ydym yn cael crybwylliad am ddau fath o offrwm, un yn dderbyniol a'r llall yn wrthodedig. "Ar Arglwydd a edrychodd ar Abel ac ar ei offrwm; ond nid edrychodd ar Cain nac ar ei offrwm ef." Yr oeddynt yn wahanol o ran eu defnydd, y naill o "flaen-ffrwyth y defaid," a'r llall o "ffrwyth y ddaear." Ac fe ddywed yr Apostol mai "trwy ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth *rhagorach* na Chain." Yn awr y mae "ffydd" yn golygu fod ganddynt ryw dystiolaeth neu ddadguddiad ar y mater,—"ffydd sydd yn dyfod trwy glywed a chlywed trwy air Duw," a bod Abel wedi credu y dystiolaeth, a rhoddi ufudd-dod i'r gosodiad dadguddiedig, ond fod Cain wedi diystyru y dystiolaeth ac anufuddhâu i'r gosodiad. Oblegid nis gellir deall wrth "ffydd Abel" ei fod, yn ngrym rhyw reddf grefyddol dumewnol, wedi ei ddwyn i deimlo drwghaeddiant pechod, ac hefyd wedi ei godi i gael cipolwg ar "Oen Duw," a'i fod trwy hyny wedi dwyn "offrwm" oedd yn arddangos y naill ac yn cysgodi y llall, a hyny heb un dadguddiad allanol. Pe rhyw "ymbalfalu" o'r fath yna am "ryngu bodd Duw" fuasai y ffydd hono heb yr hon y mae yn "anmhosibl rhyngu ei fodd Ef," yr ydym yn credu y buasai Duw yn "edrych" ar offrwm Cain yn gystal a'r "eiddo Abel." Ond os golygu fod ganddynt ryw fath o gyfarwyddyd Dwyfol wedi ei roddi mewn gosodiad allanol, yna yr oedd yno le i ufudd-dod y naill, ac anufudd-dod y llall, ddyfod i'r golwg.

Fel hyn yr ydym yn gweled fod rhesymau y dosbarth olaf yn gryfach ynddynt eu hunain, ac hefyd yn gysonach â hanes yr eglwys, â natur dadguddiad, ac âg athrawiaeth yr efengyl, na'r eiddo y cyntaf.

Ond er ein bod yn cael ein harwain gan nerth y rhesymau hyn i gredu y ffaith o Ddwyfol darddiad aberthu, y mae y *pa fodd* yn aros eto yn y tywyllwch,—*pa fodd* ei sefydlwyd gan Dduw. Nid oes ond dwy ffordd i Dduw i roddi dadguddiad gwrthddrychol i ddyn ar unrhyw fater. 1. Trwy orchymyn, o'r hyn, yn yr amgylchiad yma, nid oes genym unrhyw gofnodiad; o ganlyniad y mae yn annhebyg mai felly yr amlygwyd meddwl Duw am aberthu. 2. Trwy esiampl. Yr oedd yn fwy naturiol i Dduw roddi esiampl na gorchymyn i'w eglwys yn yr ystâd fabanaidd yr oedd ynddi ar y pryd. Y mae esiampl yn fwy effeithiol gyda y plentyn na gorchymyn, hyd nes y delo i oedran penodol, pan y mae yn dyfod i allu deall yr hyn a orchymynir; ac felly gyda yr eglwys. Ac fel y gwelsom, trwy esiampl y sefydlodd Duw y Sabbath, amser addoli; ac y mae yn dra thebygol mai yr un modd y sefydlodd efe yr aberth, y dull o addoli. A pha beth oedd y drafodaeth a fu

rhwng Duw â'n cynrïeni ar ol cyhoeddi yr addewid ond hyn: "A'r Arglwydd Dduw a wnaeth i Adda ac i'w wraig beisiau crwyn, ac a'u gwisgodd am danynt hwy." Gallem feddwl, yn sicr, ein bod yma wedi dyfod o hyd i'r *pa fodd* yn gystal a'r *pa bryd* y sefydlwyd y ddefod o aberthu gan Dduw. Y mae y ffaith hon a gofnodir gan Moses yn sylfaen ddigonol i adeiladu addoliad aberthol y patriarchiaid arni. Yr oedd Adda ac Efa wedi dyfod i ddeall eu bod yn noethion—yr oedd eu teimlad o'u noethder yn codi oddiar eu heuogrwydd, yr oedd arnynt gywilydd. Nid oedd arnynt angen gwisg o ran clydwch, harddwch, na gweddeidd-dra; ond yn unig o ran cywilydd ac euogrwydd. Yr oeddynt hwy wedi ymwisgo yn y pethau oedd yn tyfu o'r ddaear; hwy a "wnïasant ddail y ffigysbren, ac a wnaethant iddynt arffedogau." Ond noethion y teimlent eu bod wedi hyny, pan ddaeth Duw i'r golwg: "Dy lais a glywais yn yr ardd, a mi a ofnais, oblegid *noeth oeddwn*, ac a ymguddiais." Ond wedi rhoddi yr addewid iddynt, rhoddodd Duw awgrym arwyddluniol o *drefn y waredigaeth* trwy roddi crëaduriaid diniwed i farwolaeth, a gwisgo eu crwyn am danynt hwythau. Nis gallasai yr addewid syml a roddwyd i ddyn ar ol ei gwymp fod yn ddigonol, ynddi ei hun, i foddloni y deall a'r gydwybod, heb fod aberth mewn cysylltiad â hi. Ac ni fuasai y "peisiau crwyn" yn fwy effeithiol i guddio eu noethder na'r "arffedogau dail," ond fel yr oedd rhyw berthynas rhyngddynt âg aberth, a'r aberth hwnw yn arddangosiad i'w meddwl o *drefn* Duw i gyfiawnhâu yr euog. Yr addewid oedd yn dadguddio y *ffaith*, ac yr oedd yr aberth yn awgrymu y *drefn*. Nid oedd dail y ffigysbren yn ddigon effeithiol i guddio eu noethder; ond wedi cael y peisiau crwyn am danynt, nid ydym yn cael eu bod byth mwyach yn ffoi o ŵydd yr Arglwydd. Ac o ba le, oddieithr o'r fan yma, y daeth cyfiawnhâd i gael ei olygu fel *gwisg?* Y mae y ffugyr yn dra phrïodol ar amryw ystyriaethau; ond oddiyma, dybygem, y derbyniodd ei arwyddocâd, ac y cafodd ei ddechreuad. Ond, er ein bod yn cael aberthau yn y cyfnod hwn, nid ydym yn cael fod dim rheolau yn perthyn iddynt—dim trefniad arnynt gan Dduw. Tybir er hyny fod y poethoffrwm a'r aberth-hedd mewn arferiad yn y cyfnod patrïarchaidd. Y ddau hyn a ddefnyddid yn nghysegriad cyntaf y genedl, cyn sefydliad cyfraith yr aberthau; a thybir wrth hyny eu bod mewn arferiad yn y cyfnod blaenorol. Ond nis gallasai yr aberth-hedd—yr hwn oedd yn cynnwys gwledd i'r aberthwr—fod hyd ar ol y diluw, gan mai y pryd hwnw y caed caniatâd i fwyta cîg gyntaf. Eto nid ydym yn cael unrhyw sefydliad ffurfiol arno y pryd hwnw, fel aberth; ond tebygol fod pob crëadur a leddid gyda golwg ar fwyta ei gîg yn cael ei ystyried yn hedd-aberth. Ac o herwydd hyny rhoddwyd rhybudd pendant i beidio bwyta y gwaed, ond ei dywallt ar y ddaear ger bron Duw, fel gwaed yr aberth. Yr oedd hyn yn rhoddi gwedd grefyddol ar ladd y crëaduriaid, ac yn eu cadw rhag myned yn ddibris o'r bywyd anifeilaidd, a thrwy hyny "dywallt gwaed dyn." Fel hyn, gyda graddau mawr o debygrwydd, tybir mai y poethoffrwm—yr hwn a losgid yn gyfan—oedd mewn arferiad o Adda hyd Noah, a'r poethoffrwm a'r aberth-hedd, gyda'u gilydd, o Noah hyd Moses. Wedi cyhoeddiad y ddeddf foesol y daeth yr angenrheidrwydd am yr "Aberth dros bechod" i gael ei deimlo.

**Y mae y cyfnod hirfaith hwn, "O Adda hyd Moses," yn ymranu yn**

naturiol i dri chyfnod arbenig. O Adda hyd Noah, o Noah hyd Abraham, ac o Abraham hyd Moses. Y mae pob un o'r cyfnodau hyn yn dechreu gyda rhyw drafodaeth neillduol rhwng Duw â'r byd, yn mhersonau y tri dyn a enwyd, pa rai oeddynt mewn ystyr bwysig yn gynnrychiolwyr eu cyfnodau priod. A'r drafodaeth hono oedd yn rhoddi ffurf i amgylchiadau y cyfnod hwnw, yn naturiol a chrefyddol. Ar y cyfrif hwnw gellir galw y trafodaethau hyn yn dri chyfammod, wedi eu "lluniaethu" gan Dduw, a'u dadguddio i Adda, Noah, ac Abraham, fel cynnrychiolwyr y gwahanol gyfnodau. Ac yn wir, y mae dau o'r tri yn cael eu galw yn gyfammodau yn y Bibl, sef y drafodaeth â Noah, a'r drafodaeth âg Abraham. Ac nid oes dim yn anmhriodol mewn galw y drafodaeth âg Adda felly, ond yn unig nad yw wedi ei gadarnhâu âg unrhyw "arwydd" neu "insel;" a dichon mai dyna paham nad yw y Bibl yn galw y drafodaeth hono yn gyfammod.

A barnu ymlaen llaw, gallem ddysgwyl fod perthynas a chysylltiad rhwng y tri chyfammod yma â'u gilydd, a hyny ar gyfrif unoliaeth y dadguddiad a geir yn y Bibl o feddwl a threfn Duw. Ac eto, nid yw mor hawdd canfod beth yw y berthynas hono—pa egwyddorion arbenig a ddadblygir, ac a ddygir fwyfwy i'r golwg yn y trafodaethau hyn. Ar ol pob ymchwil a allasom wneyd i'r pwnc, tueddir ni i feddwl fod yr agoriad iddo i'w gael mewn dwy egwyddor wahanredol, ond cyfochrog a pherthynasol, sef *etifeddiaeth* a *hâd*. Ceisiwn, bellach, arwain y darllenydd i gymeryd bỳr olwg ar y pwnc trwy gyfrwng yr agoriad hwn.

1. *Y drafodaeth âg Adda.* Mae y darllenydd yn cofio mai y drafodaeth rhwng Duw âg Adda *ar ol y cwymp* a feddylir, yr hyn a elwir weithiau yn fỳr ac yn gynnwysfawr, "Yr Addewid foreu." Yma yr ydym yn cyfarfod â dyn yn adyn truenus, wedi tòri y "cyfammod gweithredoedd," a thrwy hyny wedi tỳnu arno ei hun a'i hîl euogrwydd, cywilydd, a melldith, yn ceisio ymdrwsio mewn gwisg o'i ddyfais ei hun, ond yn ngwyneb yr arwyddion tyneraf o bresennoldeb Duw, yn dyfod gydag "awel y dydd," yn ffoi, ac yn ceisio ymguddio ymysg prenau yr ardd, fel nad ymddangoso "gwarth ei noethder." Y mae y Goruchaf yn galw sylw Adda ato ei hun, ei gyflwr, a'i sefyllfa. "*Adda, pa le yr wyt ti?*" Yr oedd yma *awgrym* o ddaioni Duw yn galw arno o gwbl; eto, yr oedd yr alwad yn ei ddwyn i olwg ei gyflwr truenus ac andwyol, yn galw ei bechod i'w gof, a'i euogrwydd i'w ymwybyddiaeth, yr hyn oedd wir angenrheidiol i'w gymhwyso i ddeall, i dderbyn, ac i werthfawrogi y drafodaeth oedd i ganlyn. Wedi galw Adda ger bron, ceisiodd daflu y bai ar y wraig; ac wedi galw y wraig ymlaen, taflodd hithau ef ar y sarph. Ond y mae Duw yn myned ymlaen i ddangos fod Adda ac Efa, a'r sarph, yn euog, a'u bod oll dan felldith.

Y mae y rhan drymaf o'r felldith ar y sarph. Am y sarph naturiol a ddefnyddiodd yr "Hen Sarph" yn offeryn yn y temtiad, am ei bod yn "gyfrwysach na holl fwystfilod y maes," yr oedd y crëadur hwn o hyny allan yn "felldigedicach na'r holl anifeiliaid, ac na holl fwystfilod y maes." Dichon fod y crëadur hwn o'r blaen yn cerdded yn syth, yn yr agwedd debycaf i ddyn, brenin y crëaduriaid; ond trwy y felldith hon, fe'i darostyngwyd i gerdded "ar ei dòr," ac i fwyta pridd y ddaear holl ddyddiau ei einioes. Ond ar yr "Hen Sarph," y diafol, yr oedd y felldith drymaf. Pan oedd Duw yn caniatâu i'r dyn a'r wraig ateb

drostynt eu hunain, ni chafodd y sarph ddyweyd gair. Yr oedd wedi ei gau i fyny mewn anobaith bythol. Fel y mae yn hynod, wrth gyhoeddi y felldith ar y sarph, y cyhoeddwyd yr addewid am "Hâd y Wraig." Yn nghlyw y dyn, ond wrth y sarph, y cyhoeddwyd yr "addewid fawr iawn a gwerthfawr" hon, a hyny cyn cyhoeddi y felldith ar y dyn. Yr addewid hon oedd "drws gobaith" y dyn; ac yr oedd Duw am agor drws gobaith o'i flaen cyn darllen ei dynged iddo. Ond yr oedd yr addewid oedd yn wawr gobaith i'r dyn, y rhan drymaf o felldith y sarph, ac yn ei gau i fyny mewn "cadwynau tywyllwch" byth. Nid oedd y fuddugoliaeth hon, oedd ef wedi ennill ar y dyn ond tynu ychwaneg o aflwydd ar ei "ben" ei hun. Byddai ganddo bellach fwy o elyniaeth felldigedig at ddyn yn llosgi yn ei galon, ac ennynid gelyniaeth y teulu dynol ato yntau. A byddai i "Hâd y Wraig," yr oedd ef newydd ei thwyllo, "ysigo ei ben" ef mewn brwydr, tra nas gallai efe, ar ei oreu, ond "ysigo ei sawdl Ef." Trwy y wraig y daeth pechod i'r byd, a thrwy "Hâd y Wraig" yr oedd y waredigaeth i ddyfod hefyd. Nid ydym i feddwl fod ein cynrïeni yn deall duwinyddiaeth yr addewid fel ag yr ydym ni yn ei deall; ond eto, yr oedd rhyw "hoel mewn man sicr" iddyn tymaflyd ynddi am eu bywyd, yn ddigon i gynnyrchu ffydd, ac i ennyn gobaith yn eu mynwes. Yr oedd yr ymadrodd "Hâd y Wraig" yn rhwym o fod yn ddirgelwch iddynt. Yr oedd Adda yn deall fod ei hâd ef wedi ei ddwyn trwy y camwedd i'r un cyflwr euog ag yntau, ac felly mor analluog i waredu ei hunan ag yntau. Ond yr ydym ni yn deall mai yr "Hâd Sanctaidd" oedd sylwedd yr addewid—*Mab y Forwyn*—ac felly yn "Hâd y Wraig," heb fod yn hâd Adda.

Wedi cyhoeddi yr addewid hon fel sail y drafodaeth, mae Duw yn myned ymlaen i lefaru yn gyntaf wrth y wraig. Yr oedd ei "beichiogi" hi i amlhâu, ond yr oedd ei phoenau hi i amlhâu yn gyfatebol,— "Mewn poen y dygi blant," yn bur wahanol i'r fendith fawr o dan y cyfammod blaenorol: "Ffrwythwch, ac amlhewch, a llenwch y ddaear," heb gysylltu na phoen na gofid gyda hyny. Wedi hyny y mae Duw yn troi at y dyn, ac yn ei ail osod ef mewn meddiant o'r ddaear, yr hen etifeddiaeth a lwyr gollasai efe trwy beohod; ond etifeddiaeth dan felldith drom ydyw, bellach: "Melldigedig fydd y ddaear o'th achos di." Trwy lafur caled, a "chwys ei wyneb," y gall bellach gael tamaid o fara allan o honi, hyd y dydd y dychwel efe iddi. Yn lle bod fel o'r blaen, a chanddo "fraint yn mhren y bywyd," a rhyddid i fwyta o holl "brenau yr ardd" ond "pren gwybodaeth da a drwg," y mae yn cael ei droi allan o'r ardd i fwyta "llysiau y maes," ac i ymladd yn galed yn erbyn "drain ac ysgall," ffrwyth y felldith, am ei gynnaliaeth. Yr oedd yr hen ddaear fel pe buasai hi yn gwylltio drosti, ac yn anfoddlawn i roddi tamaid o fara i'r dyn oedd "wedi ei ddarostwng i oferedd." Dyna y fath etifeddiaeth y mae efe yn cael ei osod mewn meddiant o honi. Bellach, ni a welwn mai dau bwynt y drafodaeth hon o eiddo Duw â'r dyn, ar sail yr addewid, ydoedd *hâd* ac *etifeddiaeth*. Fel yr awgrymwyd, cyhoeddwyd yr addewid ei hun wrth y sarph yn nghlyw Adda ac Efa. Wedi hyny, hysbyswyd am yr *hâd* wrth y wraig—sef y cai ei "beichiogi amlhâu," er mai "mewn poen y dygai blant;" ond y mae yma sicrwydd yn cael ei roddi y byddai iddynt hiliogaeth neu hâd ar y ddaear. Ac yna y mae y dyn yn cael y ddaear yn etifedd-

iaeth, er mai etifeddiaeth dan felldith ydoedd: A dyna ydyw hanes y byd am ddeg o genedlaethau, sef y cyfnod o Adda hyd Noah—hanes yr *hâd* yn yr *etifeddiaeth*. Yr oedd yr addewid yn crybwyll am ddau hâd mewn gelyniaeth â'u gilydd, sef "hâd y wraig," a "hâd y sarph." Ac mor fuan ag y dechreuodd hiliogaeth dyn amlhâu ar y ddaear, gwelwyd fod dirgelwch y ddau hâd yn gweithio eisoes yn eu plith. Daeth i'r golwg yn Cain ac Abel yn amlwg iawn, a chadwyd y llinell rhwng y ddau hâd yn amlwg am gyfnod ar ol hyny. Ond ymhen amser, aeth y llinell yn llai amlwg, a daeth y ddau hâd i nesu at eu gilydd, ac i ymgymysgu â'u gilydd Yr oedd hîl y sarph—"plant diafol" —yn fwy ymlaen mewn cyfoeth a gwareiddiad daearol na "meibion Duw," ac o herwydd hyny eu merched yn fwy têg a phrydferth mewn ystyr naturiol; ac aeth "meibion Duw" mor lygredig a daearol â'u prïodi ar gyfrif eu cyfoeth a'u tegwch naturiol, ac nid ar gyfrif duwioldeb syml. O herwydd hyn aeth y teuluoedd yn llygredig iawn; magwyd cawri mewn annuwioldeb, "llanwyd y ddaear â thrawsedd," a gwelodd Duw yn angenrheidiol foddi y byd â dwfr diluw.

2. *Y drafodaeth â Noah.* Y ddau bwynt mawr yn y drafodaeth hon eto ydyw etifeddiaeth a hâd; ond y mae y naill a'r llall yn rhagorach nag yn y drafodaeth, neu y cyfammod, âg Adda, yr hyn oedd yn dangos fod y byd yn symud ymlaen, er yn arafaidd, tuag at "amseroedd adferiad pob peth." Edrychwn, ymlaenaf, ar etifeddiaeth Noah. Y wêdd gyntaf ydym yn ei gymeryd ar y diluw ydyw, y wêdd *farnol;* digofaint Duw yn cael ei dywallt ar y ddaear, o herwydd ei bod wedi ei "llenwi â thrawsedd;" dynion "yn amlhâu eu drygioni," ac yn "llygru eu ffordd ar y ddaear," nes yr oedd wedi myned yn rhy ddrwg i'w goddef yn hŵy, er fod "hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noah." Ond er mai y wêdd *farnol* yw y wêdd gyntaf ar y diluw, nid dyna y wêdd *benaf.* Y wêdd benaf ydyw *achubiaeth* y byd "trwy ddwfr." Bedydd y ddaear oedd y diluw. Golchwyd ei gwyneb i raddau mawr oddiwrth y trawsedd a'r llygredd oedd wedi ei llenwi. Yr oedd y bedydd hwn yn adenedigaeth i'r ddaear, fel y dywed yr Apostol Pedr (1 Pedr iii. 21), fod y bedydd Cristionogol yn "gyffelybiaeth gyfatebol," yn wrthgysgod, i'r diluw. Trwy y diluw yr "achubwyd yr wyth enaid;" yr arch a'u cadwodd rhag boddi yn y dwfr; ond "trwy ddwfr" yr achubwyd y byd rhag y llifeiriant ofnadwy o lygredigaeth oedd yn ei fygwth. Trwy fedydd y diluw y "claddwyd yr hen fyd i farwolaeth," ac mewn canlyniad adgyfodwyd ef, "fel y rhodiai mewn newydd-deb buchedd." Mae yn ddïau nad aeth byth mor ddrwg ar ol hyny, gan nad oedd ond Noah yn "gyfiawn yn yr oes hono." Yr oedd y diluw yn cynnwys yr un egwyddor a'r golosgiad mawr yn "niwedd y byd hwn;" er na ddyfethir y byd â thân, eto y mae "wedi ei roddi i gadw i dân, erbyn dydd y farn, a distryw yr anwir ddynion." Ac yr oedd y diluw dwfr yn cynnwys yr un egwyddor a'r diluw tân: "Megys yr oedd yn nyddiau Noah, felly y bydd yn nyfodiad Mab y dyn;" ac y mae y cyfnewidiad mawr hwnw yn cael ei alw gan Iesu Grist ei hun yn "adenedigaeth," Mat. xix. 28. Trwy yr adenedigaeth hwnw, sydd i fod yn "farn ac yn ddistryw i'r anwir," y ceir y "nefoedd newydd, a'r ddaear newydd, y rhai yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu," pan y bydd y ddaear hithau wedi ei "golchi yn llwyr-ddwys oddiwrth ei hanwiredd,

a'i glanhâu" am byth "oddiwrth bechod." Felly ar yr un egwyddor, ond nid i'r un graddau, yr oedd y diluw dwfr yn "olchiad adenedigaeth" i'r ddaear. Caed "nefoedd a daear newydd," ac y mae mwy o "gyfiawnder yn cartrefu" ynddynt nag oedd yn yr hen fyd oedd wedi ei lenwi â thrawsedd.

Y byd newydd hwn oedd etifeddiaeth Noah. Yr oedd yn llawer iawn gwell etifeddiaeth nag eiddo Adda. Trwy y diluw fe symudwyd y felldith, i raddau mawr, oddiar y ddaear. Wedi disgyn o'r gawod drom hono, yr oedd cwmwl y felldith o hyny allan yn llawer iawn teneuach, ac awyrgylch y ddaear yn llawer iawn mwy siriol. Daeth y ddaear yn llawer iawn mwy ffrwythlawn, fel nad oedd raid wrth y fath lafur a chwys i gael tamaid o fara allan o honi. Yr oedd rhïeni Noah wedi cael rhyw ddadguddiad y byddai i'r felldith gael ei hysgafnhâu, a'r ddaear gael ei chodi yn fwy ffrwythlawn yn nyddiau eu mab. "Hwn," meddant, "a'n cysura ni am ein gwaith a llafur ein dwylaw, o herwydd y ddaear yr hon a felldigodd yr Arglwydd."

Tybia rhai mai yn yr adenedigaeth hon y sefydlwyd y tymmorau,—nad ydoedd ond rhyw un tymmor gwastadol cyn hyny. Pa fodd bynag am hyny, fe sicrhäwyd na phallai y tymmorau mwyach "holl ddyddiau y ddaear." Mae lle cryf i feddwl hefyd mai yr adeg yma y dechreuwyd "mwydo y ddaear â chawodau,"—nad oedd dim gwlaw cyn hyny. Fe wellhäwyd y ddaear, mewn ystyr naturiol, trwy y diluw, yn gystal âg mewn ystyr foesol. Hefyd, nid yn unig yr oedd etifeddiaeth Noah yn rhagori ar yr eiddo Adda, ond rhoddwyd mwy o hawl iddo hefyd arni. Yma rhoed ofn ac arswyd dyn "ar holl fwystfilod y maes, ehediaid yr awyr, a physg y môr;" a rhoddwyd hawl iddo hefyd i fwyta cîg, "fel y gwyrddlysiau." Rhoddwyd hefyd amddiffyniad dros fywyd dyn, a sicrwydd na chwanegid boddi y byd mwyach â dyfroedd diluw; mewn gair, rhoddwyd breinlen, rhoddwyd *charter* newydd, ar y byd i Noah, a'r bwa yn y nefoedd yn arwydd o'r cyfammod. Y pwynt arall yn y cyfammod oedd *hâd*. Fe ysgafnhäwyd melldith y wraig, ac fe adnewyddwyd hen fendith Eden i gryn raddau. "Duw hefyd a fendithiodd Noah a'i feibion, ac a ddywedodd wrthynt, Ffrwythwch, a llïosogwch, a llenwch y ddaear." Fel y gwellhäwyd y ddaear mewn ystyr naturiol, felly hefyd gwelläwyd dynion ar y ddaear mewn ystyr foesol. Ond er fod y byd wedi ei *aileni*, nid oedd wedi ei *sancteiddio*. Yr oedd llawer o lygredd yn aros, er nad aeth ef byth mor lygredig â'r hen fyd. Syrthiodd Noah ei hunan i bechod gwarthus iawn; tynodd hyny gymeriad moesol ei dri mab i'r golwg yn fwy eglur nag o'r blaen, a thrwy hyny cafodd Noah ddadguddiad o ystâd foesol ei hiliogaeth am oesau lawer. Yr oedd Sem i gadw gwybodaeth o Dduw yn y byd; Japheth i "helaethu" mewn gwyddor a chelf, mewn masnach ac ymfudiaeth, ac yn y diwedd, i ddyfod i breswylio i bebyll Sem; ond yr oedd Canaan i fod yn was gweision y ddau. Fel yr oedd Noah wedi dyoddef yn ei fab ieuengaf, sef Cam, felly yr oedd Cam i fod yn felldigedig yn ei fab ieuengaf yntau, sef Canaan; yn cael ei dalu yn ei *goin* ei hun, yr hyn sydd yn dangos fod y felldith yn gyfiawn. Yr oedd Sem yn cynnrychioli yr Hebrëaid, pa rai oedd i gadw gwybodaeth o'r gwir Dduw yn y byd: Japheth yn cynnrychioli y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, y rhai a wnaethant y cynnydd mwyaf mewn gwareiddiad, celf, a gwyddor; ond yr oedd

Cam, ac yn enwedig ei fab ieuengaf, Canaan, yn cynnrychioli y cenhedloedd hyny sydd wedi bod yn ddarostyngedig, ac yn gaethweision i'r rhan arall o'r teulu dynol. Yr oedd yr agwedd yna ar deulu Noah yn ddigon digalon a thywyll. Ond yr oedd hi yn llawer gwell na'r agwedd oedd ar bethau yn nheulu Adda, er hyny. Nid oedd yno ond dwy linach —dau hâd; ac yr oedd y mab hynaf, a'r llinach gryfaf, yn hâd y sarph, ac o dan y felldith. Lladdwyd y cyntaf o linach y fendith gan hâd y felldith, yr hyn oedd yn dangos pwy oedd bïa yr oruchafiaeth, ac yn rhagarwyddo yn dywyll iawn ar deulu Adda. Ond yr oedd tair llinach yn nheulu Noah, ac er bod un o'r tair dan y felldith, eto nid yr hynaf ydoedd, ond yr ieuengaf, ïe, yr ieuengaf o blant ei fab ieuengaf; oblegid yr oedd rhai o hiliogaeth Cam yn "fendigedig gan yr Arglwydd," megys Melchisedec, Rahab, ac eraill. Yn nheulu Noah yr oedd y mab hynaf dan fendith neillduol; "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Sem;" o gŷff Sem yr oedd Jehofa yr Iachawdwr i gael ei eni, dyma etifeddiaeth fawr Sem. Ac yr oedd Japheth hefyd i fod yn fendigedig,—"Duw a helaetha ar Japheth." Er mai daioni rhagluniaeth, a chysuron gwareiddiad oedd i ddyfod yn "helaeth" i'w ran, eto yr oedd hefyd i fod yn gyfranog yn mendith Sem. Ond yr oedd Canaan, druan, yn ol y brophwydoliaeth hon, i aros dan y felldith. Er y cwbl, yr oedd agwedd pethau yn llawer iawn gwell nag yn nheulu Adda. Yn yr agwedd hon, heb un drafodaeth neillduol rhwng Duw â'r ddaear, yr aeth pethau ymlaen am ddeg cenedlaeth,—yr un nifer âg o Adda hyd Noah—hyd Abraham.

3. *Y Cyfammod âg Abraham.* Wrth nesâu i gymeryd golwg ar y drafodaeth fu rhwng Duw â'r ddaear yn mherson Abraham, yr ydym yn canfod ar unwaith ei bod yn troi ar y ddau begwn yma, sef, *etifeddiaeth* a *hâd*. Y mae Abraham yn cael ei alw i adael ei wlad, i fyned "oddiwrth ei genedl a thŷ ei dad," i'r wlad a ddangosai yr Arglwydd iddo, sef i wlad Canaan. Wedi ei ddyfod yno, y mae yr Arglwydd yn addaw y wlad hono iddo yn *etifeddiaeth*, ac i'w *hâd* ar ei ol; a hyny "pryd nad oedd plentyn iddo." Y mae yr addewid hon yn cael ei dadblygu a'i chadarnhâu eilwaith ac eilwaith, a llawer gwaith drosodd, nes o'r diwedd y mae yn cael ei sêlio i fyny yn y ffurf o gyfammod, trwy "arwydd yr enwaediad."

Yr oedd Abraham yn cael ei neillduo o fysg plant dynion; felly yr oedd ei etifeddiaeth ef yn cael ei neillduo o fysg gwledydd y ddaear. Ac nid oedd efe, fel Adda a Noah, yn cael y byd yn etifeddiaeth, am eu bod hwy yn ddau hâd cyffredinol. Ond yr oedd etifeddiaeth Abraham y wlad oreu dan y nef, o ran ei hinsawdd, ei safle, ei chyfleusderau, a'i ffrwythlonder; yr oedd yn "wlad dda odiaeth," "gwlad yn llifeirio o laeth a mêl," "gwlad gwenith a haidd, olew, olewydden, a mêl." Mewn gair, yr oedd y wlad mor dda, fel yr oedd yn gysgod arbenig o'r nefoedd ei hun. Yr oedd etifeddiaeth Adda dan felldith mor drom, fel nad oedd hi yn cysgodi y nefoedd iddo o gwbl; ond yr oedd yr hen baradwys wedi ei gadael heb ei diddymu, trwy gydol y cyfnod hwnw; ac ar hon yr oedd dyn yn taflu golwg bruddaidd a hiraethlawn, gan obeithio cael dychwelyd iddi yn ôl pan fyddai "Hâd y Wraig wedi ysigo pen y sarph," a gweithredoedd y diafol wedi cael eu dattod. Ond trwy y diluw, diddymwyd gardd Eden oddiar wyneb y ddaear, fel

na byddai i neb byth obeithio dychwelyd yno; a thröwyd llygaid gobaith dyn ymlaen. Yr oedd y ddaear newydd, wedi ei haileni trwy y diluw, a roddwyd yn etifeddiaeth i Noah, yn rhyw arddangosiad gwan o'r "nef a'r ddaear newydd" o dan yr efengyl (gwêl Es. lxvi. 22), ac hefyd o'r "nefoedd a'r ddaear newydd, yn y rhai mae cyfiawnder yn cartrefu," pa rai a ddaw i fod yn "amseroedd adferiad pob peth," yn yr "adenedigaeth" mawr diweddaf. Yr oedd rhywbeth yn adferiad y byd trwy y diluw ag oedd yn "dwyn gobaith gwell i mewn" am ddedwyddwch dyfodol. Ond trwy Wlad Canaan, etifeddiaeth Abraham, gwelwyd y nefoedd, nes codi y patriarchiaid i'w "chwennych," a'i "cheisio;" trwy y Ganaan ddaearol y gwelwyd y Ganaan nefol; trwy y "wlad dda," y gwelwyd y "wlad well." Ac o hyny allan yr oedd "Abraham, Isaac, a Jacob, cydetifeddion o'r un addewid," yn cyfrif eu hunain yn "ddyeithriaid a phererinion ar y ddaear." Ac wedi hyny, ni ddygodd "Iesu hwynt i orphwysfa;" nid oedd y wlad y daethant iddi ond cysgod o'r "orphwysfa sydd eto yn ôl i bobl Dduw."

Ac wedi hyny, am y pwynt arall—yr hâd—y mae hwnw yn llawer mwy eglur a phendant yn nghyfammod Abraham nag yn y cyfammodau blaenorol. Yr oedd dau hâd yn nheulu Adda, ond yr oedd hâd y sarph yno, yn y mwyafrif, ac yn yr oruchafiaeth. Yr oedd gan Noah dri hâd—un dan fendith *neillduol*, a'r llall dan fendith *gyffredinol*, a'r llall dan y *felldith*. Ond nid oedd gan Abraham ond *un* hâd. Gwir fod ganddo amryw ddisgynyddion naturiol, ond "yn Isaac y gelwir i ti hâd." Yr oedd yr hâd hwn yn gwbl dan y fendith, ïe, yn yr hâd hwn y "bendithid holl genhedloedd y ddaear." Dyma obaith i Canaan, yr hwn a adawyd gan brophwydoliaeth Noah, yn hollol yn y tywyllwch. Yr oedd yr "hâd sanctaidd," sef Iesu Grist, "yn sylwedd" yr addewid dan bob cyfammod: ond yn y cyfammod âg Abraham y daeth yn eglur iawn. Yr oedd genedigaeth wyrthiol Isaac yn arddangosiad arbenig o ymgnawdoliad "Hâd y Wraig." Ac yr oedd Iesu Grist mor lawn yn yr addewid, fel y dywed Paul mai Crist oedd yr addewid,—"Ac i'th hâd di, yr hwn yw Crist." Yn y cyfammodau blaenorol, yr oedd Efe megys yn faban bach, wedi ei rwymo "mewn cadachau, a'i ddodi yn y preseb," fel nad oedd mor hawdd ei ganfod; ond yn y cyfammod âg Abraham, y mae Efe "wedi myned yn fawr," wedi ei ddyosg o'r cadachau, a'i wisgo â gwisgoedd ei ogoniant; wedi ei godi o'r preseb, a'i osod ar ei orsedd; fel yr ydoedd, mewn cymhariaeth, yn hawdd ei weled.

Yn awr, yr ydym yn gobeithio ddarfod i ni ddangos i'r darllenydd, trwy yr awgrymiadau byrion hyn, fod perthynas agos rhwng y tri chyfammod a nodwyd, ac nad oedd y naill ddim ond dadblygiad o'r llall, nes y daeth yr *etifeddiaeth* a'r *hâd* i olygu *nefoedd* a *Christ* ar gyfer pechaduriaid. Wedi hyny, "daeth y ddeddf i mewn" trwy Moses, yn llawforwyn i'r addewid, fel Hagar i Sarah, "hyd oni ddelai yr Hâd i'r hwn y gwnaethpwyd yr addewidion."

# GWLADWRIAETH PLATO.

Pan ymunodd Plato yn ŵr ieuanc â dysgyblion Socrates, dywedir fod yr hen athronydd y noson flaenorol wedi gweled mewn breuddwyd alarch yn hedfan tuag ato, a'i glywed yn canu yn beraidd fel yr ëos. Pwy bynag a ddyfeisiodd y weledigaeth hon, llefarodd ddammeg nid llai gwir na phrydferth. Y mae Plato yn arbenig yn un o'r dynion hyny sydd wedi swyno y byd; fe allai y dylem ychwanegu—wedi ei swyno heb ei argyhoeddi. Ac os pwyso rhesymau dros ac yn erbyn, fel masnachwr yn cymharu ei gyfrifon, a chyhoeddi y canlyniad, fel rheithwyr yn cyhoedi eu barn ar dystiolaeth, a olygwn wrth y gair argyhoeddiad, n hwn ydyw yr enw cymhwysaf hyd yn nôd ar y dylanwad dwfn ac ysbrydol a fedd Plato ar ei ddysgyblion goreu. Er nad ydyw ei ganlynwyr yn lliosog mewn unrhyw oes, ni a ganfyddwn yn eu plith y meddyliau dwys a hoffa synfyfyrio yn ostyngedig uwchben dirgelion annhraethadwy, yn hytrach na'r dynion hyny a fynant wadu yn feistrolgar yr hyn nas gallant ei amgyffred, a haeru yr un mor feistrolgar yr hyn na feiddiant ei wadu. Nid rhyfedd fod tadau yr Eglwys Gristionogol yn gweled tebygolrwydd rhwng ysbryd Plato a dadguddiadau y Testament Newydd; ac nid rhyfedd ychwaith na feiddiodd neb erioed wneyd athroniaeth Plato yn sylfaen i anffyddiaeth fydol a hunanol. Nis gellir dyweyd hyn, ni a dybiwn, am neb arall ymhlith y paganiaid sydd wedi cario dylanwad ar athroniaeth a chrefydd y byd.

Addefir yn gyffredin fod yr ymddyddan maith rhwng Socrates a'i gyfeillion a adwaenir wrth yr enw "Y Wladwriaeth," wedi ei ysgrifenu gan Plato pan yr oedd ei athrylith yn nghyflawnder ei nherth, a'i feddwl wedi cyrhaedd glàn a gorphwysdra, càn belled ag y gallai y fath feddwl orphwys heb dderbyn y dadguddiad Dwyfol yr hiraethai am dano, ac yn ymroddi bellach i gasglu ynghyd holl ffrwythau ei fyfyrdodau i'w huno mewn un ymresymiad cynnwysfawr. Fel y gellid dysgwyl, gesyd y traethawd hwn y gàreg olaf, megys trum, os defnyddiwn ei gyffelybiaeth ef ei hun, ar ben uchaf yr adeilad: hon yw y deml yr arwain yr ymddyddanion eraill iddi, ac yn yr hon yr ymgyfarfyddant. Pe ceisiem roddi o flaen ein darllenwyr olwg gyflawn ar "Y Wladwriaeth," anturiem hedfan ymhellach nag y gall ein hadenydd ein cario. Rhaid ymfoddloni ar ymgais mwy gwylaidd, ond, ni a obeithiwn, nid heb ddyddordeb ac adeiladaeth. Heblaw hyny, mae yn bur sicr mai y dull goreu i ddysgu amgyffred a gwerthfawrogi Plato ydyw ymbalfalu ar y dechreu yn araf deg gyda'r ochrau, a chymeryd digon o amser a phwyll; o herwydd y mae yma ddyfroedd duon yn ein hymyl lle y boddwyd aml rymus ŵr ag oedd heb ddysgu nofio mewn dwfr basach.

Ond er na fynem ruthro i mewn lle y dylem sangu yn araf, i mewn, er hyny, y dymunem fyned, fel y caffom, pa fodd bynag, wrandaw ar yr athraw ei hunan yn llefaru. Os mỳn rhywun goleddu y meddwl ei fod yn gwybod llawer am Plato, am y gall ddyfynu tameidiau dysgedig o'r llyfrau a broffesant roi crynöad o'i "Gyfundraeth Athronyddol," fel y dywedant,

mai iddo groesaw, o'n rhan ni, i'r holl foddhâd a fforddia y fath dybiaeth; ond twyllo ei hun y mae. Y gwir yw, nad ŵyr Plato ddim am y "gyfundraeth athronyddol" o gwbl. Nid casgliad trefnus o esgyrn sychion sydd yma, ond dyn byw, un o honom, ein cîg a'n gwaed ein hunain. Er mwyn adnabod Plato, rhaid ymddyddan wyneb yn wyneb â Plato ei hun, ac aros yn ei gyfrinach hyd nes y trwyther ein hysbryd oedd yn ei ysbryd yntau. Os gallwn ddenu rhai o'n darllenwyr i hoffi ei gymdeithas, ymdawelwn ar hyny.

Ysgrifenodd Plato bron yr oll o'i fyfyrdodau ar ddull o ymddyddan rhwng Socrates, â'i ddysgyblion, neu ynte rhynddo â'i wrthwynebwyr y Sophistiaid. Ac er nad ydym i dybied fod Socrates ei hun erioed wedi llefaru na chanfod y gwirioneddau dyfnion a'r dychymygion aruchel a roddir yn ei enau, eto tardd holl athroniaeth Plato o lygad byw y ffynnon fechan a gloddiodd yr athraw, ac yn yr holl ymddyddanion ni wneir cam, o'r hyn lleiaf, â'r gallu a'i hynodai i addysgu ei ddysgyblion trwy dŷnu allan eu hymadferthoedd a dymchwelyd ei wrthwynebwyr trwy ddynoethi eu hanghysonderau. Un diwrnod ni a gawn Socrates yn mhorthladd Athen—ond cynnwysa y tudalenau cyntaf o'r "Wladwriaeth" ddesgrifiad mor naturiol, fel nas gwyddom pa fodd yn well i wneyd ein darllenwyr a Plato yn gyfeillion, na thrwy gyfieithu y rhan agoriadol o'r ymddyddan i'r Gymraeg. Yn y dull canlynol yr adrodda Socrates yr hyn a ddygwyddasai iddo y dydd blaenorol:—

Aethum i lawr ddoe i'r Peiræus gyda Glaucon, mab Ariston, i'r dyben o addoli y dduwies, a chan awydd i edrych pa fodd y cadwent yr ŵyl, gan mai hon oedd y waith gyntaf iddynt ei chadw. Ymddangosai gorymdaith y brodorion i mi yn brydferth iawn; ond eto nid llai gweddeidd oedd yr orymdaith a ffurfiai y Thraciaid. Wedi cyflwyno ein haddoliad ac edrych ar yr olygfa, yr oeddym yn dychwelyd tua y ddinas, pan ganfyddodd Polemarchus, mab Cephalus, ni yn cychwyn adref, ac y parodd i'w was redeg ac erchi i ni aros am dano. Daeth y gwas o'r tu ol i mi ac ymaflodd yn fy mantell. "Y mae Polemarchus," meddai, "yn gorchymyn i chwi aros am dano." Tröais innau fy mhen, a gofynais ymha le yr oedd efe. "Dacw ef," meddai, "yn agoshâu o'r tu ol i chwi; ond aroswch am dano."—"Wel, ni a aroswn," meddai Glaucon. Ac yn fuan daeth Polemarchus, ac Adeimantus, brawd Glaucon, a Niceratus, brawd Nicias, ac ychydig eraill, y rhai a ddychwelent, gellid meddwl, o'r orymdaith. Yna dywedodd Polemarchus, "Socrates, mi a dybiwn eich bod yn cychwyn yn ol tua y ddinas."—"Mae eich tyb yn gywir," meddwn innau.—"A welwch ni," meddai yntau, "gynifer ydym?"—"Gwelaf."—"Wel, ynte, un ai profwch eich hunain yn drech na ni, neu aroswch yn y fan yna."—"Y mae un peth arall yn ddichonadwy, os gallwn eich darbwyllo fod yn ofynol i chwi ein gollwng."—"Ië, ond a ellwch chwi ddarbwyllo y rhai ni wrandawant?"—"Ofer fyddai ceisio," meddai Glaucon.—"Golygwch ni, gan hyny," meddai yntau, "fel rhai na fynant wrandaw." Ac ychwanegodd Adeimantus, "Oni wyddoch hefyd y bydd lampredegfa yn yr hwyr ar feirch er anrhydedd i'r dduwies?"—"Ar feirch?" gofynais innau; "dyna rywbeth newydd; a gariant hwy lampau i'w trosglwyddo o'r naill i'r llall, tra y cydymgais y meirch yn y rhedegfa? Neu pa fodd y dywedwch?"—"Ië, fel hyny," meddai Polemarchus; "ac heblaw hyny, cadwant ŵyl gyda'r nos, yr hon a fydd yn werth ei gweled; canys ni a awn ar ol swper i edrych ar y noswyl ac a gyfarfyddwn yno â lliaws o ieuenctyd y gallwn ymddyddan â hwynt. Aroswch ac na ommeddwch ni." A dywedodd Glaucon, "Ymddengys mai aros raid i ni."—"Wel," meddwn innau, "os dyna eich dymuniad, gwell fydd i ni aros."

Dychwelasom, gan hyny, i dŷ Polemarchus, ac yno ni a gawsom Lysias ac Euthydemus, brodyr Polemarchus, a Thrasymachus hefyd o Chalcedon, ac eraill. Yr oedd Cephalus hefyd, tad Polemarchus, yn yr ystafell; ac ymddangosai i mi wedi heneiddio yn fawr; o herwydd yr oedd llawer o amser er pan y gwelais ef. Eisteddai ar gadair a chlustog iddi, a choron o ddail am ei ben; canys dygwyddasai fod newydd aberthu yn

y cyntedd. Gosodasid cadeiriau o'i amgylch, ac eisteddasom ninnau yn ei ymyl. Pan welodd Cephalus fi, efe a'm cyfarchodd, ac a ddywedodd, "Ac eto, Socrates, nid mynych y deuwch i waered i'r Peiræus, i ymweled â ni. Ond chwi a ddylech ddyfod; o herwydd pe bawn i eto yn alluog i gerdded yn hawdd i'r ddinas, ni buasai raid i chwi ddyfod yma, ond nyni a ddeuem atoch chwi; ond gan nas gallaf, chwi a ddylech ddyfod yma yn fynychach; oblegid, credwch fi, i'r graddau y palla pleserau y corff, i'r un graddau y cryfhâ fy awydd am ymddyddanion meddylgar, a'm hoffder o honynt. Na ommeddwch fi, gan hyny, ond, tra y parhêwch i gymdeithasu â'r gwŷr ieuainc hyn, deuwch i ymweled â ninnau fel cyfeillion mynwesol."—"Yn sicr, Cephalus," meddwn wrtho, "dywenydd genyf ymddyddan â henafgwŷr; oblegid ymddengys i mi y dylwn ymofyn ganddynt hwy, fel rhai a deithiodd ar hyd y ffordd y bydd raid, fe allai, i ninnau ei thrafaelu, pa fath un ydyw, pa un ai garw ac anwastad, ai esmwyth a hawdd ei rhodio; a llawen fyddai genyf glywed genych chwithau beth yw eich meddwl am hyn, gan eich bod wedi cyrhaedd yr oedran hwnw pan y saif dyn, fel y dywed y beirdd, 'ar riniog einioes,' ai cyfnod garw ar fywyd ydyw, neu pa fodd y dywedwch chwi am dano?"—"O'm rhan i, Socrates," meddai yr hen ŵr, "mi a ddywedaf yn bendant fy meddwl i am henaint; canys mynych yr ymgyfarfydda amryw o honom, ag sydd oddeutu yr un oedran, gan wirio yr hen ddiareb am adar o'r un lliw; y rhan fwyaf o honom a alarant, pan ddeuwn ynghyd, gan ymofidio ar ol pleserau ieuenctyd, ac adgoffa y gyfeddach, a'r gloddest, a phethau o'r fath, a chŵynant fel pe collasent berl gwerthfawr, ac fel pe buasent y pryd hwnw yn byw yn dda, ond erbyn hyn heb fyw o gwbl. Rhai a gŵynfanant hefyd o herwydd fod eu perthynasau yn dirmygu eu henaint, a chablant henaint fel yr achos o'u blinderau; ond ymddengys i mi, Socrates, nad ydyw y dynion hyn yn belo y gwir achos; oblegid pe henaint fuasai yr achos, blinid finnau hefyd gan y gofidiau a'i dilynant, a phawb arall ag sydd wedi cyrhaedd yr oedran hwn. Ond y gwir yw, gwelais lawer a deimlant yn wahanol, ac yn eu plith Sophocles, y bardd, yr hwn, pan ofynwyd iddo gan rywun, 'Pa lywodraeth, Sophocles, a fêdd y nwydau trythyll arnoch erbyn hyn?' a atebodd, 'Ust, fy nghyfaill; er mawr lawenydd i mi, dïengais o'u gafael, fel pe dïangaswn o afael gormeswr gwallgof a chreulawn.' Meddyliais ar y pryd ei fod yn ateb yn rhagorol, a dyna fy syniad hyd heddyw; o herwydd mewn henaint y mae heddwch mawr ymhob modd, a rhyddid oddiwrth y fath bethau; canys pan ymollynga y nwydau, ac y peidiant â'u cyffro, mae dywediad Sophocles yn hollol gywir, fod henaint yn ryddhâd oddiwrth lïaws o ormeswyr nwydwyllt. Ond nid oes ond un achos o'r tawelwch hwn, yn gystal ag o'r rhyddid oddiwrth helbulon teuluaidd, a hwnw ydyw, nid yr oedran, Socrates, ond tymher y dynion. Canys os ydynt yn ddynion pwyllog a hynaws, nid ydyw hyd yn nôd henaint yn faich anhawdd ei ddwyn; ond i ddyn afrywiog ei dymher, y mae ieuenctyd, yn gystal a henaint, yn faich trwm."

Minnau a ryfeddais at ei eiriau, a chan awydd i glywed ychwaneg, mi a'i denais i siarad, trwy ddywedyd, "Ofnwyf, Cephalus, nad llawer a gymeradwyant yr hyn a ddywedwch, ond meddyliant fod henaint yn gorwedd yn esmwyth arnoch chwi, nid o herwydd tymher eich ysbryd, ond o herwydd eich cyfoeth mawr; oblegid i'r cyfoethog, medd yr hen air, y mae dyddanwch lawer."—"Gwir a ddywedwch," meddai yntau, "ni chredant fi, ac y mae rhyw gymaint o wirionedd yn eu syniad, ond nid cymaint ag a dybiant hwy. Ateb rhagorol a roddodd Themistocles i'r Seriphiad, yr hwn a fynai ei ddifrïo trwy ddywedyd, mai nid ar gyfrif ei deilyngdod ei hun, ond ar gyfrif ei ddinas, yr oedd efe yn uchel ei glod. 'Mae yn wir,' atebai Themistocles, 'na buaswn yn enwog pe ganesid fi yn Seriphus; ond ni buasech chwi yn enwog pe ganesid chwi yn Athen.' Ac felly y gellir dyweyd wrth y rhai na feddant gyfoeth, ac a deimlant henaint yn faich trwm arnynt, nad ydyw henaint gyda thlodi yn gorwedd yn esmwyth iawn hyd yn nôd ar ddyn da; ond nis gall dyn anghyfiawn, yn nghanol ei gyfoeth, fwynhâu tangnefedd yn ei ysbryd."—"Dywedwch i mi, Cephalus," meddwn innau, "pa un ai etifeddu ai ennill y rhan fwyaf o'ch meddiannau a wnaethoch?"—"Ai gofyn yr ydych a ennillais i fy meddiannau, Socrates? Gyda golwg ar fy nghyfoeth arianol, safwyf yn y canol, rhwng fy nhaid a fy nhad. Etifeddodd fy nhaid, yr hwn oedd yr un enw â mi, oddeutu yr un faint o gyfoeth âg sydd genyf fi yn awr, ac fe'i gwnaeth yn fwy lawer gwaith drosodd; ond gwnaeth fy nhad, Lysanias, ef yn llai drachefn nag ydyw yn bresennol; ond boddlonir fi os gadawaf ef i fy meibion hyn heb fod yn llai ond ychydig yn fwy nag y derbyniais ef."

Dywedais innau, "Yr achos i mi ofyn i chwi oedd, fy mod yn meddwl nad oeddych yn orhoff o arian; a dyna duedd gyffredin y rhai na wnaethant eu cyfoeth eu hunain. Ond am y rhai a ennillant eu harian, carant hwynt ddwywaith yn fwy na'r

lleill. Fel y câr y beirdd eu caniadau eu hunain, ac y câr rhïeni eu plant, felly y câr masnachwyr eu harian megys eu gwaith eu hunain, yn gystal âg o herwydd eu defnyddioldeb, fel pawb arall; ac o herwydd hyn y maent yn ddynion afrywiog i gymdeithasu â hwynt, am na fynant ganmol dim ond cyfoeth."—"Gwir a ddywedwch," meddai yntau.—"Dïau hyny; ond dywedwch i mi eto un peth. Beth yw y daioni penaf a ddeillia i chwi o feddu cyfoeth mawr?"—"Fe allai," meddai Cephalus, "mai nid llawer a gawn i gydolygu â mi, pe dywedwn. Credwch fi, Socrates, pan ddaw y meddwl am farw yn agos at ddyn, daw ofn i mewn i'w enaid, a synfyfyria uwchben pethau na feddyliodd am danynt o'r blaen; canys cythryblir ei ysbryd âg ofnau fod gwirionedd yn yr hen ystoraeon a watwarai efe gynt am yr hyn a'i cyfarfyddai yn y byd arall, sef fod yn rhaid i'r neb a fu anghyfiawn yma ddyoddef y gosb yno; a gwêl yntau hwynt yn llawer eglurach, un ai o herwydd eiddilwch hen ddyddiau, neu am ei fod yn agosach at bethau y byd arall. Llenwir ef, mewn canlyniad, â phetrusder a dychryn, a dechreua alw ei hun i gyfrif ac ymofyn a wnaeth efe anghyfiawnder âg unrhyw ddyn. A'r neb a ddarganfydda yn ei fywyd lïaws o anghyfiawnderau, a neidia i fyny o'i gwsg yn fynych, fel y gwna plant, a bydd ei fywyd yn llawn dychryn a digalondid. Ond i'r hwn nas gŵyr ynddo ei hun ei fod yn euog o anghyfiawnder, y mae gobaith dyddanus bob amser yn gydymaith, ac, fel y gelwir ef gan Pindar, yn fammaeth dyner. Mor brydferth, Socrates, y canodd y bardd hwnw am y dyn sydd yn byw ei holl ddyddiau yn gyfiawn a sanctaidd:

'Yn gymhorth parodlawn ymhlith ei gymdeithion
Mae gobaith dyddanus, y fammaeth gysurlon,
Rheolwr meddyliau awyddfawr marwolion.'

Mor ryfeddol o ragorol yw ei eiriau! Ac i'r dyben hwn, yn fy marn i, y mae cyfoeth yn fwyaf gwerthfawr, nid i bob dyn, ond i'r dyn da; canys tuag at iddo beidio drygu neb yn anfwriadol trwy dwyll neu gelwydd, na myned ymaith i'r byd arall mewn ofn o herwydd na thalodd i Dduw aberthau, neu i ddynion ei ddyledion, y mae cyfoeth yn llawer o gynnorthwy, heblaw ei fod yn ddefnyddiol mewn llawer ystyr arall. Ond, a chymeryd y naill beth gyda'r llall, o'r holl ddybenion a ateba cyfoeth yn arbenig, nid y lleiaf ydyw ei ddefnyddioldeb hwn i'r dyn doeth."—"Rhagorol, Cephalus; ond y peth hwn a enwch, cyfiawnder, beth ydyw?"

Fe allai fod hynyna yn ddigon i ddangos dull naturiol a syml Plato o arwain ei ddarllenwyr yn esmwyth at bynciau athronyddol, heblaw fod yn hyn o ymddyddan awgrymiadau am grefyddolrwydd ei ysbryd yn gystal ag anmherffeithrwydd ei syniadau. Erbyn hyn y mae Socrates a'i gyfeillion yn barod i wthio y cwch i'r dwfn. Yr ymholiad ydyw, Pa beth yw cyfiawnder? Os gofyna ein darllenwyr paham y gosoda Plato yr ymchwiliad i natur cyfiawnder yn yr agoriad i'r traethawd ag y dywedir ei fod yn cynnwys swm a sylwedd ei holl athroniaeth, mae yn angenrheidiol iddo gofio mai hwn oedd prif bwnc y Sophistiaid, a bod y dysgawdwyr hyny, fel y dywed Plato ei hun, yn cynnrychioli ysbryd eu hoes. Yn yr oes hono cyrhaeddasai y Groegiaid y pinacl uchaf mewn gallu gwladwriaethol, ond yr oedd athroniaeth foesol a meddyliol eto yn ei mabandod. Ymosodai y Groegiaid, gan hyny, ar yr ymchiliad i seiliau moesoldeb oddiar dir gwladyddol. Yn ein dyddiau ni sylfaenir athrawiaethau moesol ar ymchwiliadau i natur meddwl dyn, ac, o ganlyniad, un o'r pethau cyntaf mewn athroniaeth foesol yn awr ydyw ymofyn a oes gan ddyn gynneddfau ag sydd yn peri fod gwahaniaeth moesol ac angenrheidiol rhwng ei weithredoedd ef a gweithredoedd crëaduriaid direswm. Ond gan fod y Groegiaid yn dechreu eu hymchwiliadau moesol ar sylfaen gwladyddiaeth, ac yn myned megys oddiallan i mewn, yr oedd yn naturiol iddynt gychwyn gyda'r gofyniad hwnw ag sydd yn ffurfio y ddolen gydiol rhwng gwladyddiaeth ac athroniaeth foesol; a'r

gofyniad hwnw, fel y gwel ein darllenwyr ar unwaith, ydyw, Pa beth yw cyfiawnder? Rhaid cydnabod ein bod yn ddyledus i'r Sophistiaid am alw sylw dynion at y gair cyfiawnder, a thrwy hyny agor y ffordd a arweiniodd eu gwell i athroniaeth foesol. Hwn a ystyrid y pwysicaf o'r holl eiriau a wnai i fyny arwerthfa deithiol y crach athronwyr hyn, y rhai a grwydrent o'r naill ddinas i'r llall i werthu eu nwyddau i'r neb a dalai oreu am danynt; a'r nwyddau a werthent oedd "geiriau, geiriau, geiriau," ynghyd â rheolau i'w defnyddio yn effeithiol ar yr esgynlawr neu yn yr ysgolion, heb wybod dim am y pethau a ddarnodent, fel ag i alluogi yr areithiwr gwâg-ymffrostgar i daflu llwch i lygaid y gwrandäwyr. Os gogoniant y Sophistiaid ydyw mai hwynt-hwy a ddyrchafasant y gair cyfiawnder i fri, eu gwarth ydyw eu bod wedi suddo y peth ei hunan i anfri trwy haeru nad oes dim yn gyfiawnder ond ewyllys y cryfaf. Gwelodd Plato bwysigrwydd y gair, ac arno ef y cododd adeilad ardderchog ei athroniaeth wladyddol a moesol. Un o hynodion Socrates oedd ei arferiad o holi yn ddibaid y gwŷr ieuainc a gyfarfyddai yn nghonglau yr ystrydoedd am ystyr y geiriau a ddefnyddient. Mewn un ymddyddan, ni a'i cawn yn gofyn am ddarnodiad o wybodaeth; ar adeg arall, ymhola am natur gwroldeb; a thrachefn ymofyna beth yw dedwyddwch. Ond doethineb a osodai efe yn sylfaen moesoldeb; ac yn hynyma y daw i'r golwg y gwrthgyferbyniad rhyngddo â'r Sophistiaid. Areithwyr oedd y Sophistiaid, holwr oedd Socrates; geiriau oedd nwyddau y naill, gwybod ystyr a meddwl y geiriau oedd amcan y llall; ennill trwy eu dysgeidiaeth rwysg a chyfoeth iddynt eu hunain oedd dyben penaf y naill, ond cario athroniaeth i'r farchnadfa a'i gwneyd yn ddefnyddiol i ddynion yn eu gorchwylion beunyddiol oedd ymgais y llall. Hyn, gan hyny, oedd byrdwn holl ddysgeidiaeth Socrates, mai doethineb ymarferol ydyw sylfaen moesoldeb, a swm y cwbl ag sydd yn werthfawr mewn athroniaeth. Ond, er fod golygiad Socrates yn ymddyrchafu yn annhraethol uwchlaw athrawiaethau anfoesol rhai o'r Sophistiaid, mae yn rhaid cyfaddef ei fod mewn effaith yn dinystrio moesoldeb; o herwydd nis gall fod dim moesoldeb mewn doethineb ynddi ei hun. Nid yw y doethaf o ddynion yn dda o herwydd ei ddoethineb, na'r hurtyn yn ddrygionus o herwydd ei ynfydrwydd. O ganlyniad gosododd Plato gyfiawnder, ac nid doethineb, yn sylfaen moesoldeb, ac hyd yn nôd yn agoriad y traethawd sydd dan ein sylw, cychwyna gyda'r hyn a olyga efe y prif ofyniad. Ac os oddiar safle athroniaeth wladyddol yr edrychwn gyntaf ar athroniaeth foesol, y mae Plato yn ddiammheu yn hollol gywir; o herwydd yn y drychfeddwl o gyfiawnder y cydgyfarfydda, nid yn unig gwladyddiaeth a moesoldeb, ond duwinyddiaeth hefyd; ac ni raid i ni ddarllen llawer cyn y canfyddwn mai yn y gwahanol syniadau am natur cyfiawnder y dechreua yr amrywiol gyfundraethau a ffynant yn ein hoes ninnau ynghylch rhinwedd, iawnderau a dyledswyddau gwladol, pechod dyn a threfn maddeuant, ymranu ac ymbellhâu oddiwrth eu gilydd.

Er mwyn agor y ffordd i ymchwiliad mwy effeithiol i natur cyfiawnder, dechreua Plato trwy wrthbrofi y gwahanol olygiadau cyfeiliornus a goleddir gan ddynion ar y pwnc. Enwir tri chyfeiliornad. Y cyntaf ydyw tyb ddifeddwl a chyfyng y cyffredin o ddynion mai talu ein dyledion ydyw yr oll o gyfiawnder; y nesaf ydyw golygiad rhai o'r Sophist

iaid mai cyfiawnder ydyw ewyllys y trechaf; a'r trydydd ydyw y syniad hunanol mai cyfiawnder ydyw i bawb amcanu yn gyfangwbl at ei ddedwyddwch a'i fantais ei hun. Wedi symud y daliadau cyfeiliornus hyn oddiar y ffordd, dechreua Plato egluro yn helaeth yr athrawiaeth a gynnygia efe yn eu lle. Ni raid i ni adgoffa i'r darllenydd mai genau Plato ydyw Socrates yn yr ymddyddan hwn, ac nad ydym i dybied fod y gwir Socrates wedi canfod ond ychydig o'r gwirioneddau a briodolir iddo yma. Gwelsom eisoes fod y ddau yn gwahaniaethu, rhyw gymaint, o berthynas i egwyddor sylfaenol moesoldeb.

Ni foddlonid neb meddylgar yn oes Socrates gan yr esboniad cyffredin ar gyfiawnder a gedwid yn fyw ar lafar gwlad ac yn nghâneuon y beirdd. Fel cynnrychiolydd yr hen syniad, enwir y bardd i Simonides o Ceos, yr hwn a ddywedai fod yr oll o gyfiawnder yn gynnwysedig mewn talu i bawb yr hyn sydd yn ddyledus iddynt. Dystawa Socrates yn fuan y dadleuydd o blaid Simonides, trwy ymresymiadau a allant ymddangos i un a gymer olwg gyfyng ar y gair cyfiawnder, yn annhêg. Ond ymddengys i ni fod ei holl ymresymiadau yn sylfaenedig ar y gwahaniaeth rhwng yr ysbryd a'r llythyren. Rhaid cydnabod mai cyfiawnder yn y llythyren ydyw talu i bawb yr hyn sydd yn ddyledus iddo. Ond, os bernir y weithred hono yn ol ei hysbryd, gwelir yn fynych ei bod yn anghyfiawnder dybryd. Tybier, er enghraifft, fod y naill ddyn wedi rhoddi benthyg cleddyf i ddyn arall, ac ymhen rhywfaint o amser ar ol hyny yn colli ei synwyrau. Cyfiawnder yn y llythyren, ond anghyfiawnder mewn gwirionedd, fyddai dychwelyd y cleddyf iddo, pe gofynai am dano, yn y cyflwr hwnw. Eglura y gwahaniaeth hwn lïaws o achosion cydwybod, yn y rhai y dyrysa meddyliau gweiniaid yn fynych. Un o nodweddion gwendid, ac, o herwydd hyny, nodwedd y cyffredin o ddynion ydyw coelgrefydd, yr hyn sydd yn gynnwysedig mewn aberthu yr ysbryd, er mwyn cadw y llythyren. Gwrthbrawf digonol, gan hyny, o syniad y cyffredin am natur cyfiawnder ydyw dangos y gwahaniaeth syml rhwng y llythyren a'r ysbryd.

Wedi methu cael sail safadwy i foesoldeb yn esboniad y cyffredin o ddynion, ymeifl Socrates yn nesaf yn yr athrawiaeth a ddysgid gan rai o'r Sophistiaid. Thrasymachus yw eu cawr, ar ben yr hwn yr ymhyfi ryda Plato mewn tywallt ei watwar. Dyma y desgrifiad a roddir o'i ddull ymhongar a thrahâus, mewn gwrthgyferbyniad i rith-ostyngeiddrwydd chwarëus Socrates:—

Yr oedd Thrasymachus, amryw weithiau, yn ystod yr ymddyddan, ar fedr neidio ymlaen i gymeryd y ddadl i'w ddwylaw ei hun, ond rhwystrid ef ar y pryd gan y rhai a eisteddent yn ei ymyl, ac a ddymunent glywed yr ymresymiad i'w ddiwedd. Ond pan beidiasom, a phan y gwnes i y sylw uchod, nis gallai ymattal yn hŵy, ond, gan grychu ei gefn fel bwystfil gwyllt, efe a ruthrodd arnom fel pe b'ai am ein llarpio. Crynai Polemarchus a minnau gan ofn. Ond efe a ddywedodd mewn llais uchel, "Beth yw yr ynfydrwydd sydd er ys meityn wedi eich meddiannu, Socrates?" Daliwyd fi gan ddychryn wrth ei glywed, ac ofnais wrth edrych arno; a fy meddwl ydyw, pe na buaswn wedi edrych arno ef, cyn iddo ef edrych arnaf fi, y buaswn wedi myned yn fud." (Cyfeiriad sydd yn y geiriau olaf hyn at yr hen goel, os gall dyn edrych yn llygaid blaidd, cyn i'r blaidd edrych yn ei lygaid ef, na feiddia y bwystfil ruthro arno.)

Gellir crynhôi golygiad Thrasymachus i ychydig eiriau: "Cyfiawnder ydyw mantais y cryfaf; deddf natur ydyw, Y trechaf treisied, a'r gwanaf gwaedded. Y mae yn wir fod dynion yn cosbi chwiwladron a

mân dreiswyr cyfrwys, ond anrhydeddant y dyn sydd yn ddigon cryf a chreulawn i gaethiwo a threisio gwlad o bobl; yr hyn a ddengys fod gan ddyn hawl i ormesu, os gall." Diammheu fod ein darllenwyr yn barod i labyddio amddiffynydd y fath ddysgeidiaeth anfoesol. Ond gorfodir ni i gredu mai hwn oedd y golygiad a ystyrid yn foneddigaidd i'w goleddu ac a ffynai yn Athen yn nyddiau Socrates. Ni phetrusa yr hanesydd anmhleidgar Thucydides roddi y syniadau hyn yn ngenau yr Atheniaid, pan oeddynt ar fedr cymeryd meddiant o ynys Melos, un o'r gweithredoedd mwyaf creulawn a gwarthus a wnaethant erioed. "Nid ydym ni," meddant, "am arfer geiriau têg, heb obaith eich hargyhoeddi, i brofi fod ein hawdurdod yn gyfiawn; gan y gwyddom ni, ac y gwyddoch chwithau, na ddygir cyfiawnder i mewn yn mhenderfyniad dadleuon dynion, ond pan y mae gallu y ddwy blaid yn gyfartal. Y pwnc ydyw, beth sydd o fewn cyrhaedd; a'r rheol i benderfynu hyny ydyw hon, fod y trechaf i weithredu, a'r gwanaf i ymostwng." Ac er dued yr ymddengys athrawiaeth Thrasymachus, nid ydyw yn waeth na'r hyn a broffesai Hobbes ei gredu ddau can' mlynedd yn ôl, yr hwn a ddywedai mai cyflwr naturiol dynion ydyw bod pawb mewn rhyfel yn erbyn pawb arall, ac mai yr unig lwybr i gadw heddwch ydyw ymostyngiad diammodol ar ran pawb i'r penadur, ewyllys yr hwn ydyw unig ffynnonell cyfiawnder a deddf. Yn erbyn yr athrawiaeth hon dadleua Socrates fod gormeswyr yn fynych yn camgymeryd, ac yn gosod ar warau y deiliaid gyfreithiau creulawn, y rhai sydd yn y diwedd yn dychwelyd ar eu penau eu hunain; ac felly, os ymostwng i ewyllys y cryfaf ydyw cyfiawnder, y mae y cyfiawnder, neu yr ufudd-dod hwnw, weithiau, yn groes i fantais y gormeswr. Wedi peth ymladd ofer, cychwyna Thrasymachus o'r newydd trwy ofyn yn wawdlyd, a ydyw bugeiliaid yn pesgi eu defaid er mwyn y defaid, ai er eu mwyn eu hunain. Ond y mae Socrates yn barod i'w gyfarfod â'r atebiad, fod bugail, fel y cyfryw, yn gofalu am ei ddefaid er mwyn y defaid, ac mai fel masnachwr yr edrycha efe am ennill iddo ei hunan trwy eu gwerthu. Yna dengys Socrates nad oes diogelwch na dedwyddwch mewn trais, hyd yn nôd i'r gomeswr ei hun, gan ei fod yn wrthddrych casineb dynion a duwiau.

Fe allai y tueddir rhai i feddwl na ddefnyddia Socrates y rhesymau cadarnaf sydd i'w cael yn erbyn athrawiaeth Thrasymachus. Ond dylid cofio yn barhâus mai oddiar dir gwladyddiaeth yn unig y dadleua Socrates, ac nid oddiar ymchwiliadau i alluoedd y meddwl dynol, yr hwn ydyw y tir a ddewiswyd i sefyll arno gan Butler, ac eraill o wrthwynebwyr Hobbes yn y ganrif ddiweddaf. Ond nid ydyw ymresymiad Socrates yn annigonol ei hunan i ddymchwelyd golygiad ei wrthwynebydd. Dadleua Socrates fod i bob peth ei ddyben a'i waith; amcan uniongyrchol pob crefft a gorchwyl o eiddo dynion ydyw perffeithrwydd gwrthddrych y grefft hono, a pherffeithrwydd unrhyw beth ydyw ei addasrwydd i ateb ei ddyben a chyflawni ei waith. Gan hyny, y mae llywodraethu gwladwriaeth yn grefft, ie, yn un o'r celfyddydau breiniol, amcan yr hon ydyw, nid porthi blysiau y llywodraethwr, ond addasu y deiliaid i gyflawni y gwaith yr anfonwyd pob un o honynt i'r byd i'w wneuthur. Y mae yn deilwng o sylw fod Socrates yn defnyddio yr ymresymiad a elwir "*the argument from design or final causes.*" Os oes i bob peth ei ddyben a'i waith, y mae yn rhaid fod i bob gwaith ei gynllun; ac os oes cynllun

yn y byd moesol, fel y gwelir fod yn y byd naturiol, y mae yn rhaid fod i'r cynllun hwnw ei ddeddfau; ac os oes deddfau, y mae yn rhaid fod rhyw wyddoniaeth yn bod i'n galluogi i adnabod y deddfau hyny; ac mewn perthynas i ddeddfau digyfnewid yn unig, nid damweiniau, y gall fod gwyddoniaeth; y mae y casgliad, gan hyny, yn canlyn yn anorfod nad ydyw moesoldeb yn gyfnewidiol a damweiniol, i'w benderfynu yn ol ewyllys unrhyw ddyn, ond i'r gwrthwyneb, ei fod yn sylfaenedig ar ddeddfau anghyfnewidiol ac angenrheidiol. Yn y modd hwn, dybygwn, y cyfarfyddai ac y gwrthbrofai Socrates osodiad Protagoras, "fod dyn i fesur pobpeth wrtho ef ei hunan," yn gystal ag athrawiaeth Thrasymachus, "treisied y trechaf."

Gwneir ymgais egnïol gan Grote a Lewes i brofi fod Plato yn camddarlunio syniadau y Sophistiaid. Nid ein gwaith ar hyn o bryd ydyw dangos paham nas gallwn dderbyn eu golygiad. Cydnabyddwn fod Grote wedi llwyddo i brofi nad oedd pawb o'r Sophistiaid yn dal yr un athrawiaethau â'u gilydd. Ond y mae yn anghredadwy genym nad oedd Protagoras yn golygu dim mwy wrth ddywedyd "fod dyn yn fesur pob peth," na bod gan ddyn reswm yn ol yr hwn y barna bob gwrthddrych a ymgynnyg i'w sylw; o herwydd dyna olygiad Plato ei hun, ac y mae yn anhawdd meddwl fod Plato a'i wrthwynebwyr yn dal yn hollol yr un golygiadau. Gorfodir ni i gredu mai athrawiaeth Protagoras oedd yr hyn y darlunir hi gan Plato, nad oes un safon i benderfynu moesoldeb gweithred, ond tueddfryd ac opiniwn pob dyn ar y pryd. A chyda golwg ar athrawiaeth Thrasymachus, ni a welsom eisoes nad ydyw ei hanfoesoldeb yn ddigon o reswm dros dybied na cheir dynion i'w mabwysiadu. Nid gormodiaeth ydyw llinellau Shakspeare, ond desgrifiad têg o ddaliadau y dysgawdwyr hyn, yn gystal ag o'r canlyniadau, i ba rai yr arweiniant:

And, hark, what discord follows. Each thing meets
In mere oppugnancy. The bounded waters
Should lift their bosoms higher than the shores,
And make a sop of all this solid globe.
Strength should be lord of imbecility,
And the rude son should strike his father dead.
Force should be right; or, rather, right and wrong,
(Between whose endless jars justice resides,)
Should lose their names, and so should justice too.
Then everything includes itself in power,
Power into will, will into appetite;
And appetite, an universal wolf,
So doubly seconded with will and power,
Must make perforce an universal prey,
And, last, eat up himself.

Gwynebwn, bellach, ar y trydydd cyfeiliornad o berthynas i natur cyfiawnder yr ymgymera Plato â'r gorchwyl o'i wrthbrofi. Ni fŷn Glaucon gydnabod fod Thrasymachus wedi ei lwyr orchfygu, a thybia y gellir dadleu cryn lawer eto dros ei olygiad os gosodir ef mewn ffurf arall, ac os ychwanegir ychydig ato. Swm athrawiaeth Glaucon ydyw hyn:—Wrth natur, gwneyd anghyfiawnder sydd dda, a dyoddef anghyfiawnder sydd ddrwg; ond y mae mwy o ddrwg mewn dyoddef anghyfiawnder nag sydd o dda yn y cyflawniad o hono; o ganlyniad, ymgyfammoda dynion â'u gilydd i ymattal rhag gwneyd anghyfiawnder ar yr

ammod na byddo iddynt ddyoddef anghyfiawnder. Pe yr edrychech ar y dyn cyfiawn wedi ei amddifadu o holl fanteision cyfiawnder, ac yn dyoddef megys anghyfiawn, a'r anghyfiawn, ar y llaw arall, yn mwynhâu y manteision sydd yn deilliaw oddiwrth yr enw o fod yn gyfiawn, buan y penderfynid pa un ai cyfiawnder ai anghyfiawnder yw y goreu a'r mwyaf dewisol. Cefnogir Glaucon gan ei frawd Adeimantus, yr hwn a chwanega na chlywir edmygwyr cyfiawnder un amser yn canmawl y peth ei hun, cyfiawnder, ond yn annog ieuenctyd i'w ddilyn er mwyn enw da ymhlith dynion, a'r gwobrwyon mwy sylweddol a rydd y duwiau i'r cyfiawn yn y byd hwn a'r hwn a ddaw. Heblaw hyny, cwyna pawb yn ddieithriad, mai llwybr cûl, garw, a chwbl groes i natur ydyw gyrfa y cyfiawn diniwed, tra y mwynhâ yr anghyfiawn cyfrwysgall dda y byd hwn yn helaethwych beunydd. Dangoswch i ni, Socrates, fod cyfiawnder yn well nag anghyfiawnder ynddo ac erddo ei hun, heb gymeryd i ystyriaeth y rhagolwg ar wobr ddyfodol.

Cyn i ni fyned rhagom at atebiad Socrates, y mae yn angenrheidiol i'r darllenydd sylwi fod Glaucon yn gorphwys ei athrawiaeth ar yr un egwyddor sylfaenol â Thrasymachus, nad oes dim yn gyfiawn nac yn anghyfiawn ynddo ei hun, ond mai addasrwydd unrhyw weithred i weinyddu pleser i'r dyn ei hunan ydyw yr unig beth a benderfyna pa un a ydyw y weithred hono yn gyfiawn ai nad ydyw. Ond tra y dywed Thrasymachus, ymhellach, nad oes un reol i benderfynu hawl unrhyw un i gymeryd meddiant o ba beth bynag a weinydda bleser iddo ef ei hun ond y "trechaf treisied," mŷn Glaucon, ar y llaw arall, ychwanegu, tra y cyttuna mai dyna yw y rheol naturiol a chyntefig, fod dynion wedi ymgyfammodi â'u gilydd i ymwrthod â'u hawl i ormesu ar eraill ar yr ammod fod eraill yn ymwrthod â'u hawl i ormesu arnynt hwythau. Gwelsom o'r blaen fod athrawiaeth Thrasymachus yn gyffelyb i egwyddor sylfaenol Hobbes, mai cyflwr naturiol dynion ydyw bod mewn rhyfel, y naill yn erbyn y llall. Y mae yr ychwanegiad a rydd Glaucon at y syniad yna yn cyfateb yn hollol i'r rhan arall o athrawiaeth Hobbes, sef fod dynion yn ymgyfammodi i fyw mewn heddwch â'u gilydd. Ond y mae hyn o wahaniaeth: tra y gâd Glaucon yr awdurdod i benderfynu pa beth sydd ar bob achlysur yn gyfiawnder yn nwylaw y rhai a wnaethant y cyttundeb, yr hyn sydd yn cadw i fyny hoff egwyddor y Groegiaid, mai llywodraeth y dinasyddion eu hunain yw y llywodraeth oreu, dyry Hobbes yr holl awdurdod i benderfynu pa beth sydd gyfiawnder yn nwylaw un penadur; a thrwy wneyd hyny, dychwel, mewn gwirionedd, y ffordd y daeth; ailgofleidia athrawiaeth Thrasymachus, a dinystria yr egwyddor o gyfammod a fabwysiedid ganddo o'r blaen. Oblegid os ymgyfammododd y dinasyddion i roi eu holl hawlfreintiau i fyny i ddwylaw un dyn, ac i ymostwng yn ddiammodol i'w ewyllys ef, pa beth bynag a orchymyna, heb fod ganddynt un hawl i alw yr awdurdod hwnw yn ôl os camddefnyddir ef, ofer ac afreidiol ydyw sôn am gyfammod. Teyrnasa y gormeswr hwnw "*by the divine right of kings;*" yr hyn ydyw sylwedd athrawiaeth Thrasymachus.

Y mae y tebygolrwydd hwn rhwng syniadau y dynion hyn yn deilwng o sylw; canys fe ddengys fod Plato yn hollol gywir pan yr olrheinia hwynt i'r un egwyddor sylfaenol, hunanoldeb. Nis gall fod ond dwy gyfundrefn wahanol o foesoldeb. Un ai y mae gweithred dyn yn

gyfiawn am ei bod yn gweinyddu pleser iddo ef ei hunan, neu y mae gweithred yn gyfiawn ynddi ei hun ac o angenrheidrwydd natur. Os mabwysiadwn y naill olygiad, gall pob gweithred fod yn gyfiawn neu yn anghyfiawn yn ol yr amgylchiadau; yn ol y golygiad arall, y mae rhai gweithredoedd bob amser ac ar bob amgylchiad yn gyfiawn, tra y mae y gweithredoedd gwrthwyneb iddynt bob amser ac ar bob amgylchiad yn anghyfiawn. Ac yn nghanol yr amrywiol gyfundraethau moesol a gynnygir i sylw y byd, nid ydyw yn anhawdd dangos pa fodd y tardd pob un o honynt o'r naill neu y llall o'r ddwy egwyddor hyn. Edrycher, er enghraifft, ar y gyfundraeth a elwir Buddiolaeth (*Utilitarianism*). Gellir rhanu y gyfundraeth hon yn ddwy. Y mae un o'r ddwy yn hollol gyfystyr âg athrawiaeth Glaucon, mai cyfiawnder ydyw pa beth bynag a rydd bleser i'r dyn ei hunan. Gwêl pawb mai hunanoldeb ydyw yr egwyddor sydd yn gorwedd dan y gyfundraeth yna. Ond ymddengys Buddiolaeth mewn ffurf newydd yn nwylaw Bentham, yr hwn a ddywed mai cyfiawnder ydyw pa beth bynag a rydd fwyaf o bleser neu ddedwyddwch (canys golyga ef y ddau yn gyfystyr), i'r nifer mwyaf o ddynion. Ond os gofynwn i bleidwyr y gyfundraeth hon, drachefn, paham y dylai pob dyn feddwl am ddedwyddwch dynion eraill, nid oes ganddynt ond un o ddau atebiad i'w roddi, sef un ai fod dedwyddwch dynion eraill y moddion goreu i ychwanegu dedwyddwch y dyn ei hun, yr hyn sydd yn ein taflu yn ôl ar hunanoldeb, neu ynte ei fod yn beth iawn ynddo ei hun i bob dyn ofalu am ei gyd-ddyn, yr hyn sydd yn ein symud ar unwaith o dir buddioldeb i'r gyfundraeth wrthgyferbyniol, mai cyfiawnder angenrheidiol y weithred sydd yn gosod rhwymau arnom i'w chyflawni. A phe yr edrychem, ymhellach, ar y gwahaniaeth rhwng Bentham a'i ddysgybl J. S. Mill, canfyddem yma eto yr un ymraniad gwreiddiol. Nid yw Bentham yn gwahaniaethu rhwng pleserau uchel a chanmoladwy, a phleserau isel a gwarthus; ond haera Mill fod y gwahaniaeth hwn yn bod rhwng y naill bleser a'r llall. Gofynwn, gan hyny, beth yw yr achos fod un pleser yn rhagori ar un arall? Ni ddichon fod ond un atebiad, a hwnw ydyw, fod rhagoriaeth angenrheidiol rhwng y da a'r drwg yn peri fod rhai pleserau yn ganmoladwy, a phleserau eraill yn ddirmygedig; ac y mae hyn eto yn ein symud oddiar sylfaen Buddiolaeth. Pa fodd bynag, ein hamcan ar hyn o bryd, ydyw dangos, nid fod y gyfundraeth hono yn sigledig ac anfoddhäol, ond y gellir ei holrhain un ai i'r egwyddor o hunanoldeb, neu i'r athrawiaeth a goleddir gan Plato, fod gwahaniaeth angenrheidiol a thragywyddol rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder ynddynt eu hunain.

Pan y deuwn at atebiad Socrates, yn lle ymdroi yn hŵy gyda'r gorchwyl nacäol o wrthbrofi cyfeiliornad, dechreua Plato ddadblygu ei athrawiaeth ei hun trwy gyffelybiaeth ag sydd yn rhwym, ar y cyntaf, o daro y darllenydd â syndod nid bychan. Y gyffelybiaeth hon ydyw y pegwn y try yr holl ymddyddan dilynol arno :—

**Pe gorchymynid i ddynion, heb feddu golwg craff, ddarllen ysgrifen mewn llythyrenau mân o bell, a phe deallent fod yr un ysgrifen mewn lle arall mewn llythyrenau mwy, ac ar daflen fwy, ymddangosai iddynt yn ddygwyddiad ffodus os gallent yn gyntaf ddarllen y llythyrenau mawr, ac yna, pe dygwyddent fod yr un peth, craffu ar y llythyrenau mân. Ond, os perthyna cyfiawnder i un dyn, ceir ef hefyd rywfodd yn y ddinas i gyd; ac y mae y ddinas yn fwy nag un dyn. Fe allai, gan hyny, y caem fod cyfiawn-**

**der ar y daflen fwyaf yn fwy cyflawn, ac yn haws i'w ddeall. Os felly, gadewch i ni ymofyn beth ydyw natur cyfiawnder mewn dinasoedd, ac wedi hyny ystyriwn ei natur ymhob dyn unigol, gan ystyried fod cyffelybrwydd y mwyaf o'r ddau i'w ganfod yn ffurf y lleiaf.**

Ymosoda Socrates yn uniongyrchol ar y gwaith o egluro tarddiad a natur y wladwriaeth, mewn trefn i ddarganfod cyfiawnder; ac wedi dyfod o hyd iddo yn y wladwriaeth, cymhwysa ffrwyth ei ymchwiliad at y dyn unigol. Mae yn eglur mai yr egwyddor ar ba un y gorphwys yr ymresymiad hwn ydyw, fod y wladwriaeth a'r dyn unigol yn ddarlun y naill o'r llall. Cynnwysa y dyn unigol wladwriaeth fechan ynddo ei hun, a pherthyna i'r wladwriaeth yr holl wahanol alluoedd a ganfyddir yn y dyn unigol. Ond nid dyna y cwbl. Nid yn unig y mae dyn yn gysgod o'r wladwriaeth, ond cysgod yn unig ydyw, ar wahân oddiwrthi. Y wladwriaeth yn unig a fêdd wir unoliaeth ac annibyniaeth. Gan hyny, y mae yn angenrheidiol i ni fyned rhagom i sylfaenu gwladwriaeth berffaith, gan mai ynddi hi yn unig y sylweddolir y perffeithrwydd a'r unoliaeth hwnw, cyrhaeddyd yr hwn ydyw dyben mawr athroniaeth. Ond na feddylied neb mai ffurflywodraeth berffaith ydyw perffeithrwydd y wladwriaeth. I'r gwrthwyneb, perffeithrwydd meddyliol a moesol yn unig a wna wladwriaeth berffaith. Os dangoswn pa fodd y gall y dinasyddion ddyfod i feddiant o hwn, nid ydyw o fawr bwys pa fath fydd y ffurflywodraeth, pa un ai unbenaeth, ai pendefigaeth, ai gwerinlywodraeth. Ond yr unig ffordd i'r wladwriaeth gyrhaedd perffeithrwydd meddyliol a moesol ydyw, addysg athronyddol, trwy yr hon y gall y dinasyddion esgyn yn raddol i gymundeb â'r drychfeddyliau tragywyddol, y rhai ydynt yr unig sylweddau gwirioneddol mewn bod. Mae yn ofynol, gan hyny, i ni ffurfio cynllun o addysg yr hwn a arweinia y meddwl i gymdeithas â byd y drychfeddyliau. Ar yr un pryd, nid yw y ffurflywodraeth yn hollol ddibwys; o herwydd nid oes ond un ffurflywodraeth a all lwyddo i osod yr addysg athronyddol hon i orphwys ar seiliau cedyrn yn ein gwladwriaeth; a'r llywodraeth hono ydyw teyrnasiad athronwyr. Erbyn hyn gorphenwyd sylfäenu y wladwriaeth berffaith, yn yr hon y preswylia cyfiawnder. Rhaid cyfaddef ei bod hithau, fel pob peth arall yn y byd hwn, mewn perygl o lygru; ac, yn wir, gellir olrhain cynnydd y llygriad hwn o'i ddechreuad i'w ddiwedd yn y wladwriaeth yn gystal ag yn y dyn unigol. Ond yn y nefoedd, medd Plato, bydd yr enaid yn ddinesydd gwladwriaeth anllygredig a diddiflanedig. Nid oes, gan hyny, ddim yn eisieu i goroni y cwbl ond profi fod yr enaid yn byw yn anfarwol mewn byd arall. Ni a dybygem fod hynyna yn amlinelliad lled gywir o'r gweddill o'r ymddyddan. Fe allai y bydd y braslun hwn yn gynnorthwy i'r darllenydd, fel yr äwn rhagom, i weled trefn a chysylltiadau y rhanau helaeth hyny o'r "Wladwriaeth" nad ydym eto wedi cyffwrdd â hwynt.

Ymddengys dau wahaniaeth arbenig rhwng y cynoesoedd â'r oesau diweddaraf yn eu dull o feddwl. Y cyntaf ydyw, fod yr henafiaid yn dysgu trwy esiamplau, tra yr addysgir dynion yn awr, gàn mwyaf, trwy reolau. Yr oedd dylanwad *ideals*, neu enghreifftiau perffaith yn y dychymyg, yn llawer iawn cryfach yn yr hen oesoedd. Nid oeddid wedi gweled y gwahaniaeth eto rhwng prydferthwch a gwirionedd; tra y mae dynion yn y dyddiau hyn yn rhy barod, yn ein tyb ni, i redeg i'r eithaf-

ion yn yr ochr arall, ac anghofio fod prydferthwch a gwirionedd yn eu gwreiddyn yr un peth. Tuedd y cynoeswyr oedd golygu unrhyw beth yn wirionedd a ymddangosai iddynt hwy yn brydferth. Onid oes tuedd ormodol yn awr i alw llawer o bethau yn brydferth sydd ymhell o fod yn wirionedd? Yn nyddiau Plato prin y canfyddid y gwahaniaeth eto rhwng barddoniaeth ac athroniaeth; ond ni fŷn llïaws yn yr oes hon gydnabod yr undeb sydd rhyngddynt. Ac o'r ddau, gwell ydyw tueddfryd yr henafiaid; oblegid yn y byd gweledig isod yn unig y mae syniadau y deall a chrëadigaethau y dychymyg yn wahanol ac yn wrthwyneb i'w gilydd: yn y byd ysbrydol y mae pob gwirionedd yn wrthddrych i'w sylweddoli gan y meddwl trwy weithrediad dychymyg ysbrydol, a phob gwrthddrych a welir yn brydferth gan lygad ffydd yn wirionedd digyfnewid; yno y mae pob bardd yn athronydd, a phob athronydd yn fardd. Gellir olrhain y gwahaniaeth hwn rhwng y cynoesau â'r oesau diweddaraf yn eu syniadau am addysg, am y celfyddydau, ac am foesau. Yn ein dyddiau ni, y duedd gyffredinol ydyw, crynhöi yr holl addysg a roddir i blant yn yr ysgolion i gyfres o reolau manwl, deall a dilyn y rhai ydyw prif uchelgais y bachgen, a chyfyngu ei sylw at y canghenau hyny o wybodaeth y gellir eu dwyn o dan reolau, megys rhifyddiaeth. Ond amcan y ddysgyblaeth trwy yr hon yr addysgid pob dinesydd yn Athen, oedd prydferthu y dyn; ei ffurfio yn lluniaidd o gorff trwy ymarfer â chaledi, a gwneyd ei enaid yn brydferth trwy ymgydnabod â phrif weithoedd yr hen feirdd. Os tröwn at y celfyddydau, gwelwn yr un peth. Os oes un gair a gyflëa i'n darllenwyr syniad gweddol gywir o cymeriad y Groegiaid gynt fel cenedl, y gair harddwch ydyw hwnw; harddwch yn tarddu o drefn, a'r drefn hono yn ymgodi yn unol â deddf, a'r ddeddf hono yn llywodraethu yn natur y peth ei hun oddifewn, fel ag i fod yn amddiffynydd rhyddid yn gystal â threfn, pa un bynag ai yn y dyn unigol ai yn y wladwriaeth. Yn y cenhedloedd dwyreiniol y briodoledd amlycaf ydyw ufudd-dod i ddeddf ag sydd yn llywodraethu oddiallan, a gorlethid meddyliau dynion gan y syniad o allu, pa un bynag ai gallu elfenau anian, ai gallu milwrol gormeswyr. Ni raid ond adgoffa pyramidau yr Aipht a muriau Babilon er mwyn gweled mai mawredd, ac nid prydferthwch, oedd unig ddrychfeddwl y dwyrain, oddieithr ymysg y genedl hono a ddysgwyd i fyned trwy y "porth prydferth" i "edrych ar brydferthwch" uwch eto oddifewn i'r deml; ac effaith anorfod y drychfeddwl o fawredd ydyw gorthrechu a chaethiwo cynneddfau y meddwl. Ond yn Groeg, y prif ddrychfeddwl oedd prydferthwch; ac effaith uniongyrchol y syniad hwn ydyw rhyddhâu ac ehangu y meddwl. Ac nid ar y cenhedloedd dwyreiniol yn unig y rhagorai y Groegiaid yn yr ystyr hwn. Cydnebydd pawb fod hen gelfyddydwyr Groeg yn medru gwneyd cerfluniau mor berffaith o ran prydferthwch, fel nas gall un cerfluniwr yn yr oesoedd diweddaraf ymgystadlu â hwynt. Yn wir, nid yw y rhagoriaeth hwn ond yr hyn a ddysgwylid. Yn y cynoesoedd yr oedd y byd yn blentyn, a dysgai, fel y dysga plentyn, trwy ddarluniau; ond pan aeth y byd yn hen, dysgodd profiad mynych ef i olrhain y deddfau sydd yn llywodraethu gwahanol wrthddrychau, ac, yn lle efelychu, cyrhaeddai ei amcanion yn rhwyddach trwy ddilyn rheolau. Y mae dyn wrth heneiddio yn dueddol o fyned yn llawer llai o gelfyddydwr ac yn llawer mwy o beiriannydd. Ac, er

mor werthfawr ydyw dyfeisiadau peiriannol yr oesoedd diweddaraf hyn, os collir ysbryd y celfyddydau breiniol, yr hwn yw y gallu i garu ac edmygu y prydferth, bydd y golled yn llawer mwy na'r ennill. Os edrychwn, drachefn, ar syniadau moesol y Groegiaid, canfyddwn yr un gwahaniaeth rhyngddynt hwythau â chyfundraethau moesol y dyddiau hyn. Nid prif ymholiad y Groegiaid oedd, Pa beth sydd ddyladwy? ond, Pa beth sydd hardd? Ni cheir yn eu llyfrau gyfres o reolau yn cynnwys "holl ddyledswydd dyn;" ond clywn ynddynt, yn enwedig yn ymddyddanion Plato, appeliadau grymus a bywiog i'n codi o'n caethiwed dan iau y byd hwn i ymgyrhaedd at berffeithrwydd,—

O wâr pob peth crëedig,
Yn uchel iawn i'r làn.

Mae deall y mater hwn yn anhebgorol tuag at i ni fedru iawn brisio athroniaeth Plato, yr hwn oedd yn Roegwr o'r Groegiaid, gan mai enaid a hanfod ei holl ddysgeidiaeth ydyw gosod dyn ar y llwybr a arweinia o'r diwedd at y drychfeddyliau perffaith.

Ond y mae gwahaniaeth arall rhwng y cynoesoedd â'r oesau diweddaraf, yr hwn a gyfyd o'r gwahaniaeth a nodwyd, ac, ar yr un pryd, a saif mewn gwrthgyferbyniad iddo. Edrychai yr henafiaid am berffeithrwydd, nid yn y dyn unigol, ond yn y wladwriaeth. Rhoddai y duedd a enwyd o'r blaen i chwilio am enghraifft o berffeithrwydd, yn hytrach nag am reol perffeithrwydd dylanwad dirfawr yn nwylaw pob dyn y meddylid ei fod wedi ymddyrchafu yn nês at y perffeithrwydd hwnw na'i gyfoedion; ac effaith y duedd arall i feistroli rheolau yn hytrach nag efelychu meistriaid celfyddyd ydyw lleihâu dylanwad pob dyn unigol, a chryfhâu gallu lliaws o ddynion gyda'u gilydd. Ond yn wrthgyferbyniol i'r duedd a nodwyd, canfyddir yn y cynoesoedd duedd arall, sef tuedd i fawrhâu y wladwriaeth ar draul darostwng y dyn unigol. Ac y mae yn ddiammheu, er mor ddyeithr y gall hyny ymddangos i ni, fod y duedd wladgarol hono wedi bod yn un o'r moddion mwyaf effeithiol i gadw rhyddid y Groegiaid heb ei ddinystrio gan ddylanwad a gallu gormodol unrhyw ddyn. Yr hyn a fuasai yn llethu rhyddid yn ein dyddiau ni, a gadwai ryddid y pryd hwnw yn fyw.

Ond nid yn unig saif y gwahaniaeth hwn rhwng syniadau yr henafiaid ac oesau diweddaraf y byd mewn gwrthgyferbyniad i'r gwahaniaeth arall a eglurwyd uchod, ond achlysurir ef hefyd ganddo. Bu rhai o'r dynion mwyaf treiddgar eu meddyliau yn ymdrechu tynu cynllun dychymygol o wladwriaeth berffaith. Ond, os craffwn, ni a welwn fod pob un o'r cynlluniau hyn wedi ei wneyd mewn adeg pan y cyll y meddwl dynol ei hyder ynddo ei hunan fel safon gwirionedd, ac yr edrycha am sefydlogrwydd mewn undeb cymdeithasol a gwladwriaethol, a phan, ar yr un pryd, y sigla cadernid cymdeithas a gwladwriaeth hyd at eu sylfeini. Dyna oedd agwedd y byd pan gynlluniodd Plato ei wladwriaeth ddychymygol. Yr oedd efe yn byw yn Athen yn niwedd y bummed ganrif cyn Crist, pan y dygai y Sophistiaid allan eu hathrawiaeth ddinystriol na fêdd y meddwl dynol un gallu i farnu fod gwahaniaeth hanfodol rhwng gwirionedd ac anwiredd, rhwng y da a'r drwg, a phan yr oedd Athen, ar yr un pryd, yn gorwedd yn adfeilion dan draed haiarnaidd Sparta; mewn geiriau eraill, pan y dinystrid

seiliau moesoldeb yn y meddwl oddifewn, ac yn y wladwriaeth oddiallan. Os deuwn i lawr hyd at sefydliad Cristionogaeth, nis gallwn lai na chydnabod y pwys mawr a roddai ei Sylfaenydd Dwyfol, yn gystal a'i ragredegydd a'i apostolion, ar y syniad mai gosod i lawr yr oeddynt egwyddorion gwladwriaeth berffaith, yr hon a alwent "Y Jerusalem Nefol," "Teyrnas Nefoedd," a "Dinas Duw," o dan lywodraeth benarglwyddiaethol un Brenin goruchel. Ond fe sefydlwyd Cristionogaeth drachefn pan yr oedd athroniaeth yn trengu, ar y naill law, a phan yr ymweithiai marwolaeth a llygredigaeth, ar y llaw arall, trwy holl gyfansoddiad ymherodraeth Rhufain; pan y gofynai Pilat yn wawdlyd, "Pa beth yw gwirionedd?" gan droi ymaith, "heb aros am atebiad," oddiwrth Un a dybid yn ddysgawdwr ei oes, a phan yr anmherchid gwirionedd ymarferol, nid yn unig gan y rhaglaw a ŵyrai farn, ond gan y rhai a eisteddent ar yr orsedd ymherodrol ac yn senedd Rhufain, a phan lywodraethid dynion yn gyffredinol gan nwydau anifeilaidd a chythreulig. Mewn oes ddiweddarach, er fod athroniaeth yn cilio fwyfwy yn barhâus o dir gwladwriaethol i fröydd tawelach y meddwl dynol, cyfarfyddwn âg un enghraifft hynod o'r mater yr amcanwn ei ddangos. Yn yr eilfed ganrif ar bymtheg, canfyddwn gydgyfarfyddiad o derfysg cymdeithasol a philosophi anffyddol yn achlysuro ymdrechion i benderfynu pa un yw y ffurflywodraeth berffeithiaf. Yr enghraifft fwyaf nodedig o hyn ydyw y llyfr hwnw o eiddo Hobbes a elwir "Leviathan," yn yr hwn y gwâd yn bendant fod gan y meddwl un gallu uwch na'r synwyrau corfforol a'r cynneddfau hyny a ymddadblyga tywy weithrediad y synwyrau, ac y ceisia ddangos, ynghanol cythrwfl cymdeithas a dymchweliad hen sefydliadau gwladwriaethol, mai yn y brenin yn unig, yr hwn a osodir gan Dduw, y cartrefa cadernid ac awdurdod diammodol. Er fod yr amrywiol syniadau hyn yn gwahaniaethu yn ddirfawr oddiwrth eu gilydd, cyttunant oll mewn un peth; oblegid ffurfia pob un o honynt gynllun o wladwriaeth ddychymygol, er mwyn cyrhaedd sicrwydd nas gall dynion ei ganfod, nag oddifewn yn y meddwl ei hunan, nag oddiallan yn agwedd cymdeithas ar y pryd.

Fe allai mai hwn ydyw y gwahaniaeth pwysicaf rhwng y syniadau am natur moesoldeb a ffynai cyn sylfaenu Cristionogaeth, a'r syniadau a orwedd wrth wraidd yr holl gyfundraethau athronyddol a ymddangosasant wedi hyny. Yn y cynoesoedd ni welwyd eto y gwahaniaeth rhwng athroniaeth foesol ac athroniaeth wladyddol, ond yn aneglur iawn. Golygid moeseg fel rhan o wladyddiaeth. Ond yn yr oesoedd diweddaraf y mae y ddau wedi ymranu yn hollol oddiwrth eu gilydd. Yr unig undod y gallai yr henafiaid feddwl am dano oedd y wladwriaeth. Nid oedd y dyn unigol ond rhan doredig a diwerth hyd nes y gosodid ef yn ei le yn y cyfanwaith gwladwriaethol. Erbyn hyn y dyn unigol ydyw y cyfanwaith, a theimla ein darllenwyr, mae yn debyg, radd o anhawsder i ddychymygu mai y ddinas neu y wladwriaeth sydd yn meddu unoliaeth. Yn ol syniadau y Groegiaid, yr oedd pob dinas yn wladwriaeth annibynol. Nid oedd ganddynt ond un enw (πόλις) am y wladwriaeth a'r ddinas. Llywodraethai pob dinas ei hachosion ei hunan a hawliai wasanaeth ac ufudd-dod llwyr a diammodol pob un o'r dinasyddion. Nid oedd neb o honynt yn byw iddo ei hun, nac yn marw iddo ei hun. Eiddo y ddinas ydoedd y dinesydd, a'i uchelgais anwylaf oedd aberthu ei hun ar

allor ei gogoniant. Edrychai y Groegiaid i lawr gyda y dirmyg mwyaf ar y dyeithriaid a ymsefydlent yn eu dinasoedd i'r dyben o ymgyfoethogi trwy gario ymlaen orchwylion masnachol. Edmygai Demosthenes wladgarwch yr hen Atheniaid, y rhai a breswylient eu hunain mewn tai tô gwellt, ond a adeiladent demlau y ddinas o farmor caboledig. A phan yr anghofiodd Athen barchu annibyniaeth dinasoedd eraill, cynhyrfai hyny ddigofaint dyfnaf y genedl. Yr oedd gan bob dinas, pa mor ddistadl bynag y gallai fod, ei duw ei hun i'w hamddiffyn, yr hyn a osodai argraff o gysegredigrwydd ar ei hannibyniaeth.

Yr oedd y teimlad hwn yn gryfach yn nyddiau Plato nag y bu, fe allai, erioed o'r blaen, ac, yn sicr, nag y bu byth wedi hyny. Yr amgylchiad a argraffodd yn ddwfn ar feddwl pob Groegwr fod natur ei hun wedi gwneyd gwahaniaeth annileadwy, a gosod gwrthglawdd nad ellid myned trosto rhwng Groegiaid a Barbariaid, rhydd a chaeth, oedd eu gorchestwaith yn ymlid y Persiaid adref pan y goresgynasant Ewrop. Ond ennillwyd y fuddugoliaeth fawr hon, nid gan y genedl, ond gan y dinasoedd. Ymostyngasai lliaws o'r Groegiaid i frenin Persia, a gweithredai y lleill yn hollol annibynol ar eu gilydd, ond yn unig i'r graddau y gosodai y dinasoedd lleiaf eu hunain yn wirfoddol dan arweiniad Athen neu Sparta. Nid ymladdai neb yn erbyn y Persiaid ar faes Marathon ond Athen a Platæa. Yn nghilfach Thermopylæ, dinasyddion Sparta oedd yr unig gryfder; ac oni bae ymdrechion Athen yn yr holl frwydrau dilynol, buasai Groeg dan draed y goresgynydd. Rhyfel oedd hon mewn modd arbenig rhwng ychydig o ddinasoedd rhydd a chenhedloedd cyfain o gaethion. Y canlyniad fu i'r syniad wreiddio yn ddwfn yn meddyliau y Groegiaid mai yr undeb cryfaf oedd undeb dinasyddion yn cyfansoddi un wladwriaeth, ac mai y wladwriaeth berffeithiaf oedd llywodraeth annibynol dinas Roegaidd. Golygent y ddinas fel unoliaeth, fel *individual*, a llefarent am dani fel y siaredir yn awr am berson unigol.

Cysyllter hyn â'r ffaith hynod na wawriodd y drychfeddwl o berson erioed ar y byd paganaidd, megys ag y gwelir ef yn ngoleuni Cristionogaeth. Yn ol syniad y Groegiaid nid yw y dyn unigol yn unoliaeth o gwbl. Megys nad ydyw y llygad yn lygad heb fod yn y corff, na'r corff yn gorff heb fod mewn undeb bywyd â'r enaid, felly nid yw y dyn unigol yn bod o gwbl fel dyn, ond yn unig fel dinesydd. Hynod mor dywyll oedd syniad y Groegiaid am ryddid ewyllys. Ei fod yn meddu ar ewyllys a bâr fod dyn yn berson, yn un cyfanwaith ac nid yn llawer o ranau. Ond y mae yn ffaith nodedig na ffurfiodd y Groegiaid syniad clir am y gofyniad o barth i ryddid yr ewyllys, nac, yn wir, am yr ewyllys ei hunan. Mae yn wir fod Democritus wedi dyweyd "nad yw dyn ond hanner caeth," a bod Aristotle yn ymresymu ar y pwnc, A ydyw dyn yn rhydd ai nad ydyw? Ond pan edrychwn i mewn i'r rhesymau a ddwg yr athronydd ymlaen i brofi fod dyn yn rhydd, ni a ganfyddwn yn fuan mai yr hyn sydd gan Aristotle mewn golwg ydyw rhyddid oddiwrth dynged, ac mai rhy brin y gellir golygu ei fod ef yn cyffwrdd â'r gofyniad dyfnach a ydyw yr ewyllys yn penderfynu ei dewisiadau ei hun, neu ynte a benderfynir ei dewisiadau gan y cymhelliad cryfaf sydd ar y pryd yn ymgynnyg i'r meddwl. Yn wir, nid oedd gan y Groegiaid un gair yn eu hiaith am yr ewyllys fel cynneddf yn meddwl dyn. Fe allai, fel y sylwa Coleridge, mai y gair θυμός yn Plato ydyw yr agosaf ato. Oblegid

y diffyg hwn o'r drychfeddwl am berson wrth wraidd eu syniadau moesol, nid oedd gan y Groegiaid ddim y gellir ei alw yn briodol yn dduwinyddiaeth; o herwydd yn y drychfeddwl hwnw y mae athroniaeth a duwinyddiaeth yn cydgyfarfod. Ac oblegid na feddent syniad cywir am dduwinyddiaeth yr oedd y Groegiaid, fel yr holl genhedloedd paganaidd, ymhell ar ol mewn dyngarwch a phurdeb cymdeithasol. Aberthent eu bywydau eu hunain a bywydau eu plant anafus gyda'r un dideimladrwydd ag y dinystrient eu gelynion; a chan "dywyllwch eu calon anneallus" am natur pechod a chyfrifoldeb dyn, ymwerthent i bob llygredigaeth. Ni chydnabyddent hawl neb i ryddid ond dinaswyr Groeg. Am y gweddill o ddynion, nid oeddynt ond megys dodrefn mewn tŷ, neu anifeiliaid ar y buarth, neu ysglyfaeth i'w ddyfetha. Wedi yr holl haeriadau nad oes dim newydd yn nghrefydd y Testament Newydd, gorfodir ni i gredu mai Cristionogaeth a ddadguddiodd i'r byd y gwirionedd mawr fod pob dyn yn berson rhydd, yn meddu hawliau ei hunan, ac yn gyfrifol drosto ei hun i'w Farnwr. Yn y llyfr Dwyfol y gwawria arnom y drychfeddwl o unoliaeth Duw, ac, mewn canlyniad, y drychfeddwl cyferbyniol o unoliaeth personol pob dyn; ac o hyn daw goleuni ar bethau oedd yn nghûdd er dechread y byd. Dyrchefir athroniaeth trwy ei huno â duwinyddiaeth, a gwneir athroniaeth a duwinyddiaeth yn ddyngarol, ac yn foddion i gynnyrchu dyngarwch ymhob dyn at bob dyn arall o bob iaith a chenedl.*

Yn ol syniad Plato, gan hyny, y wladwriaeth yn unig sydd yn cyfansoddi unoliaeth. Amgyffrediad trwyadl o'r gosodiad hwn, ni à dybygem, ydyw y peth mwyaf anhebgorol tuag at ddeall "Y Wladwriaeth." Y mae yn hen ddadl ymhlith rhai o esbonwyr Plato, pa un ai traethawd ydyw y llyfr ar athroniaeth foesol, ai ar athroniaeth wladyddol; pa un ai amcan yr awdwr oedd egluro natur cyfiawnder, ai gosod i lawr gynllun o wladwriaeth berffaith. Ond y gwirionedd ydyw, mai mewn gwladwriaeth ber-

* Tueddir ni i feddwl y dylid olrhain y gwahaniad rhwng y dyn unigol a'r wladwriaeth, i weithrediad Cristionogaeth ar y gyfraith Rufeinig. Nis gallwn, ar hyn o bryd, wneyd mwy na rhoddi yr awgrym hwn. Ond dengys y dyfyniad dyddorol a ganlyn fod y gwahaniad uchod heb ei wneyd hyd heddyw mewn rhai gwledydd na ddaethant o dan ddylanwad y gyfraith hono:—"Every person in Russia who does not belong to the nobility, or the *bourgeoisie*, must necessarily belong to some *commune*. The *commune* of Russia is simply a slightly modified form of the village community which was one of the earliest institutions of the Indo-Germanic race, and is still the basis of society in Hindostan. Modern jurisprudence, following the mature Roman law, looks, in the words of Mr. Maine, 'upon co-ownership as an exceptional and momentary condition of the rights of property;' but in India, and we may add in Russia, this order is reversed. It is separate proprietorship that is exceptional, while co-ownership is normal * * * The idea of sanctity attaches to the *commune*. The *commune* or microcosm is, or rather should be, in theory as regards the state, a single individual. The state has no right to go beyond it. It is responsible for all its members, and its deliberations ought to be regarded by all external to it, as we in the West should regard the workings of a man's own mind."—Mr. Grant Duff, yn ei lyfr rhagorol, "*Studies in European Politics*," tu dal. 77.

Mae hyn bron yr un peth ag annibyniaeth dinasoedd bychain Groeg. Yn Rhufain, ar y llaw arall, ni a welwn un ddinas yn llyncu i fyny annibyniaeth pob dinas arall, ac yn teyrnasu â gwïalen haiarn ar yr holl fyd. Gellid meddwl, ar yr olwg gyntaf, mai effaith hyn oedd dinystrio pob gobaith i'r dyn unigol ymddadblygu; ac, yn ddiammheu, hyny fu y canlyniad uniongyrchol. Ond yn anuniongyrchol tueddai i gynnyrchu yn meddwl y dyn unigol ymdeimlad o annibyniaeth a chyfrifoldeb, am ei fod yn ei ddwyn yn bersonol i gysylltiad digyfrwng â'r unig awdurdod gwladwriaethol mewn bod. Os rhaid iddo ymostwng i gyfraith Rhufain, teimlai fod yr ymostyngiad hwnw ei hunan yn ei godi uwchlaw pob awdurdod arall. Po mwyaf digyfrwng y bydd perthynas y deiliaid â'r awdurdod uchaf, diogelaf fydd eu rhyddid.

ffaith yn unig y dysgwyliai Plato ddyfod o hyd i gyfiawnder, ac mai oddiar dir gwladyddiaeth yr edrychai ar wirioneddau moesoldeb. Wedi dyfynu y rhanau canlynol o'r ymddyddan ar y pwnc hwn, y rhai, fel y dywed Zeller yn hollol gywir, a roddant yr agoriad i ni i holl gyfundraeth wladwriaethol Plato, ni a ohiriwn y gweddill o'n sylwadau hyd y rhifyn nesaf:

"Wel," meddwn innau, "gwynebwn yn awr ar yr hyn a gymherais i'r 'dòn fwyaf' a ddaethai i'n herbyn. Mi a'i dywedaf ef, gan hyny, er iddo, megys tòn yn ymdòri, fy nghladdu o'r golwg dan wawd a dirmyg. Ystyriwch yr hyn yr wyf ar fedr ei ddywedyd."—"Ewch ymlaen," atebai yntau.—"Os na fydd i'r athronwyr lywodraethu yn y dinasoedd, neu i lywodraethwyr a phenaethiaid y byd hwn ymarfer âg athroniaeth yn ddiragrith ac i raddau digonol,—os na bydd i awdurdod wladwriaethol ac athroniaeth gyfarfod yn yr un dynion, ac i'r rhan fwyaf o'r rhai a redant yn bresennol ar ol y naill, gan esgeuluso y llall, gael eu gorfodi i sefyll draw, ni bydd gorphwysdra oddiwrth ddrygau, fy nghyfaill Glaucon, nac i ddinasoedd, nac ychwaith, mi a goeliaf, i ddynolryw yn gyffredinol, ac ni bydd y wladwriaeth, yr hon a ddesgrifiwyd genym mewn geiriau, yn alluog i ymwthio i fyd y pethau a ddichon fod, a gweled goleuni dydd. Ond hyn a barai fy mod er ys meityn yn hwyrfrydig i siarad, pan ganfyddwn mor hollol groes y buaswn yn llefaru i olygiadau cyffredin y byd; o herwydd y mae yn anhawdd cael gan y byd gydnabod nad oes un llwybr arall i ddyn na gwladwriaeth i gyrhaedd dedwyddwch." Atebai yntau: "Socrates, gollyngasoch dros eich gwefusau y fath eiriau a'r fath ymadrodd, fel y dylech ddysgwyl, am eu llefaru, i liaws mawr, a'r rhai hyny yn rhywbeth amgen na chorachod, i dỳnu oddiam danynt, megys, ac felly, wedi ymddyosg, ymaflyd yn yr arf nesaf at law, a rhuthro i wneyd diwedd arnoch; ac os nad ellwch eu cadw o hŷd braich oddi wrthych a dianc, hwy a'ch cosbant â gwatwar heb ei gyffelyb."

Cawn weled, yn y lle nesaf, pa fath adeilad a gododd Plato ar y sylfaen hon.

---

## Y WAREDIGAETH.

DRAW, draw ar gefnfor ëang tragwyddoldeb,
  Cyn rhoddi llygad angel ar ddi-hûn,
Pan nad oedd dim ond anadl Anfeidroldeb,
  Yn codi ac yn disgyn ynddo ei hun,
Daeth tòn o fynwes y tragwyddol Gariad,
  A deffro cwynion yr awelon wnaeth;
Y dòn arllwysodd yno ei hochenaid,
  A hono 'n syrthio 'n farw—yn marw ar y traeth!

Na! na nid felly,—tyner glust Tosturi,
Mor effro oedd â'r fam uwchben trueni
Ei baban; y mae 'n fyw i lef anghenion,
A'i chynnal fỳn rhag tynghed trancedigion.
  Canfyddid draw gan lygad Hollwybodaeth,
Yn hardd, lawnhwyliog, newydd long dynoliaeth,

Yn plygu tònau heirdd y pell ddyfodol,
Ac yn ei chellau 'n hûno berlau nefol;
A chychwyn mae ei thaith o borthladd Amser,
Gan chwiban yn y gwynt ganiadau tyner;
Yr awel sydd mor fwyn a iaith y borau,
Ei gwthio wna i'w hynt â'i mil cusanau.
Ar graig anobaith llewyrch nef rybuddiai,
A chloch marwolaeth yno 'n uchel dinciai,
I attal tynged oerddu colledigaeth,
Rhag cael i'w breichiau newydd long dynoliaeth.
Ond yno Twyll â'i oleu'gau hud-ddenai,
Mai tywod esmwyth oedd y graig fe daerai;
A chododd Celwydd faner hedd a gwŷnfyd
Ar greigiau dinystr a thragwyddol adfyd!
Y dyn trwy ryw wallgofrwydd annirnadwy
A hwyliodd i safn dinystr byth ofnadwy,
Lle rhüad tònau trymion bro marwolaeth
Sy 'n arllwys gwae ar greigiau colledigaeth.
Anobaith yno dŷn i'r dyn ei ardeb;
Marwolaeth, yntau 'n chwerthin yn ei wyneb:
Y tònau 'n gwthio ei long i safn y creigiau,
A hwythau yn rhwygo ei obaith oll yn ddarnau.
Ei waed wna i lwydion ruddiau 'r creig i wrido;
A'r tònau gwallgof, hwythau 'n meddwi arno.
O! ing, O! drallod enaid, pwy a'i dirnad?
Y dyn yn marw—a marw 'n hunan-leiddiad!
Y nef a wgai—gwenai uffern isod;
Cyfiawnder goda 'i ddwrn i daro 'i ddyrnod!

Têg ruddiau anian sydd yn lleithio 'n sydyn,
Mae 'n wylo dagrau gofid ar ei phlentyn!

"Pwy? pwy o honom naid i'r dyfnion isod,
I gynnyg dal y dyn rhag gwae diwaelod!
A thaflu ei hun i gyfyng le dynoliaeth,
Yn aberth byw ar allor gwaredigaeth?"
Ah! dyna 'r dòn ogleisiodd glust Tosturi,
Pan ar ei thaith o fynwes Cariad pur;
A'r ateb a ymchwyddai gan ymdòri,
Fel pe buasai calon Duw mewn cur!
Prin, prin y syrthiodd y gofyniad swynol,
Nad i'w gyfarfod rhedodd ateb llawn;
Fel pe buasai 'n gwylio 'r wefus Ddwyfol,
Mewn gobaith am ryddhâd i fynwes dawn:—

"Myfi, O! wele fi yn barod yma,
Wyf ufudd iawn, 'r wy 'n hoffi 'r dyn a'i drigfa.
O! anfon fi i'r dyfnder dirfawr isod,
Mae 'm calon wedi rhedeg yno 'n barod;
Mae 'm mynwes oll yn dân, mae 'n fflam fy araeth,
O! sylweddolrwydd brysia, llwnc fy hiraeth!"

Yn llygad Iôr yr un yw 'r gwaith a'r bwriad,
Yr un i Dduw yw 'r cynllun a'r adeilad!
Mae Ef mor fawr, nid yw terfynau-amser
Yn attal dim i'w lygad wel'd y pellder;
Nid ydyw amser ond yn sylweddoli
Yr hyn i'r Duwdod gafodd ei gyflawni.

Hawddamor! draw trwy 'r tònau certh, brigwỳnion,
Mae cwch y Bywyd yn cyfeirio yr awrhon,
I ardal oer marwolaeth mae 'n gwynebu,
Ar gefnllif ffyrnig uffern y mae 'n gwenu!
A chyrhaedd wna i ardal ofnadwyaeth,
Pan ydoedd dyn yn mreichiau colledigaeth,
Ac estyn wneir i'r truan ddyn andwyol,
O râd drugaredd, yno law waredol,
Tra ef fel rhyw ysglodyn llesg di-allu,
Yn cael o dòn i dòn gan wawd ei daflu!
Ond mynwes bywyd, o safn ddu marwolaeth,
Gofleidiai 'r dyn i ganmol *Gwaredigaeth!*

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Whose are the Fathers? Or, the Teaching of certain Anglo-Catholics, on the Church and its Ministry, contrary alike to the Holy Scriptures, to the Fathers of the first six centuries, and to those of the Reformed Church of England.* With a *CatenaPatrum* of the first six centuries, and of the English Church of the latter half of the sixteenth century. By JOHN HARRISON, curate of Pitsmoor, Sheffield. London: Longmans, Green, & Co. 1867.

YN yr ymdrech egnïol a wneir y dyddiau hyn i "ddysgu gorchymynion dynion yn ddysgeidiaeth," fe osodir dirfawr bwys ar ysgrifeniadau y tadau eglwysig; yn wir fe gymerir eu geiriau hwy yn derfynol ar bethau pan y maent yn myned yn gwbl groes i leferydd y Gair y dysgir ni am bawb na lefarant yn ei ol, "nad oes iechyd ynddynt." Y mae hyn, ar y wyneb, yn ymddangos yn rhyfeddol o ffol, os nad ellir profi fod y tadau hyny, naill ai yn rhinwedd eu galluoedd mawrion, eu hysbrydolrwydd dwfn, neu eu hagosrwydd at y cyfnod apostolaidd, yn meddu ar deitl i anffaeledigrwydd nad all pobl ddirywiedig yr oesoedd diweddar ddangos un hawl i ddim o'r fath beth. Ac y mae hyny yn anmhosibl. Mae llawer o honynt, druain, yn dangos plentynrwydd a gwendid barn na feddyliai nemawr o blant ein Hysgolion Sabbothol am binio eu golygiadau wrthynt am fynyd; y mae eu crefydd yn cynnwys llawer o "wellt, gwair, a sofl," yn gystal âg ychydig "feini gwerthfawr;" ac am awdurdod apostolaidd, y maent oll mor amddifad o hyny â phe buasent yn byw fil o flynyddoedd ar ol dyddiau Crist. Mae yn ddiammheu y bydd mwy o ddarllen nag erioed yn y deyrnas hon ar y tadau bellach, pan y mae y Meistri Clark yn eu dwyn allan mewn ffurf mor hylaw a rhadlawn, ac mewn cyfieithiad mor ysgolheigaidd a darllenadwy yn yr iaith Saesonig. Fe'u dar-

llenir hefyd gyda llawer o awch ar lawer o gyfrifon; ond nid ydym yn dysgwyl y bydd nemawr yn cael eu proselytio trwyddynt i'r golygiadau y mae Pusey a Newman, a'u cymdeithion, o'u coledd yn eu hysbryd eu hunain, wedi eu *cael* yn eu hysgrifeniadau hwy. Yn hyn nid ydyw ysgrifeniadau y tadau yn annhebyg i'r Bibl ei hunan, yr hwn, erioed, sydd wedi ei orfodi i roddi ei awdurdod i lawer o olygiadau!

Hic liber est in quo quærit sua dogmata quisque,
Invenit et pariter dogmata quisque sua.

Yn ol deongladaeth yr ysgol y cyfeiriwn ati ar ysgrifeniadau y tadau, nid oes olygiadau y mae yn bosibl i feddwl dyn eu dychymygu, nad ellid eu casglu a'u profi o unrhyw lyfr ar wyneb y ddaear. Fe wnaeth Isaac Taylor wasanaeth tra phwysig mewn dynoethi eu beirniadaeth yn ei *Ancient Christianity*. A dyma ryw gurad yn y gyfrol yma—oni buasai mai â'r Sefydliad Anglicanaidd yr ydym yn ymweyd, buasem yn synu peth wrth weled y fath ddyn yn cael ei adael hyd y fath addfedrwydd yn ddim ond curad! *—yn yr un ysbryd iachus, a chyda dysgeidiaeth a gallu mawr yn gwynebu y cwestiwn, *Pwy bïa y Tadau?* Mewn dyddiau pan y mae cymaint o ddarllen *yn* y tadau, a hyny i'r amcan neillduol o chwilio am gadarnhâd i olygiadau sydd eisoes wedi eu ffurfio, y mae yn hyfryd gweled mewn gwaith fel hwn gymaint o ôl darllen *y* tadau eu hunain, a hyny i'r dyben o ddwyn allan mewn ffordd dêg a phwyllog eu golygiadau ar y cwestiynau y gwneir cymaint o honynt fel awdurdodau arnynt. Yr argraff a adewir ar y meddwl, ac a ddyfnhëir trwy gydol y gwaith, ydyw, fod y tadau, ymhob ffordd, wedi derbyn dirfawr gam, a hyny oddiar law y rhai a broffesant eu hedmygu ymron yn ddiderfynau; mewn gair, wedi eu bradychu â chusanau gan y rhai a ymffrostient mewn galw eu hunain yn ddysgyblion iddynt. Pe buasai yn bosibl fod neb o ddarllenwyr y TRAETHODYDD mewn un radd o berygl oddiwrth y lefain Uchel-eglwysig sydd ymysg llawer o wrageddos y deyrnas yn ymweithio mor rymus y dyddiau hyn, fe ddylasai y llyfr hwn gael galw sylw ato mewn erthygl yn ein tudalenau. Ond rhoddwn, mewn cylch mor gryno ag y gallwn, ryw ddrychfeddwl i'n darllenwyr am ei gynnwys.

Gan weled mai camgymeriad sylfaenol y Tractariaid, &c., ydyw eu golygiad am yr olyniad diddôr o esgobion o ddyddiau Crist, a hyny yn cyfansoddi awdurdod apostolaidd ar ran pawb a ordeinir ganddynt, y mae Mr. Harrison yn ymgymeryd â chwilio i mewn i'w hawdurdodau hwy eu hunain, ac yn dangos nad oes un warant i'r golygiad fod ffrwd ddiddôr felly o ras—anhebgorol i eglwys wirioneddol ac i weinyddiad awdurdodol o'r sacramentau—wedi dyfod i lawr i Eglwys Loegr o ddyddiau Crist, nac yn yr Ysgrythyrau, nac yn nhadau y chwe' chanrif cyntaf, nac ychwaith yn safonau yr Eglwys Seisonig ei hunan. Ac yn bendifaddau, nid ydyw yn hawdd, dybygem, ei wrthbrofi.

Am y testun, Ioan xx. 21, "Megys y danfonodd y Tad fi, yr wyf finnau yn eich danfon chwi," golygiad y Tractariaid ydyw, fod Crist trwy y geiriau hyn yn galluogi yr apostolion i roddi i eraill y genadaeth, yr hon, trwy ei rhoddi iddynt *hwy*, y dangosai efe ei bod yn drosglwyddadwy; ac wrth ddehongli y gair yn y wedd yna, proffesant eu bod yn gwneyd felly fel yr ydys wedi bod yn gwneyd "o'r dechread." Ond câ Mr. Harrison nad oes yr un o'r tadau yn rhoddi y golygiad yna. "Y rheol," meddai Tertullian, "y mae yr eglwysi (nid yr esgobion) wedi drosglwyddo i lawr oddiwrth yr apostolion, yr apostolon oddiwrth Grist, a Christ oddiwrth Dduw." A Chrysostom ar yr un gair,

*Ac ambell ŵr gaiff feddu tair *living* faith yn un,
Heb wraig, heb blant, i'w difa, na bol ond ef ei hun;
Yn rhifo llôg ei eglwysydd yn ddeucant ymhob man,
A'r curad yn gwas'naethu am yr ugeinfed ran.

*Theomemphus.*

"A wyt ti yn gweled nad yw y gair [megys] ddim o'r un arwyddocâd, canys os cymerwn ef felly, ni fydd un gwahaniaeth rhwng yr apostolion â Christ." Golygai efe a Cyril, mae yn amlwg, fod y gymhariaeth nid rhwng y rhai *a ddanfonir*, ond rhwng y rhai *sydd yn danfon*, hyny yw, rhwng Duw yn danfon Crist, a Christ yn danfon ei apostolion. Drachefn am y gair, Mat. xxviii. 20, "Ac wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd," y meddwl, meddai Dr. Wordsworth, ydyw, "*Gyda chwi*, a chyda y rhai y parhäir eich awdurdod apostolaidd chwi ynddynt hyd y diwedd." Ond nid felly y tadau. Mae Origen yn cymhwyso y gair at y credinwyr oll. Mae Cyprian yn ei gymhwyso at lëygwyr a gwragedd a erlidid oblegid eu crefydd. Novatian a'i cymhwysa at yr holl Gristionogion. Felly Athanasius, Hilary yr esgob, Jerome, Ruffinus, Augustin, ac eraill.

Profir yn yr ail bennod nad oedd y swydd apostolaidd yn drosglwyddadwy. Dywed Dr. Wordsworth, fod yr esgobion yn dilyn y deuddeg apostol, a'r henuriaid, y deg dysgybl a thriugain. Dyfyna yr Esgob Andrewes i brofi hyny, yr hwn a grybwylla enwau amryw o'r tadau fel o'r un golygiad. Erbyn edrych nid oes un o'r tadau hyny yn dyweyd dim o'r fath beth. Mae y tadau bob amser yn galw y deg a thriugain yn apostolion; a phan soniant am esgobion neu henuriaid fel olynwyr yr apostolion, at y deg a thriugain y maent yn fwyaf penodol yn cyfeirio. Yr unig beth sydd yn dwyn unrhyw debygrwydd i'r golygiad y dywed Andrewes ei fod i'w gael "ymhob man ymysg y tadau," ydyw, gair a geir gan Bede, mor ddiweddar â B.A. 700, yr hwn a ddywed, "Nid oes neb yn ammheu, fel y mae y deuddeg apostol yn arddangos ac yn rhaggysgodi y ffurf o esgobion, felly hefyd ni a wyddom fod y deg a thriugain hyn yn dangos y ffurf o henuriaid, hyny yw, yr ail urdd o offeiriaid." Ond ychwanega Bede, "Er hyny, yn amseroedd boreuaf yr eglwys, fel y mae yr Ysgrythyr yn dyst, *yr oedd y naill a'r llall yn cael eu galw yn henuriaid, y naill a'r llall yn cael eu galw yn esgobion*, y teitl cyntaf yn dangos addfedrwydd doethineb, yr ail, diwydrwydd yn y gofal bugeiliol." Mae i chwi groesaw i'r ddwy dystiolaeth uchod, foneddigion; ond rhaid i chwi eu cymeryd *ynghyd!*

Pennod bwysig iawn yw y bedwaredd, lle y trinir yr olyniad apostolaidd. Heb fyned i mewn i'r ymchwiliad ar hyn o bryd, y casgliadau y deuir iddynt yw y rhai canlynol. 1. Mae y tadau, ac yn enwedig y tadau cyntaf, yn siarad am olyniad o henuriaid, ac nid o esgobion yn unig. Megys Irenæus: "Dylem ufuddhâu i'r henuriaid sydd yn yr eglwys; y rhai a feddant yr olyniad oddiwrth yr apostolion." 2. Yr oedd yr olyniad y soniai y tadau am dano yn gwbl wahanol i'r hyn a olyga y Tractariaid, &c. Mae yr olyniad ganddynt hwy yn peri fod ein haelodaeth o eglwys Crist a'n gobaith am iachawdwriaeth yn dibynu ar ein bod yn meddu gweinidogaeth sydd wedi ein cyrhaedd ni trwy gadwen ddidôr o olyniad er dyddiau Crist. Ond nid yw y tadau byth yn son am y fath beth, nac yn meddwl am dano. Y cwbl sydd ganddynt hwy ydyw olyniad esgobion neu henuriaid yn yr un esgobaeth. Felly Tertullian, yn siarad am hereticiaid, "Bydded iddynt," meddai, "wneuthur yn wybyddus eu rhestr o esgobion, yn dyfod i lawr yn y fath fodd mewn olyniad o'r dechread, fel ag fod gan eu hesgob cyntaf, fel ei awdwr a'i ragflaenor, rhyw un o'r apostolion neu o'r dynion apostolaidd." Ond nid oddiwrth ei *ragflaenydd* y mae gweinidog yn Eglwys Loegr yn derbyn ei urddau, ond oddiwrth yr hwn sydd yn ei ordeinio, yr hyn sydd ar unwaith yn dangos fod olyniad Tertullian ac olyniad Dr. Wordsworth yn gwbl wahanol; y cyntaf yn bwnc o olrheiniad hanesyddol, a'r llall yn freuddwyd o awdurdod apostolaidd i bawb a ordeinir, er na byddo yr olyniad yn rhedeg ond yn yr esgobion yn unig. Mae meddwl Tertullian yn cael ei ddangos yn fwy eglur ymhellach ymlaen yn nghyd-destun y dyfyniad uchod, fel yn golygu olyniad ysbryd a ffydd. "Er nad all eglwys," meddai, "ddwyn ymlaen fel eu sylfaenydd yr *un* o'r apostolion, neu ddynion apostolaidd, gan fod o ddyddiad llawer mwy diweddar, ac yn wir yn cael eu sefydlu bob dydd, er hyny, gan eu bod yn cyttuno

yn yr un ffydd, y maent ar gyfrif eu cydberthynas mewn athrawiaeth yn cael eu cyfrif heb fod yn llai apostolaidd." Sonia y tadau yn fynych hefyd am olyniad Dwyfol wirionedd, olyniad Dwyfol ordinhadau, olyniad credinwyr, ac olyniad gweinidogaeth, i barhâu hyd ddiwedd y byd; ond byth am olyniad gras, yn cael ei drosglwyddo i lawr o'r naill i'r llall trwy ordeiniad; a llai fyth am y cyfryw olyniad yn cael ei gaethiwo yn unig i esgobion. 3. Ymddengys fod athrawiaeth iachus yn cael ei hystyried gan y tadau fel yn anhebgorol i unrhyw un gael ei ystyried fel yn olynydd i'r apostolion. "Dylem," ebai Irenæus, "lŷnu wrth y rhai sydd yn cadw athrawiaeth yr apostolion, ac, ynghyd âg urdd yr henuriaeth, yn dangos iachusrwydd mewn athrawiaeth ac ymarweddiad diargyhoedd." Ac fe ddarfu i Gynghor Carthage (B.A. 256) gyttuno yn unfrydol fod bedyddiadau Novatian yn ddirym, er ei fod yn meddu yr holl awdurdod sydd gan esgobion i'w gyfranu. Penderfynent hwy fod ei heresi—galwent ef yn au-Grist—yn gwneyd i ffwrdd â'i holl awdurdod.—Ac os ydyw olyniad y tadau yn beth nad ydyw ond mater o gyd-ddilyniad hanesyddol; ac fel y mae, os ydyw heresi yn ei wneuthur yn ddirym, beth sydd yn dyfod o "dystiolaeth y tadau i olyniad apostolaidd" yr Uchel-eglwyswyr a'r Pabyddion? *Pe buasai* y tadau yn pregethu yr athrawiaeth hon yn ddiammheuol, wrth reswm nid allasem eu credu, tra y mae ein Biblau yn agored genym; ond er mwyn y natur ddynol, mae yn dda genym weled nad oedd y tadau mor ffol.

Nid allwn ddilyn Mr Harrison trwy y rhanau eraill o'i waith, ond gallwn ddyweyd fod y cyfan yn dangos yr un tegwch, a'r un ymdrech llafurus i ddwyn tystiolaeth i'r gwirionedd. Mae ei gydnabyddiaeth â safonau Eglwys Loegr yn gyflawn, ac yn cael ei ddefnyddio i wneyd hafog ar hòniadau yr Uchel-eglwyswyr. Nid oes dim yn fwy gwrthnaws ganddynt hwy na chydnabod awdurdod ordinhadau presbyteraidd, a mynant gael genym gredu nad yw Eglwys Loegr yn eu cydnabod. Ac eto y mae un o ganonau *Convocation* 1603, a dderbyniodd gydsyniad Iago I., yn gorchymyn pregethwyr a gweinidogion, o flaen pregethau, &c., i alw ar y bobl i ymuno â hwy mewn gweddi "dros Eglwys Lân Gatholig Crist, hyny yw, dros holl gynnulleidfa Cristionogion dros yr holl fyd, ac yn neillduol dros eglwysi Lloegr, Ysgotland, ac Iwerddon." Ac nid oes un ddadl nad presbyteraidd oedd eglwys Scotland ar y pryd, a chan hyny, fel y dywedai esgob presennol Manchester yn 1851, mae Eglwys Loegr yn y canon yna yn ei chydnabod ac yn gorchymyn gweddïo drosti. Ceir llawer o feirniadaeth werthfawr yn y rhanau eraill o'r gwaith sydd yn trin y fath faterion â'r rhai canlynol:—Ordinal Eglwys Loegr fel y mae yn groes i ddysgeidiaeth yr Anglicaniaid ar urddau cleriol; Y ddysg Anglicanaidd gyda golwg ar yr Eglwys a'i gweinidogaeth, yn yr hyn a hawlir ar ei rhan gan Esgob Rhydychain; Ymchwiliad i, a dynoethiad o, rai dolenau ffugiol yn nghadwen Dractaraidd yr olyniaeth apostolaidd; Nodau yr Eglwys yn ol golygiad Eglwys Loegr, fel y defnyddir hwynt gan yr Anglicaniaid; Golygiad ar y math o lywodraeth eglwysig a ffŷnai yn yr oes apostolaidd a'r eglwys gyntefig, a'i chyfaddasrwydd i'r dyddiau hyn. Ac y mae y *Caten a Patrum* a roddir yn yr ail ran o'r gwaith, sef cadwen o olygiadau y tadau, yn cynnwys yr oll a ddywedir gan ddau ar bymtheg a deugain o honynt, am y chwe' chanrif cyntaf, sydd yn dwyn unrhyw berthynas â'r ddadl hon; ac yn gyffelyb, tystiolaethau pump ar hugain o awdurdodau Eglwys Loegr, yn cynnwys ei merthyron, a'i holl brif ysgrifenwyr yn niwedd y unfed ganrif ar bymtheg, yn werthfawr anmhrisiadwy. Mewn gair, mae y gwaith ynddo ei hun yn llyfrgell werthfawr ar bwnc yr hòniadau ynfyd y mae cynifer o glerigwyr Eglwys Loegr yn ymhyfrydu wrth eu gwneuthur y dyddiau hyn. Iddynt hwy, nid yw yn debyg y bydd o nemawr o les, canys y mae miloedd o honynt bellach wedi ymollwng gyda'u teimladau i'r fath raddau, fel nad ydyw o un dyben ymresymu gyda hwynt: mae y golygiadau newyddion wedi eu meddiannu fel syfrdandod, ac ymddengys y gynneddf ymresymiadol ynddynt fel pe byddai wedi marw. Pe buasai John Newton yn fyw yn ein dyddiau ni, fe fuasai yn sicr, yn ol y chwedl dda a gofnodir am

dano yn y *Memorials of the Clayton Family*, yn dymuno ychwanegu ei weddi newydd at y Litani, "A rhag pob melinau gwynt yn y pen, gwared ni, Arglwydd daionus." I bawb, pa fodd bynag, a ddymuno fyned i mewn yn drwyadl i'r pynciau hyn, nid hawdd, yn wir nid posibl, cael llyfr mwy pwrpasol na'r gwaith hwn.

*Welsh Reformers: Biographical Sketches of Eminent Welshmen, foremost in promoting the cause of Religion in Wales during the Tudor and Stuart Dynasties; containing also a Memoir of Rowlands, Llangeitho, including his Sermons.* By the Rev. J. HUGHES, Incumbent of Gwernafield, Mold, North Wales. London: Nisbet & Co. 1867.

PAN ofynwyd i ni danysgrifio at y llyfr hwn, er nad oeddym yn gwybod dim am yr awdwr, ni ddarfu i ni betruso am fynyd i gydsynio â'r cais. Mewn amseroedd fel y rhai hyn, nid allem lai na llawenychu wrth weled offeiriad Cymreig yn cynnyg galw sylw at ein hen ddiwygwyr; ac yr oeddym yn dirgel obeithio y byddai iddo allu gwneyd hyny yn y fath fodd ag a roddai i'r Saeson, &c., ddrychfeddwl gwedd'ol gywir yn eu cylch, ac a ennynai mewn llawer o'n cydwladwyr, yn llên a lleyg, edmygedd a chariad newydd tuag atynt, ac ymroddiad i geisio rhodio yn eu llwybrau. Pan ddaeth y llyfr allan, fe'i hanfonwyd i ni gyda'r post, a chawsom yr hyfrydwch o dalu chwe' swllt a thair ceiniog am dano. Wrth weled nad ydoedd, am y fath bris, yn rhyw fawr iawn o ran swm, dysgwyliem, yn ben'difaddeu, ei gael yn rhagorol o ran sylwedd. Ac yn ddiammheu y mae rhywbeth i'w ddyweyd yn ei ffafr. Y mae ei Brotestaniaeth yn gwbl glir a phenderfynol; ac y mae hyn, bellach, yn beth mawr i'w ddyweyd am lyfr yn dyfod o dan law un o glerigwyr Eglwys Loegr. Y mae ei ysbryd hefyd yn ddigon tirion at y rhai sydd y tu allan i gylch y Sefydliad. Amlyga yn ei ragymadrodd y gobaith "y bydd i'r clerigwr plwyfol a'r gweinidog teithiol, pa faint bynag y gallant wahaniaethu mewn barn ar byneiau llai eu pwys, ganfod, ryw ddiwrnod, eu bod wedi bod yn ymladd dros yr un gwirioneddau, yn adeiladu yr un ffydd, ac yn ymddiried yn, ac yn pwyso ar, deilyngdod yr un Iachawdwr bendigedig, Iesu Grist ein Harglwydd." Mae yn dda genym weled hefyd fod ganddo ddigon o ffydd yn Eglwys Loegr i gredu y gallai fyw a pharhâu yn Eglwys i Grist er wedi ei dadgysylltu oddiwrth y wladwriaeth. Y mae yn ammeuthyn clywed cydwladwr o fewn yr Eglwys Wladol yn anturio dyweyd, "A phe cymerid ei meddiannau bydol yn awr oddiarni, hi a fyddai wedi hyny yr un eglwys, a rhaid iddi barhâu felly, gyda'i hesgobion, ei hoffeiriaid, a'i sacramentau, oblegid yr hyn na ddarfu i'r un gallu daearol ei roddi, nis gall yr un gallu daearol ei gymeryd ymaith." Ond y mae yr "elyniaeth yn erbyn yr eglwys" y sonia am dani mewn lle arall, fel peth "sydd yn y blynyddoedd diweddaf wedi ei ddangos ei hun gyda chymaint o chwerwder," ac y cwyna gyda chymaint llarieidd-dra "nad oes ond Duw a ŵyr pa hyd neu i ba raddau y gadewir iddi ffynu," yn beth y mae yn dda genym ei hysbysu nad ydyw yn bodoli ond yn ei ddychymyg ef a'i frodyr. Ymddengys mai at yr Anghydffurfwyr hyny sydd yn credu mewn cydraddoldeb crefyddol y mae yn cyfeirio; ond nid ydyw y rhai hyny yn casâu yr Eglwys Wladol mewn un modd. Yn wir nid oedd raid iddo roddi y fath bwyslais ar enwau Daniel Rowlands Llangeitho a Robert Hall fel rhai yn llawenychu wrth weled rhyw arwyddion o ddiwygiad yn yr Eglwys; gallem heb ddim trafferth chwyddo ymron yn ddiderfyn restr enwau y rhai a deimlant yn gwbl yr un fath y dydd hwn, ie, a chymeryd i fewn iddi yn anad neb enw Mr. Miall, a holl gyfeillion Cymdeithas Rhyddhâd Crefydd. Eu cariad dwfn at Eglwys Loegr, fel rhan o'r Eglwys Lân Gatholig, ydyw un o'r rhesymau cryfaf sydd yn eu cymhell hwy i wneyd yr hyn y mae yr awdwr hwn, a lliaws gydag ef, yn briodoli i'w "casineb," sef dadleu dros ei rhyddhâd oddiwrth nawddogaeth ac ymyriad y llywodraeth wladol. "Pan orchymynwyd darllen 'Llyfr y Chwareuon,'" meddai efe ei hun, "ar ol y gwasanaeth Dwyfol, yr oedd rhai o'r clerigwyr yn ufuddhâu,

rhai yn gwrthod ufuddhâu, eraill yn hanner ufuddhâu, canys ar ol darllen 'Llyfr y Chwareuon,' hwy ddarllenent yn uniongyrchol y pedwerydd gorchymyn, gan sylwi, ar yr un pryd, fod y naill yn air dyn, a'r llall yn air Duw." Ac eto yr oedd y brenin hwnw a orchymynai ddarllen "Llyfr y Chwareuon" yn y gwasanaeth Dwyfol, yn ben yr Eglwys, mor wirioneddol â'r brenin arall, yr hwn a fawrygir gymaint am daflu ymaith oddiar wâr y deyrnas faich arglwyddiaeth y Pab, ac fel y cyfryw yr oedd ganddo hawl i ymostyngiad ac ufudd-dod oddiar law holl weision yr Eglwys. Mewn lle arall darllenwn, "It was enacted by the king, though strictly forbidden by Dr. Abbot, Archbishop of Canterbury, that after divine service on Sundays, the people should not be discouraged from amusing themselves in various kinds of games practised amongst them. The archbishop's spiritual restraint could not curb the spirit of the populace when such a feeling was fostered by the temporal power." Y mae y lliaws amgylchiadau lle y mae yr Eglwys a'r Wladwriaeth wedi eu dwyn i wrthdarawiad yn y deyrnas hon, ac mewn teyrnasoedd eraill, a'r trychineb mewn amgylchiadau felly a achoswyd lawer tro trwy waith y naill yn ceisio maentumio ei hawliau yn erbyn gorthrwm y llall, y fath, ag a ddylai ddysgu i awdwr y llyfr hwn a'i frodyr yn gyffredinol, fod yn anmhosibl gosod dan yr un iau alluoedd sydd mor anghymharus, ac mai goreu po gyntaf i'r llywodraethwr gwladol gyfyngu ei sylw at y pethau sydd yn briodol yn berthyn i'w swyddogaeth, gan adael i'r frenhiniaeth nad ydyw o'r byd hwn ymgynnal ar ei hadnoddau ei hun, a llywodraethu ei hachosion nid yn ol actau seneddol, ond yn ol deddfau ac ordeiniadau ei Brenin tragywyddol ei hunan.

Ond a gadael y pethau yna, yr oedd y siomedigaeth a gawsom ni yn y gwaith hwn yn codi oddiar achos cwbl wahanol, sef gwaeledd a thlodi ei gyfansoddiad. Yr ydym yn ofni y bydd yn brofedigaeth i rai a allasent dderbyn rhywfaint o les oddiwrth ei fater,—canys y mae yn dra anhawdd sôn am yr hen ddiwygwyr Cymreig heb sôn am bethau da,—ei droi o'r neilldu yn rhy ddiseremoni, gan benderfynu nad ydyw awdwr sydd yn fynych yn llusgo ei feddyliau ger bron mewn ystâd mor annelwig, ac yn eu gwisgo mewn arddull mor fratiog, yn werth iddynt ddysgwyl nemawr oddiwrtho mewn unrhyw ffordd. Ie, da iawn os na fydd rhai yn cael eu dwyn trwy y llyfr i deimlo gradd o ddirmyg at y gwroniaid y mae wedi ei ysgrifenu i'w mawrhâu. Ar yr egwyddor o *fiat experimentum in corpore vili*, gallai ateb y dyben yn rhagorol i ddosbarth o fechgyn sydd yn dysgu cyfansoddi, i'w wneyd yn destun eu beirniadaeth, nodi allan ei wallau, dangos paham y maent yn wallau, pa fodd i'w cywiro, &c. Caent yma ddigon o helwriaeth. Er enghraifft:—"The truth of our observation is tested by the evidence of history,"—"See an interesting little volume of this subject, by Rev. R. Wilson Evans"—"For when Augustine was sent into Britain, A.D. 1567, by Pope Gregory the Great," [h.y. 763 o flynyddoedd ar ol marwolaeth Gregory!]—"Matters indifferent in themselves, but not essentially necessary," [yr hyn a esbonir yn ngwaelod y ddalen yn y wedd foddhâol a ganlyn, "Things indifferent pertain to discipline, rather than doctrine," yr hyn yn ddiammheu sydd yn taflu goleuni mawr ar y pwnc!]—"To restore the Church to primitive doctrine and practice, the Welsh Reformers materially affected, when they furnished her with the oracles of divine truth, in a language known as the ancient British tongue"—"In closing our remarks upon the life of this great and good man, we pay him that tribute wherewith genius honours wisdom, and award him that honour wherewith virtue regards sanctity," [yn sicr dylai ysbryd William Salesbury fod yn ddiolchgar am y fath gydnabyddiaeth oddiar law "athrylith" a "rhinwedd" yr awdwr hwn]—"Most of these Englishmen who had retired to Geneva were persons of substance and wealth, upon whose charity, it is said, that Davies, for some time found means of subsistence"—"At present it is usual to confer the degrees of doctor in divinity," [sawl *degree* ydyw hyny?]—"A consciousness of right inspires even the weak and timid with courage and strength, but it invested the bishop with the strength of a giant, and the authority of a

prince"—"This is by no means unnatural, for the superstition of the age, fostered by a blind priesthood, had exercised a fearful sway over men's minds, and the country had not experienced its emancipation form such baneful influence, which the light of truth can only remove, and which the Bishop of St. David's was ever making such noble efforts to disseminate throughout the principality of his native country," [ac eto yr ydym yn cael yr esgob duwiol hwn oedd yn gwneyd cymaint ymdrech i chwalu ofergoeledd o'r wlad, yn y frawddeg flaenorol yn bwgwth ar Syr John Parrot, "as a mark of his displeasure such sore punishment as would not merely follow his departure out of the country, but out of the world"]—"Syr [felly] John Wynne of Gwydir would lead us to infer, that in points of linguistic discriminations when it came to tests and balances," [pwy eto a faidd feirniadu Saesoneg Syr Hugh Evans, "Why it is affectations," "O man, art thou lunatics? hast thou no understandings for thy cases, and the numbers of the genders? thou art as foolish christian creatures as I would desires"] —"And it is a matter of deep regret that so distinguished a prelate should, in the management of his diocess, have left room for the breath of complaint to heave his sighs"—"We must not, therefore, be blind to the fact, that the assertion is made by a *successor*, who, probably from an interested point of view, might be, with a distorted sight, looking through his own glasses"—"Edmund Prys was considered one of the most illustrious poets of his age, and it seemed strange that his poetical compositions—treasures so rare, and still surviving—have seen no other light than that which emanates from the pen, and not from the press"—"In this sequestered spot, surrounded by mountains and mountain shepherds, the very recluse of nature, lived Dr. Davies, for forty years, with perhaps one intermittent occasion, when he went to Oxford"—"He was married, but left no issue; when therefore he died, our hopes were buried in his grave"—"The harmonious metrical verses of the Psalms of Captain William Middleton, edited by Mr. Thomas Salesbury, was constructed in strict conformity with all the rules of grammar and the license of poetry"—"Mr. Samuel Prichard is said to have been smothered between two feather beds, put accross his own horse in a woolsack, and thrown over a narrow bridge into the river Towy, just as if he had fallen accidentally off his own horse [mewn sach gwlân ?], and drowned in the river"—Ymddengys fod prydyddiaeth yr hen Ficar yn pahâu hyd heddyw, "after the lapse of more than two hundred centuries [gwarchod pawb, er ys dros ugain mil o flynyddoedd!], unmatched and incomparable"]—Yr oedd trôad Rowlands o'r Eglwys yn "event which has ever since been much deplored, and even to this day not as lightly felt," beth bynag yw hyny—"Such sentiments form a basis, and furnish a key to actions which appeared to some irregular, but which others regard as the work of the Spirit. Upon this hyphothesis we proceed to narrate the history of Rowlands's life;" [pa un ?]—"It is supposed, though not certainly known, that about the year 1737 Rowlands and Howell Harris met each other,—the one in Cardiganshire, and the other in Breconshire, ["erdolwg," chwedl y Bardd Cwsg, beth oedd hŷd eu coesau ?] the latter a layman, the former a clergyman—unknown to each other, yet about the same time originated and pursued a system which produced similar effects"—"At this time began that revivalism in Wales which lasted fifty years"—"Independent of any testimony—of the crowds that attended his ministry, of the number of miles they travelled, or the number of years they attended—nothing known is more beautifully illustrated than the history of any other preacher, by the following touching story, &c., &c." Pa gymdeithasiad meddylddrychau a allai uno enwau William Salesbury a William Tell, tu dal 14? Yr oeddym yn gobeithio ei bod wedi myned yn rhy ddiweddar ar y dydd i neb ysgrifenu rhyw druth fel a ganlyn am yr iaith Gymraeg: "The language is rich, copious, and musical; it gives soul to the objects of sense, a spirit to Poetry, and a body to the abstractions of Philosophy." Pa fodd y mae yn bosibl i unrhyw *iaith* wneyd pethau o'r fath yna? Buasai yn

llawn cystal hefyd, ïe yn llawer gwell, gadael allan yr ymffrost plentynaidd a geir mewn lle arall yn y llyfr—"The Welsh can now say perhaps what no other nation can [a'r fath golled ydyw iddynt!], that they have a poem of eight lines in their language in which there is not a single consonant." Yr ydym yn ammheu a oes unrhyw B.B.D., yn perthyn i Ynys Prydain a all wneyd unrhyw synwyr o'r frawddeg a ganlyn: "Often in two couplets there is a threefold rhyme," ac yr ydym yn sicr fod dyweyd, "This poetical composition ('the alliterative concatenation of sounds') may be found in short, terse, pithy triplets, called the Triads, which are said to be of Druidic origin," yn bradychu dirfawr anwybodaeth. Y mae brwdfrydedd yr awdwr dros yr iaith Gymraeg yn cael ei ddangos mewn lle arall yn y frawddeg glasurol a ganlyn: "The execution of his work [cyfieithu y Llyfr Gweddi Cyffredin gan yr Esgob Griffith], however the translation may appear here and there somewhat stiff, not possessing that easy flow of which the resources of the Welsh tongue are so abundant, displays great skill and judgment, and possesses unquestionable merits." Yr ydym yn ofni fod yr awdwr yn gosod y *flattering unction to his soul* yn rhy garedig braidd yn tu dal. 63, pan ddywed, "And if that custom of electing natives to vacant bishoprics had ever since prevailed, the old British race would never have been so alienated from the old British Church." Ni phetrusa roi barn ar Dr. John Owen, y Puritan, ac eto dyma a ŵyr yn ei gylch,—"And although his character is differently represented, according to the bias of the writer, yet all admit that he was a great historian, a perfect master of Latin, Greek, and Hebrew languages, well skilled in polemical divinity, and well read in civil law." Pa fodd yn "great historian?" A "well skilled in polemical divinity" ydyw yr oll sydd i'w ddyweyd am ei gyrhaeddiadau rhyfeddol yn y wyddor y cysegrodd ei alluoedd mawrion am faith flynyddoedd i'w hastudio ac i'w chyfoethogi, ac a'i gosododd o hyny allan ar yr orsedd fel tywysog duwinyddion Prydain! Anmhriodol iawn ydoedd galw *Twm Sion Catti* "the Dick Turpin of Wales;" ond gwaeth o lawer na hyny, ïe, arddangosiad o chwaeth isel iawn oedd galw Williams, "y telynor o Bant-y-celyn." Mae *Resurgerit* (Adgyfyd), yn niwedd hanes Rhys Prichard yn darawiadol; ond mae fod yr un gair yn dyfod i'n golwg mor fuan drachefn yn hanes Rôwlands yn ymddangos yn gymhenllyd, neu, ys dywed Syr Hugh, "it is affectations." Mae awdwyr o'r rhywogaeth yma yn gyffredin yn gwneuthur hafog o ddyfyniadau, ac yma yr ydym yn cael *couplet* anfarwol Baxter,

I preached, as never sure to preach again,
And as a dying man to dying men,

wedi ei lurgynio i beth fel yma,

"He preached as if he would ne'er preach again,
As a dying man to dying men."

Dyma dipyn o ynfydrwydd ynghylch yr Esgob Richard Davies,—"His learning and proficiency were not unknown to Queen Elizabeth, when Her Majesty should pass by so many English prelates, and come to Wales for a gentleman who could translate a few books of the Old Testament from the original Hebrew." Ac eto yr oedd y Bibl wedi ei gyfieithu i'r Saesoneg ymhell iawn cyn dyddiau yr Esgob Davies. Sonia Usher am Fibl Saesoneg mor fore â thua 1290; yr oedd cyfieithiad Wickliffe wedi ei wneyd tua 1380; fe argraffwyd Testament Tyndale mor fore a 1526; yr oedd Bibl Myles Coverdale allan yn 1535; ac nid oedd Bibl Archesgob Parker, neu "Fibl yr Esgobion" a gyhoeddwyd yn 1568 ond argraffiad diwygiedig o gyfieithiad ag oedd eisoes yn dra adnabyddus. Ac allan o'r pymtheg oedd yn cael eu penodi gan y Frenhines at y gwaith o edrych dros y cyfieithiad hwnw, yn sicr nid ydyw yn rhyfedd fod wyth o honynt yn esgobion, ac o'r wyth hyny nid ydyw mewn un modd yn wyrth fod un yn Gymro dysgedig. Ymddengys fod yr awdwr

wedi deall y pwnc beth yn well cyn diwedd yr erthygl, canys fe sonia eto am appwyntiad Davies "by Queen Elizabeth to revise and compare with the original Hebrew the Books of Joshua, Ruth, and the first and second Books of Samuel, at the time her Majesty had ordered a new translation of the English Bible, commonly called Parker's Bible." Fel y gallesid dysgwyl oddiwrth ŵr sydd yn barhâus yn dangos y fath anwybodaeth a lledchwithdod yn mhethau lleiaf cyfansoddi, nid ydym yn cael ond ychydig iawn o foddlonrwydd yn ei bethau mwyaf, sef pethau barn a meddwl. Ni chrybwylla yr un diwygiwr diweddarach na Rowlands, ac fe ellid meddwl na fu neb yn teilyngu yr enw y tu allan i gylch yr Eglwys Sefydledig. Ysgrifena hefyd am yr hen enwogion y proffesa roddi eu hanes heb roddi i'r darllenydd wedi y cyfan ond drychfeddwl hynod o anmherffaith a chymysglyd yn eu cylch; a doda ei eiriau ynghyd yn fynych fel bachgen ysgol, yn ymddifyru mewn trwst a rhwysg, ond heb arddangos dim o'r addfedrwydd sydd yn dynodi ysgolheigion. Yr oedd Dr. Alford yn ddiweddar yn cwyno yn y *Contemporary Review*, ac yn dywedyd, "Already the Noncomformists have passed us by in biblical scholarship and ministerial training." A raid i'r TRAETHODYDD fyned ymhellach, a dadleu o blaid ychydig o addysg elfenol i glerigwyr y Sefydliad yn Nhymru?

Yr ydym yn gwrthdystio yn erbyn y cyfieithiad a roddir o wyth o bregethau Rowlands yn niwedd y llyfr hwn. Dywedir wrthym mewn nodiad tra gwerthfawr, "These sermons are said to have been originally and principally translated into English by the Rector of Escourt, whereas Escourt as a *parish*, is a name unknown. For this information I am indebted to the learned T. James, F. S. A., F. G. H. S. (Llallawg), the incumbent of Netherthong, Huddersfield." Diammheu *fod* pelydrau goleuni yn y cucumber hwn o nodiad, ond ein bod ni, fel philosophyddion Laputa, yn analluog i'w tynu allan. Pwy, wedi y cwbl, a wnaeth y cyfieithiad? Os ydyw y peth yn wybyddus, dylasai yr awdwr allu dyweyd wrthym. Ond ymddengys ei fod yntau, "at the suggestion of various friends," wedi barnu yn ddoeth eu talfyru, a'u gosod ger bron yn y wedd y barnai *efe* yn gymhwys gwneyd hyny. Ac yn erbyn yr hyfdra hwn yr ydym yn gwrthdystio â'n holl enaid. Pregethau Rowlands a adwaenom, ac fe fyddai yn werth i Ewrop eu hadwaen; ond beth yw y rhai hyn? Y mae eu nerth wedi marw mewn mursendod, a'u hyawdledd gŵraidd, beiddgar, tanllyd, yn cyrhaedd ein clust mewn rhyw acenion llednais, yspaddedig, nad ydynt amgen nag adsain egwan yn y pellder o daran y pregethwr. Fel un enghraifft o lawer i ddangos hyn, cymerwch y paragraph canlynol yn y bregeth gyntaf, *Newydd Da i'r Cenhedloedd*, dywed Rowlands,—

"Anghenraid i sylwi ar egni y doethion, ynghyd â'u llwyr amcan o fynu gweled brenin yr Iuddewon. Pan na chawsant ef yn Nghaersalem, chwiliasant am dano mewn lle arall. Cyfarfuasant â dau beth tebygol i gloffi y llwfr, neu un heb egni ynddo; hyny yw,—yn gyntaf, aflwyddiant. Tybiasant yn sicr y cawsent hanes o hóno yn Nghaersalem, ond nid oedd ef ddim yno i'w gael. Buasai hyn yn ddigon i gloffi miloedd yn ein dyddiau ni, trwy ddywedyd, gan nad ydyw yr offeiriaid a'r ysgrifenyddion yn ymorol am Grist, beth a wnawn ni? a wyddant hwy ddim yn well na ni? Gan bwyll, Gymry glân. Mewn barn y rhoddwyd i chwi offeiriaid i gydgwympo, ac i gydorwedd, i gydyfed, ac i gydchwareu Pan elont hwy i'r nefoedd, chwithau ewch. Och! mae arnaf ofn mai nid eleni y bydd hyny: canys os cynnygiant tua'r nefoedd, hwy gollant eu bara ar y ddaear, a hwythau, drueiniaid, yn anfedrus iawn o archwaethu bara'r nef. Nid am bawb o'r offeiriaid yr wyf yn dywedyd, ond fel y dywed pen bardd Cymru,—

'Dodi 'r dall ar hen dysgwylfa,
Dodi 'r dwl i ddysgu tyrfa,
Dodi 'r diddysg wrth y llyw,
Yw dodiad dyn, nid dodiad Duw.'

Y rhai ydwyf fi yn eu feddwl, yw y rhai ni chawsant ddim o'r dawn, ond yn unig y degwm: eithr y doethion a adawsant Gaersalem, pan na chawsant yr Arglwydd yno, ac a aethant i'w geisio ef mewn lle arall. Annogaeth fawr yw hon i ni i ymlynu yn

ein proffes: os methwn heddyw, glynwn wrthi yfory; os nad yw ein pechodau yn marweiddio ar y cyntaf, na ddigalonwn, eithr dysgwyliwn am holl fuddugoliaeth arnynt. Gwnawn yn ol yr hyn a ddywedodd Dafydd yn mherson yr eglwys, Psalm cxxiii. 2, 'Wele, fel y mae llygaid gweision ar law eu meistriaid, neu fel y mae llygaid llawforwyn ar law ei meistres; felly y mae ein llygaid ni ar yr Arglwydd ein Duw, hyd oni thrugarhâo efe wrthym. Hyd pa bryd? Hyd flwyddyn neu ddwy, neu gant, neu ychwaneg! Nage. Pa hyd, ynte? Hyd oni thrugarhâo efe wrthym ni. Ond pa bryd y bydd hyny? Nid oes wybod pa un a fydd hyny byth. Ddyn! attal dy dafod; na chabla Dduw; onid ydyw efe yn dywedyd, 'Y neb sydd yn ceisio sydd yn cael.' Ond y mae llawer yn ceisio heb gael. Nag oes un, os ydych yn deall pa beth yw ceisio. Beth, medd un, onid yw yn ysgrifenedig yn Luc xiii. 24, 'Llawer a geisiant, ond nis cânt.' Gwir; ond deall yr amserau *(tenses)*, nid yn awr y maent yn ceisio, ond hwy a geisiant yn yr amser a ddaw. Oh! ni wna hyny ddim o'r tro: y mae etholedigaeth yn bod; ni cheir dim myned i ogoniant er ceisio, oni cheisi fyned i mewn i fywyd Crist yma. Y mae gwrthod dynion wrth borth y nef (canys pawb, fel Balaam, a ddymunent farw yn dda a myned i mewn i'r nef); eithr yn nheyrnas gras nid oes wrthodedigaeth; oblegid pa fodd y gwrthodir neb heb geisio? O ba herwydd, enaid anwyl, cais, a chais, a chais drachefn, hyd oni thrugarhâo. Gwêl Hab. ii. 3. 'Os erys, dysgwyl am dani; canys gan ddyfod y daw, ac nid oeda.' Yn y cyffelyb ddull i'n cynghorir gan St. Paul, Gal. vi. 9, 'Yn gwneuthur daioni, na ddiogwn; canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn.' Fe ymddengys wrth hyn, fod y sawl sydd yn cael gras i barhâu hyd y diwedd, yn siwr o gael y goron. Ystyriwn fel y dygwyddodd i'r eglwys Inddewig. Can. iii. 1, 'Hi a'i ceisiodd yn ei gwely,' ond methodd ei gael: hi a gododd, aeth allan i'r heolydd, cyfarfu â'r gwylwyr, cernodiwyd hi; eto, yr oedd heb gael yr 'hwn oedd hoff gan ei henaid:' er hyn i gyd, ni ddychwelodd yn ei hôl; yn y blaen hi aeth, ond nid yn nebpell, hyd oni chafodd hi ef. Dyma fel y dylem ni oll wneuthur; er ffaelu cael llwyddiant ar ein llafur heddyw, anturiwn i lafurio yfory; ac na roddwn i fyny y gwaith nes y caffom y fendith. Mor fach ydyw amynedd dynion; oni chânt hwy eu gwobrwyo yn eu hamser eu hunain, barnant yr Arglwydd yn annheilwng o wasanaeth. Yr Iuddewon, yn Hag. i, a ddechreuasant adeiladu y deml ar ol eu dychweliad o'r caethiwed; ond pan y bygythiwyd hwy, gadawsant heibio adeiladu: digiodd yr Arglwydd wrthynt, ac a nacäodd roddi bara iddynt; a phan y rhoddai fara iddynt, byddai yn aflesiol ac annigonol. Felly Dafydd, yn 1 Cron. xiii., er dechreu dyfod â'r arch adref yn orfoleddus, pan welodd daro Uzza am gyffwrdd â'r arch pan ydoedd yn ysgwyd, efe a ofnodd ei dwyn hi i'w ddinas. Ei fai ef ydoedd hyn, a'i fawr wendid. Gwelwch, gan hyny, y dylem lynu wrth ein dyledswyddau, ac na pheidiom a gweithio hyd oni ddelo efe a'n bendithio. Clywed yr ydym yn Gen. xxvi. 19, i weision Isaac gloddio yn y dyffryn, a chaffael yno ffynnon o ddwfr rhedegog. Fe allai iddynt gloddio gwrhyd, dau, tri, pedwar, pump, chwech, ac eto heb ddim dwfr; er hyny, cloddio a wnaethant o hyd, ac o'r diwedd, dwfr a gawsant, Ie, ffynnon o ddwfr rhedegog: felly ninnau a allwn geisio cysur heddyw heb ei gael, ac yfory heb ei gael; eto, na roddwn heibio, ac na ophwysswn hyd oni chaffom ffynnon fywiol o gysuron.—Yr ail ddigalondid a gawsant, oedd yr esamplau drwg a welsant: canys yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid oeddent ddysgedig, a chyfarwydd yn y Gyfraith; eto, ni thynodd un ei droed o'r fan i geisio Crist. Gadewch iddo, os na ddeuant hwy, chwi gewch weled pwy a ä. Y doethion a droisant oddiwrthynt, ac a aethant allan o'u mysg i geisio Crist. Mae hyn yn ein dysgu ni i beidio dilyn arfer neb ymhellach nag y dilynant hwythau arfer Crist. Gwell yw myned ein hunain i'r nefoedd, na chael cymdeithas lliaws i fyned i uffern. Yr ydym yn darllen yn Marc v. 18, i'r dyn y bwriodd yr Iesu gythreuliaid allan o hono, ddymuno bod gyda'r Iesu. Er bod y wlad yn dymuno arno ymadael â'u cyffiniau hwynt; ni ddilynai efe mo esamplau ei wladwyr. Felly tithau, os bwriodd yr Arglwydd gythraul allan o honot, ti a ganlyni Grist, fel pysgodyn byw, yn erbyn llifeiriant o ddyfroedd, Ie, ac o afonydd y fall! Josuah a fwriadodd, a diammheu a gyflawnodd hefyd, iddo ef a'i dylwyth wasanaethu yr Arglwydd, pa beth bynag a wnai eraill o'r Israeliaid: a rhai o'r Israel eu hunain a ddywedasant yn Micah iv 5, 'A'r holl bobloedd a rodiant bob un yn enw ei dduw ei hun; a ninnau a rodiwn yn enw yr Arglwydd ein Duw, byth ac yn dragywydd!' Da yw bod dynion wedi ymwreiddio mewn bwriadau cywir i ganlyn Crist; oblegid fod esamplau drwg, fel llifeiriant, yn cludo pob peth o'u blaen na byddo gwraidd iddo, neu yn rhy drwm i'w ddwyn. Wele, wele, os bydd dynion feirw, ac os nas gallwn eu hattal hwynt, byddent feirw; a bydded eu gwaed ar eu penau eu hunain."

A dyma y pitw tlawd ac eiddil a gawn yn y llyfr hwn, yn lle y pregethu mawreddog yna, a phroffesa fod yn gyfieithiad o hono!—

"See the efforts which the wise men made. They came to Jerusalem, but they were disappointed. Their efforts met with no success. The priests of the temple and scribes of the law could furnish no information. The council of the Sanhedrim, and their glorious city—'the joy of the whole earth'—could form no attraction when Jesus was not to be found. Where He was not, they could not remain. This teaches us, that neither the indifference of the learned, nor carelessness of our superiors, should ever furnish an excuse for our negligence. Diligent in our duties, striving in our efforts, 'our eyes' should never cease to 'wait upon the Lord our God.' Not for a day, nor for any particular time, but until He should have mercy upon us.' 'Thought it tarry, wait for it; because it will surely come, it will not tarry,' for 'in due season we shall reap, if we faint not.' The example of the wise men leaving Jerusalem should teach us to bid adieu to every place where the favour of God is not to be found, and where the things of God are not known. As they withdrew themselves from the celebrated city of Jerusalem, when they could not find Jesus there, so should each of us, whatever may be our condition in life, withdraw from the tents of the ungodly and the seats of the wicked, however inviting rheir appearance, or alluring their temptations. Rest not in your duties, nor place any confidence in your performances. Go on to seek the Lord, until he is formed in your souls, and with a single eye look to Jesus as your hope of glory. Seek him in his temples here below, that you may dwell with him for ever in his tabernacle above."

Peth fel yna yn dwyn un radd o debygolrwydd i Rowlands? Nac ydyw, syr, mwy nag a ddygwch chwithau i Arthur Gawr. Mae yn dra phoenus genym orfod ysgrifenu fel yma am waith cydwladwr yr agorasom ei lyfr gyda theimladau tra charedig; ond o barch i bethau sydd yn fawr ac yn gysegredig yn ein golwg, yr ydym yn hyderu mai ychydig iawn fydd yn ffurfio eu syniadau am y diwygwyr Cymreig, ac yn enwedig am bregethau Rowlands Llangeitho, oddiwrth yr hyn a ddarllenant yn y llyfr hwn.

*Pregethau y diweddar Barch.* JOHN JONES, Tal-y-sarn. Dan olygiad y Parch. GRIFFITH PARRY, Llanrwst. Rhan I. Dinbych: Gee.

Y mae yn hyfrydwch digymysg genym weled fod gobaith i ni gael y fath gasgliad o bregethau y gweinidog anwyl a nerthol o Dal-y-sarn. Mae y rhan yma yn cynnwys deuddeg o honynt, a dywedir y cyhoeddir y gwaith mewn chwech o ranau. Yr oeddym yn ofni ymron na chaem yr hyfrydwch o ddarllen yr un o'i bregethau; ond weithian dyma i ni olwg am gael tua deg a thriugain o honynt i'n meddiant, ac yn sicr hwy a fyddant yn drysorau tra gwerthfawr yn ein golwg. Mae yn ffodus iawn hefyd fod gwasanaeth gŵr mor fedrus ac mor hollol gymhwys i'r gwaith â'n hanwyl gyfaill o Lanrwst wedi ei sicrhâu i olygu y pregethau yma. Y mae yn angenrheidiol cael y fath gynnyrchion â'r rhai hyn wedi eu gosod ger bron mewn dull na fyddo yn annheilwng o'u rhagoriaeth diammheuol hwy eu hunain nac yn ddolur llygad i'r puraf ei chwaeth; ac nid oes neb yn fyw a allasai ofalu am hyny gyda meddwl mwy craff a llaw mwy sefydlog na Mr. Parry. Ymddengys fod rhai o'r pregethau hyn wedi eu hysgrifenu yn gyflawn iawn gan Mr. Jones ei hun, ond mewn llawysgrifen sydd ymron yn anweledig o fân; ac fod y lleill wedi eu hysgrifenu gan wahanol bersonau wrth eu gwrando. Yr ydym hefyd yn gobeithio fod y Golygydd yn rhoddi i ni y fantais o'i gynefindra mawr â gweinidogaeth Mr Jones, ei edmygydd dirfawr o hono, a'i gof gafaelgar o'i ymadroddion, wrth barotôi y pregethau i'r wasg. Ni ddywedir pa rai o honynt a ysgrifenwyd ganddo ef ei hun, na pha rai a ysgrifenwyd wrth eu gwrando, na chan bwy yr ysgrifenwyd y rhai hyny. Yr ydym yn gobeithio y cofir am hyn yn y rhagymadrodd. Ond y mae wedi bod yn ddyddorol genym ni sylwi ar y gwahaniaeth rhyngddynt fel y maent wedi ei hargraffu, gwahaniaeth nad oes genym ni ddim cyfrif i'w roddi am dano ond sydd yn gysylltiedig â

hanes yr ysgrifau a ddefnyddiwyd. Y mae rhai o'r pregethau yn nodedig am noethder eu harddull, a'u hamddifadrwydd o'r cyffyrddiadau swynol hyny a fyddent mor ryfeddol o ddymunol pan yn cyrhaedd dychymyg a chalon eu gwrandäwyr. Mae y rhai hyny, dybygem, wedi eu hysgrifenu gan y pregethwr ei hun. Yn ei fyfyrdodau neillduol mae yn amlwg mai ei bwnc mawr ef oedd cael golygiadau eang a theilwng ar y gwirionedd, a pha beth bynag a ysgrifenai, yr ydoedd yn sylweddol a phur, fel "cŷn o aur Ophir." Diammheu ei fod yn gweled, ond iddo ef gael hanfod ei bregeth yn glir a thrwyadl yn ei feddwl, y deuai y pethau eraill iddo megys o honynt eu hunain, yn ngoleuni a chynhesrwydd y traddodiad. Y pethau eraill hyny, o'r ochr arall, ag oeddynt, mae yn dra thebyg, yn ailraddol yn ngolwg y pregethwr, oedd fwyaf gwerthfawr yn ngolwg y rhai a ysgrifenent ei bregethau wrth eu gwrando; ac y mae y pregethau y tybiwn eu bod wedi eu hargraffu o ysgrifau felly, tra yn amcanu cadw yn ofalus at swynion ei areithyddiaeth, yn ddiffygiol yn y manylrwydd rhesymegol a'r craffder oedd yn perthyn yn arbenig i bregethau Mr. Jones. Ond mae y cwbl yn angenrheidiol cyn y gellir cael drychfeddwl cyflawn am ei bregethau ef. Ac o ran hyny, yr oedd arddull ei bregethau yn amrywio yn fawr. Os nad ydym yn camgymeryd, ychydig o brif bregethwyr Cymru oedd yn gallu bod mor gartrefol ag ef mewn cynifer o wahanol-rodfëydd mewn pregethu. Weithiau fe'i ceid ymron yn ysgrythyrwr noeth, fel pe buasai ei feddwl yn ymorphwys gyda boddlonrwydd tawel yn unig mewn gallu cael allan beth oedd tystiolaeth bendant y Bibl ar y mater fyddai ganddo dan sylw; weithiau fe fyddai gyda llaw feistrolgar yn trin cydberthynas gwirioneddau mewn duwinyddiaeth athrawiaethol; weithiau gellid meddwl mai arddansoddiaeth oedd ei hoff efrydiaeth, ac nad ymddangosai dim iddo mor ddymunol ag olrhain perthynas athroniaeth a duwinyddiaeth, a dwyn ymlaen dystiolaeth fawr natur yn y grëadigaeth, ac yn enaid dyn, i awdurdod cenadwri yr Efengyl fel gwirionedd Duw; weithiau fe fyddai ei holl natur fel yn farddoniaeth fyw; ac yn aml, trwy fawr ddaioni yr Arglwydd, byddai fel yn colli ei olwg ar bob peth arall, ac yn cyfeirio holl adnoddau ysplenydd ei feddwl a'i ysbryd at yr amcan mawr o rybuddio pechaduriaid i ffoi rhag y llid a fydd. Yr oedd gwahaniaeth mawr yn yr ystyriaethau hyn rhwng y naill bregeth a'r llall, ac yn fynych byddai gwahaniaeth mawr rhwng yr un bregeth ar wahanol amserau. Ond tuag at gael ei bregethau ef yn eu perffeithrwydd, yr ydym yn dyfalu mai y dïogelwch mwyaf fyddai cael ei ysgrifen ei hun er mwyn adeilwaith a chyfluniad y bregeth, a chael yr hyn a ysgrifenid wrth ei wrando er mwyn yr addurniadau poblogaidd a ychwanegid. Yr oedd ei bregeth ef, pan na fyddai mewn unrhyw ffwdan o ran prinder amser, a phan welai fod pawb wedi eistedd i lawr a gwneyd eu meddwl i fyny i wrando,—y gynnulleidfa megys yn ei law i wneyd fel y mynai â hi,—yn rhywbeth gogoneddus anghyffredin. Y fath berson cadarn, lluniaidd, hawddar, a ymddangosai ger ein bron; y fath lais cyfoethog, organaidd; y fath gyflawnder o natur dda a charedigrwydd; y fath yni cawraidd mewn ymaflyd yn hanfod ei destun, a dadlenu o'n blaen ei Ddwyfol gynnwys; y fath fedr chwareüus mewn ymwneyd â rhagfarnau, â goglais teimladau ei wrandäwyr; y fath gydymdeimlad ëang a dwfn â chyfoeth gras yr efengyl; y fath gyfandiroedd o olygiadau gogoneddus a ddygai o'n blaen; ac yn arbenig gyda y fath ddifrifwch ac anorchfygol nerth yr ymgeisiai at gydgau ei wrandäwyr i ffydd Crist! Mae yn ddyeithr iawn meddwl colli y fath ddynion, a hyny mewn ystyr, yn nghanol eu nerth, a'r "arch, ac Israel hefyd, a Judah, yn aros mewn pebyll," a holl fyddin y Brenin "yn gwersyllu ar hyd wyneb y maes." Ond, "pob cnawd, taw yn ngŵydd yr Arglwydd!" Yr ydym yn teimlo yn wir ddiolchgar fod cymaint o ffrwyth ei feddwl galluog a chyfoethog ar gael, a hyderwn y bydd trwy y pregethau hyn, "wedi marw yn llefaru eto," a hyny er bendith i filoedd lawer. Gwyddom na fydd darllenwyr y TRAETHODYDD ddim yn ol o ddefnyddio y cyfle hwn i'w meddiannu, a hyderwn yn fawr y bydd y genedl yn gyffredinol yn gwneuthur â hi ei hun y gymwynas o'u croesawu. Yr oeddym wedi nodi amryw ddarnau—cwbl Dalysarnaidd—i'w dyfynu: ond gwelwn na oddef ein gofod.

*Credöau y Byd; neu Hanes yr holl Grefyddau a'r Enwadau Crefyddol: Seiliedig ar Waith y Parch.* JAMES GARDNER, M.D. & A.M., Awdwr y Christian Cyclopædia, &c. Dan olygiaeth y Parch. R. E. WILLIAMS, Beaumaris; yn cael ei gynnorthwyo gan y Parchedigion M. Williams, M.A. (Nicander); R. Ellis (Cynddelw); Roger Edwards, Waeddgrug; W. Davies, Bangor; W. Rees, D.D., Liverpool; T. Rees, D.D., Abertawe; a Gweirydd ap Rhys. Ac wedi ei addurno â Cherfluniau Eglurhäol Heirdd oddiar yr Awdurdodau mwyaf diammheuol. Edinburgh: Fullarton a'i Gym. Rhanau 1—5.

"Llawer a gynniweiriant, a gwybodaeth a amlhâ." Ymddengys fod y Cyhoeddwyr Seisonig ac Ysgotaidd yn benderfynol o wneyd eu rhan i wirio y brophwydoliaeth hon gyda golwg ar Gymru yn y dyddiau hyn. Y mae eu dynion yn "cynniwair" y wlad i bwrpas, a diammheu fod miloedd lawer o'n cydwladwyr yn well o hyny. Yr oedd yn dda iawn genym glywed yn ddiweddar am un o ddynion Mackenzie yn ymweled âg ardal Gymreig wledig gyda yr argraffiad ysplenydd a ddygir allan gan y gŵr hwnw o Weithiau Williams Pant-y-celyn; ac er nad ydoedd y dyn yn medru gair o Gymraeg, eto, llwyddodd i gael gan ymron bob teulu yn yr ardal i gymeryd y llyfr. Y mae llwyddiant mawr iawn, yr ydym yn deall, yn dilyn ymdrechion y llyfrwerthwyr teithiol hyn gyda y llyfrau eraill a ddygir allan gan Gyhoeddwyr dyeithr ar gyfer y farchnad Gymreig Ar un golwg, nid allwn lai na llawenhâu, a llawenhâu yn fawr oblegid hyn. Y mae lliaws mawr o'n cydwladwyr trwy hyny yn dyfod yn feddiannol ar lyfrau da na fuasai nemawr debygolrwydd heb hyny y daethent yn feddiannol arnynt byth: ac wedi dyfod o'r cyfryw lyfrau i deuluoedd, y mae rhywrai, o angenrheidrwydd, yn debyg o'u darllen a derbyn lles trwyddynt. Ond y mae dau reswm sydd yn peri i ni edrych ar hyn oll gyda gradd o ofid, Yn un peth, nid y llyfrau a ledanir yn y wêdd yma, yn gyffredin, ydyw y llyfrau mwyaf cyfaddas i genedl y Cymry. Nid ydynt, gan mwyaf, ond cyfieithiadau, a chyfieithiadau o lyfrau sydd wedi eu hysgrifenu ar gyfer dosbarth hollol wahanol o ddarllenwyr. Y mae y genedl Gymreig, fel pob cenedl arall, mewn angen nillduol am lyfrau da wedi eu hysgrifenu gan ei meibion ei hunan, y rhai a fyddont yn ei deall, yn gwybod am ystâd ei meddwl, ac yn meddu cymhwysder i'w hysgrifenu i fyny. Y rheswm arall sydd yn peri i ni deimlo yn anfoddlawn wrth y fasnach lwyddiannus mewn llyfrau a wneir yn Nghymru gan Gyhoeddwyr dyeithr, ydyw, na fyddai yr un anturiaeth ac ymroddiad yn cael eu dangos yn lledaniad y llyfrau Cymreig sydd genym, y rhai sydd yn gwbl gyfaddas i amgylchiadau y genedl, ac yn haeddu annhraethol well derbyniad nag y maent wedi ei gael. Yr ydym eto yn dadgan ein hargyhoeddiad mai un o anghenion neillduol Cymru yn y dyddiau hyn ydyw llyfrwerthwyr teithiol. Y mae rhyw bethau y teimla y wlad nad ydyw yn bosibl gwneyd hebddynt; am hyny, mynir eu cael, er gorfod myned i'w hymofyn. Ond, ysywaeth, nid felly y mae gyda golwg ar lyfrau, ac yn enwedig llyfrau y byddo yn werth i'r bobl eu darllen. Ac mewn lliaws o ardaloedd pan gymhellir llyfrau rhagorol i sylw y werin, llyfrau y credir y dylent gael eu hastudio yn gyffredinol, y cwestiwn dïymadferth a ofynir ydyw, Pa le y maent i'w cael? Mae yn wir fod ein gwaseidd-dra cenedlaethol yn fawr; prin y cydnebydd rhai fod yn bosibl i ddim da ddyfod o Gymru; ac y mae llawer o'r rhai sydd yn edrych i lawr ar bethau goreu eu cenedl fel cibau, yn bywiolaethu yn frâs ar bethau "o'r iaith nesaf" nad ydynt yn haeddu eu cyffelybu â'r pethau Cymreig a ddïystyrant: ond er hyn oll yr ydym yn credu nad oes ond eisiau mwy o ffyddlondeb yn ein dynion goreu i ysgrifenu, a mwy o fywyd ac anturiaeth yn masnach y llyfrau yn ein plith, na fyddai gwedd newydd ar bethau yn fuan. Dywedir wrthym weithiau nad ydyw fawr wiw gwneyd nemawr o ymdrech yn y cyfeiriad yma gan nad ydyw yr iaith Gymraeg i barhâu ond am ychydig. Y mae y chwedl hon wedi ei darogan er ys llawer o ganrifoedd bellach; ond mae y Gymraeg eto yn parhâu; ac y mae yr yni a arddengys mewn cynifer o wahanol ffyrdd yn y dyddiau yma mor bell ag erioed o arddangos arwyddion darfodedigaeth. Pan fydd yn cilio o'r golwg,

dyledswydd addysgwyr y genedl, pa un bynag ai trwy yr areithfa ai trwy y wasg, fydd eu cyfaddasu eu hunain i amgylchiadau eu hamseroedd, gofalu yn ddyfal iawn am y bobl yn adeg beryglus y cyfnewidiad, ac er mwyn eu diwylliad a'u crefydd, cadw ar y blaen iddynt hefyd yn nhiriogaeth yr iaith newydd. Ond nid ydyw yr amser wedi dyfod eto sydd i wneuthur yn afreidiol ein hymdrechiadau ymhlaid dyrchafiad ein cenedl trwy yr iaith Gymraeg. Ac nid ydym ni yn sicr ei fod yn debyg o ddyfod am dymmor maith, os ydyw i ddyfod o gwbl. Sut bynag, y mae Cyhoeddwyr y gwaith hwn ar *Gredöau y Byd*, yn gystal â Chyhoeddwyr eraill cyffelyb sydd yn dwyn allan lyfrau drudfawr yn yr iaith Gymraeg, yn ddigon call yn eu cenhedlaeth i weled fod yma gynhauaf euraidd i'w fedi trwy ledanu llyfrau Cymreig, pa un bynag a ydyw yr iaith Gymraeg ar drancedigaeth ai peidio.

Hysbysir i ni mai "nid cyfansoddiad gwreiddiol ydyw y gwaith hwn; ac eto nid cyfieithiad hollol ydyw." Ymddengys ei fod wedi ei seilio ar lyfr Dr. Gardner, *The Faiths of the World*, a'i gyfaddasu, gan y Golygydd a'i gydlafurwyr, i amgylchiadau Cymru. Y mae hyn yn dda. Y mae gwaith Gardner mewn bri a chymeradwyaeth uchel yn Saesoneg, fel gwaith safonol ar y materion pwysig a drinir ganddo; ac y mae enwau y gwŷr da a roddir ar wynebddalen yr argraffiad Cymreig yn rhoddi sicrhâd rhagorol, dybygid, na fydd dim yn eisieu i wneyd y llyfr y fath ag a rydd foddlonrwydd llawn i bob Cymro ymchwilgar ar y pynciau yr ymgynghoro âg ef yn eu cylch. Mae amryw erthyglau Cymreig tra rhagorol yn y rhanau hyn. Am y gwaith yn gyffredinol, fe geir ynddo gorff mawr o wybodaeth ar faterion y mae llawer iawn o anwybodaeth yn eu cylch, a'r materion hyny—yn gymaint a'u bod yn dangos ymbalfaliadau yr hîl ddynol trwy yr oesoedd am Dduw a chrefydd—y fath ag sydd yn haeddu eu hastudio, ac yn fynych yn dra addysgiadol.

*Gweledigaethau y Bardd Cwsg.* *Gan* Ellis Wynne. Gyda Rhagdraeth gan y Parch. D. L. Pughe, a Thraethawd ar Fywyd ac Athrylith yr Awdwr, gan y Parch. Rhys Gwesyn Jones. Llanidloes: Pryse. 1867.

Dyma eto glasur Cymreig—yn awr yn ei unfed argraffiad ar ddeg—wedi ei gyhoeddi o'r newydd gan Mr. John Pryse. Dro yn ol galwasom sylw at argraffiad o *Ddrych y Prif Oesoedd* a ddygid allan o'r un wasg. Yr ydym eto yn ail ddadgan ein llawenydd weled gweithoedd ein hen ysgrifenwyr yn cael eu gosod mewn ffurf ddestlus, ddarllenadwy, a rhadlawn, o fewn cyrhaedd ein cydwladwyr. Mae yn ddiammheu fod nifer fawr o gopïau o'r gwaith, trwy y deg argraffiad blaenorol, wedi eu lledanu yn y wlad; ond mae yn sicr fod digon o le yn ein plith i'r argraffiad hwn hefyd. Fe ddarfu i'n tadau fwynhâu llawer o ddyddanwch a derbyn llawer o addysg iachus wrth ddarllen y "Gweledigaethau" anfarwol hyn; hyderwn na fydd eu plant yn rhy fursenaidd i wneyd hyny yr un modd. Fe ddichon fod yma ambell air lled drwm ei arogl yn cael ei ddefnyddio, ac ambell gymhariaeth na ddisgynai yn hyfryd ar glust lednais. Ac fe fyddai yn ofid mawr genym feddwl am i neb o'n hieuenctyd hawddgar oddef i rai ymadroddion abrwysg a geir gan y *Bardd Cwsg* lygru eu chwaeth, a pheri iddynt, a hwythau wedi eu dysgu yn amgenach, ymostwng i'w defnyddio. Yr oedd oes Ellis Wynne yn rhyfeddol o wahanol i'r eiddom ni, ac mae yn bur debyg y buasai yn anhawdd iddo ysgrifenu ei lyfr mewn dull ag a fuasai yn debyg o wneyd dyfnach argraff ar werin anwybodus ac isel iawn, o'r fath ag oedd pobl Cymru yn nyddiau Ann, na'r un a gymerodd. Ond na feddwl, Gymro tirion, ein bod wrth ddywedyd hyn yn golygu mai llyfr i'r werin anwybodus yn unig ydyw *Gweledigaethau y Bardd Cwsg.* Os oes neb, hyd yn nôd o ddarllenwyr y Traethodydd, heb ei ddarllen, gwyddom y bydd yn ddiolchgar i ni am wneyd defnydd o'r cyfle hwn i'w gynghori iffynu gwneyd hyny ar frys. Fel *Taith y Pererin*, a rhai llyfrau eraill sydd yn enwog iawn yn llênyddiaeth y byd, y mae *Gweledigaethau y Bardd Cwsg* yn llyfr i'r henafgŵr a'r plentyn ar unwaith, i'r diwylliedig a'r anllythyrenog hefyd. Mae yn sicr o ddenu y darllenydd mwyaf carbwl, a ymaflo ynddo, i'w ddarllen i'r pen; a phe deuai yr argraffiad hwn yn ffordd amryw a adwaenom o ysgolheigion penaf Cymru, gwyddom yn dda nad allent ochel y brofedigaeth, er fe allai am y degfed tro, o ddarllen y *Bardd Cwsg* drosto drachefn. Mae

ei ddychymyg yn feiddgar a barddonol iawn; ei farn—er heb fod yn gwbl rydd oddiwrth ragfarnau ei amseroedd—yn iachus ac addfed; a'i iaith, ond gadael allan rai mefiau, &c., fel y gallesid dysgwyl oddiwrth ysgolhaig oedd yn meddu y fath lewder i feiddio cydfyned âg anian, y fath ag sydd yn peri i ni yn fynych ddotio arni. Fel y cynghorai Horace i ymgydnabyddu ddydd a nos gyda'r cynlluniau Groegaidd—

Vos exemplaria Græca
Nocturna versate manu, versate diurna,—

yr un modd ni phetruswn ninnau ddywedyd nad all neb sydd a'i fryd ar ddyfod yn ysgrifenwr Cymraeg da, ddim fforddio bod yn ddyeithr i Ellis Wynne, ac eraill o'n hen ysgrifenwyr. A oes rhyw raid am enghraifft o'r *Bardd Cwsg?* Dyma ddisgyniad y Bardd i blith y Tylwyth Têg, a'i arweiniad oddiyno i weled *Cwrs y Byd;* darn nad oes flino i fod arno:—

"Ar ryw brydnawngwaith têg o haf hir felyn tesog, cymerais hynt i ben un o fynyddoedd Cymru, a chyda mi yspienddrych, i helpu'm golwg egwan, i weled pell yn agos, a phethau bychain yn fawr; trwy yr awyr deneu eglur, a'r têsyplenydd tawel, canfyddwn yn mhell bell, tros fôr y Werddon, lawer golygiad hyfryd. O'r diwedd, wedi porthi fy llygaid ar bob rhyw hyfrydwch o'm hamgylch, ond oedd yr haul ar gyrhaedd ei gaerau yn y gorllewin, gorweddais ar y gwellt glas, gan sŷn-fyfyrio deced a hawddgared (wrth fy ngwlad fy hun) oedd y gwledydd pell y gwelais gip o olwg ar eu gwastadedd tirion; a gwyched oedd cael arnynt lawn olwg; a dedwydded y rhai a welsant gwrs y byd, wrthyf fi a'm bath. Felly, o hir drafaelio â'm llygaid, ac wedi'n â'm meddwl, daeth blinder, ac yn nghysgod blinder, daeth fy Meistr Cwsg yn lladradaidd i'm rhwymo; ac â'i agoriadau plwm, fe gloes ffenestri fy llygaid, a'm holl synwyrau eraill, yn dŷn ddiogel. Eto, gwaith ofer oedd iddo geisio cloi yr enaid, a fedr fyw a thrafaelio heb y corff; canys diangodd fy ysbryd ar esgyll ffansi allan o'r corpws clöedig; a chyntaf peth a welwn i yn fy ymyl, oedd twmpath chwareu, a'r fath Gadgamlan,* mewn peisiau gleision, a chapiau cochion, yn dawnsio yn hoew brysur. Sefais enyd ar fy nghyfyng gyngor a awn i atynt ai peidio; oblegid ofnais, yn fy ffwdan, mai haid oeddynt o Sipsiwn newynllyd; ac na wnaent ddim llai na'm lladd i'w swper, a'm llyncu yn ddihalen; ond o hir graffu, mi a'u gwelwn hwy yn well a thecach eu gwêdd na'r giwed felynddu, gelwyddog hono. Felly anturiais neshâu atynt, yn araf deg, fel iâr yn sangu ar farwor, i gael gwybod beth oeddynt; ac o'r diwedd gofynais eu cenad fel hyn o hyd fy nhin; 'Atolwg, lâu gynnulleidfa, yr wyf yn deall mai rhai o bell ydych, a gymerwch chwi Fardd i'ch plith, sy'n chwennych trafaelio?' Ar y gair, dystawodd y trwst, a phawb a'i lygad arnaf, a than wichian, 'Bardd,' ebe un a 'Trafaelio,' ebe un arall; 'I'n plith ni,' ebe y trydydd. Erbyn hyn mi adwaenwn rai oedd yn edrych arnaf ffyrnicaf o'r cwbl. Yna dechreuasant sibrwd o glust i glust rhyw ddirgel swnion, ac edrych arnaf; a chyda hyny torodd yr hwndrwd, a phawb â'i afael ynof, codasant fi ar eu hysgwyddau, fel codi Marchog Sîr; ac yna ymaith â hwynt, fel y gwynt, tros dai a thiroedd, dinasoedd a theyrnasoedd, a moroedd a mynyddoedd, heb allu dal sylw ar ddim, gan gyflymed yr oeddynt yn hedeg. A pheth sydd waeth, dechreuais ammheu fy nghymdeithion wrth eu gwaith yn gwrthuno ac yn cuchio arnaf, eisiau canu duchannedd i'm brenin fy hun.

"'Wel,' ebe fi wrthyf fy hun, 'yn iach weithian i'm hoedl; fe â'r carn Witsiaid melldigedig hyn â mi i fwytty neu syler rhyw Bendefig, ac yno y gadawant fi i dalu iawn gerfydd fy nghêg am eu lledrad hwy; neu gadawant fi yn noeth lymyn i fferu ar Forfa Caer, neu rhyw oerle anghysbell arall. Ond wrth feddwl fod y wynebau a adwaenwn i wedi eu claddu, a'r rhai hyny yn fy mwrw, a rhai eraill yn fy nghadw uwch ben pob ceunant, deallais nad Witsiaid oeddynt, ond mai rhai a elwir Tylwyth Têg. Ni chawn ni attreg nad dyma fi yn ymyl yr anferth Gastell tecaf a welais erioed, a llŷn tro mawr o'i amgylch: yma dechreuasant roi barn arnaf: 'Awn âg ef yn anrheg i'r Castell,' ebe un, 'Nage, crogyn ystyfnig, taflwn ef i r llŷn, ni thâl mo'i ddangos i'n tywysog mawr ni,' meddai'r llall. 'A ddywed ef ei weddi cyn cysgu?' ebai'r trydydd. Wrth iddynt son am weddi, mi ruddfanais ryw ochenaid tuag i fyny, am faddeuant a help, a chynted y meddyliais, gwelwn ryw oleuni o hirbell yn tori allan, O mor brydferth! Fel yr oedd hwn yn neshâu, yr oedd fy nghymdeithion yn tywyllu ac yn diflanu; a chwipyn, dyma'r Dysglaer yn cyfeirio tros y castell atom yn union; ar hyn gollyngasant eu gafael; ac ar eu hym-

* "Tyrfa fawr wedi myned yn blith-draphlith."—*Eglurhâd o'r geiriau mwyaf annealladwy,* yn niwedd y llyfr.

adawiad troisant ataf gawch uffernol; ac oni buasai i'r angel fy nghynnal, buaswn ddigon mân er gwneyd pastai, cyn cael daear.

"'Beth,' ebai'r Angel, 'yw dy neges di yma? 'Yn wir, fy Arglwydd,' ebe finnau, nis gwn i pa le yw yma, na pheth yw fy neges, na pheth wyf fy hun, na pheth a aeth â'm rhan arall i; yr oedd genyf bedair aelod a phen; a pha un ai gartref eu gadewais ai i ryw geubwll (canys côf genyf dramwy dros lawer o geunentydd) y bwriodd y Tylwyth Têg fi, os *têg* eu gwaith, nis gwn i, Syr, pe crogid fi.' 'Têg,' eb efe, 'y gwnaethent â thi, oni bai fy nyfod i mewn pryd i'th achub o gigweiniau plant annwfn. Gan fod cymaint dy awydd i weled ewrs y Byd bach, cês orchymyn i roi i ti olwg arno, fel y gwelit dy wallgof yn anfodloni i'th ystâd a'th wlad dy hunan.' 'Tyred gyda mi, am dro,' eb efe; a chyda'r gair, a hi yn dechreu tòri'r wawr, fe a'm cipiodd ymhell bell tu uchaf i'r castell; ac ar ysgafell o gwmmwl gwŷn, gorphwysasom yn yr entrych, i edrych ar yr haul yn codi, ac ar fy nghydymaith nefol, oedd lawer dysgleiriach na'r haul, ond bod ei lewyrch ar i fyny gan y llèn gêl oedd rhyngddo ac i waered. Pan grÿfhäodd yr haul, rhwng y ddau dysglaer, gwelwn y ddaear fawr, gwmpasog, megys pellen fechan gron, ymhell oddi tanom.'Edrych yr awron,' ebe'r Angel, ac a roes i mi ddrych ysbïo, amgen nag oedd genyf fi ar y mynydd. Pan ysbïais drwy hwn, gwelwn bethau mewn modd arall, eglurach nag erioed o'r blaen. Gwelwn un Ddinas anferthol o faintioli; a miloedd o ddinasoedd a theyrnasoedd ynddi; a'r eigion mawr fel llŷn tro o'i chwmpas; &c., &c."

*Oriau Hamddenol: sef darnau difyrus ac addysgiadol mewn Hanesyddiaeth, Bywgraffyddiaeth, Anturiaethau, &c., &c. Gan* JOHN H. Parry, C.M. Liverpool: I. Foulkes.

MAE lliaws mawr yn ein gwlad nad ydynt erioed wedi cael blâs ar ddarllen, ac nad allant amgyffred y mwynhâd y mae dynion yn gael wrth ymarfer â'r fath waith. A rhaid addef nad yw ein llênyddiaeth yn gyfoethog mewn un modd mewn pethau cymhwys i'w rhoddi yn nwylaw dynion felly. Pan y mae y gelfyddyd o ddarllen ymhell o fod wedi cael ei meistroli gan ddyn, nid ydyw yn debyg y bydd idde dderbyn nemawr o galondid i geisio myned rhagddo pan mae y mater a roddir iddo i'w ddarllen y fath fel nad all ei ddeall, ac nad ydyw yn bosibl iddo ei fwynhâu. Mae y llyfr hwn wedi ei barotôi yn benodol ar gyfer y dosbarth yma. Mae y triugain tu dalen cyntaf yn rhoddi hanes tra darllenadwy am Garibaldi; ac y mae gweddill y llyfr yn cael ei wneyd i fyny o hanesynau, chwedlau, a sylwadau difyrus, y bydd yn anhawdd iawn i neb ddechreu eu darllen heb fŷnu myned drwyddynt. Tra yr ydym yn dweyd fod y llyfr yn neillduol gyfaddas i'r amcan y bwriedir ef yn benodol iddo, sef magu ysbryd darllen mewn rhai sydd i fesur yn amddifad o hóno, yr ydym hefyd yn sicrhâu darllenwyr addfetach y teimlant yn ddiolchgar, o'i ddarllen, am lawer o wybodaeth fuddiol, a llawer o ddifyrwch a mwynhâd.

*Cywydd ar Gariad Duw. Gan y Parch.* DAVID EDWARDS. Glanyrafon.

A YDYW David Edwards hefyd ymysg y beirdd? Fe allai nad yw y Cywydd hwn yn meddu digon o deilyngdod, mwy na lliaws o gyfansoddiadau cyffelyb, i anfarwoli enw yr awdwr; ond er ei ddiffygion, y mae ynddo lawer o rywbeth ag sydd yn dïarfogi beirniadaeth, ac nid ydyw yn amddifad o rai cyffyrddiadau âg sydd, yn awenyddiaeth teimlad crefyddol, yn peri i'r galon deimlo oddiwrthynt. Er enghraifft, dywed am y Gwaredwr,

E gofia mewn Gwŷnfa gain,
Achos ei weiniaid bychain.

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## JOHN OWEN, D.D.

II.

Yr oedd tref henafol Colchester, yn Essex, wedi cyhoeddi ei hun er yn gynnar yn y rhyfel cartrefol o blaid y Senedd; ond yn y flwyddyn 1648, cyfododd cyfeillion Charles yn ddirybudd, a gorchfygasant hi, gan garcharu gwŷr y Senedd, y rhai oeddynt yno yn arolygu y lle. Mewn canlyniad i hyn, anfonwyd Arglwydd Fairfax gyda byddin i'w hadfeddiannu, ac i ryddhâu y carcharorion. Drwy ystod y gwarchäead, yr hwn a barhäodd am yn agos i un wythnos ar ddeg, dewisodd Fairfax Coggleshall, drwy ei bod yn agos i Colchester, yn gadlys iddo ei hun; ac ymddengys iddo gymeryd Owen fel ei weinidog ysbrydol tra y bu yno. Fel hyn y dechreuodd cyfeillgarwch rhwng Owen ac Arglwydd Fairfax, a arweiniodd y blaenaf, fel y ceir gweled, i gysylltiadau tra phwysig. Ar derfyn y gwarchäead, galwyd Owen i bregethu ddwywaith; unwaith i'r fyddin yn Colchester ar ddydd diolchgarwch am ei chymeriad, a'r tro arall i'r carcharorion ar yr achlysur o'u gollyngdod. Ei destun, ar y naill amgylchiad a'r llall, ydoedd Hab. iii. 1—9. Ymhen ychydig fisoedd wedi hyn, y mae Owen yn cael ei alw i wasanaethu ar achlysur annhraethol fwy pwysig. Yr oedd Charles wedi ei gondemnio gan yr *High Court of Justice* fel bradwr, gorthrymwr, a llofrudd; ac mewn canlyniad wedi ei ddïenyddio o flaen pyrth Whitehall. Drannoeth wedi yr amgylchiad aethus uchod, yr oedd Owen yn pregethu trwy orchymyn o flaen y Senedd. Ceir y bregeth, yr hon sydd yn sylfaenedig ar Jer. xv. 19, 20, yn argraffiad Clark. Yr oedd y testun yn rhoddi digon o le iddo drafod dygwyddiadau cyffröus y pryd; ond yn lle gwneyd hyny, cyfynga ei hunan i sylwadau ar egwyddorion cyffredinol, heb gymeryd sylw o'r gweithrediadau neillduol oeddynt ar y pryd yn syfrdanu y deyrnas. Nid oes dim yn hanes bywyd Owen sydd wedi rhoddi cymaint o achlysur i'w elynion ei gablu, ac, yn wir, i lawer o'i gyfeillion ei feïo, ag ydoedd ei waith yn pregethu y bregeth dan sylw ar y fath adeg. Mŷn rhai fod ei waith yn cydsynio i bregethu ar y fath amgylchiad yn dangos ei fod yn cymeradwyo yr hyn oll a wnaethid y dydd o'r blaen gan y Seneddwyr; mae eraill, drachefn, yn edrych ar ei waith yn osgoi heb siarad ei feddwl yn groew ar yr hyn oedd newydd gymeryd lle, fel ymddygiad llwfr ac annewr. Ond dyma fel y dadleua Dr. Thomson:—"Y mae y rhai sydd yn prïodoli ei ddystawrwydd i ddiffyg gwroldeb, yn cymeryd yn ganiatäol ei fod yn edrych ar ddïenyddiad Charles fel trosedd anamddiffynadwy. Ond ai hyn o angenrheidrwydd oedd barn Owen? Y mae yn sicr yn bosibl, tra yn credu fod y blaid a ddygodd Charles i'r dïenyddle wedi tòri llythyren y cyfansoddiad gwladol, y gallai hefyd ei fod

yn credu i hyn ddyfod oddiamgylch fel cosbedigaeth gyfiawn ar un ag y bu ei holl fywyd yn un cynllwyn hirfaith yn erbyn y cyfansoddiad hwnw, a'r hwn a amcanodd dros yspaid pedair blynedd ar ddeg, trwy nerth a thwyll, i sefydlu gorsedd gorthrwm ar adfeilion rhyddid y bobl. Gallai ei fod yn barnu fod trosedd yn erbyn y cyfansoddiad mor bosibl ag yn erbyn y goron, a hyny, a dyweyd y lleiaf, yn llawn mor gosbadwy; a thra yr oedd y brenin yn gwrthod pob llywodraeth trwy gyfraith, nad oedd ganddo hawl mwyach i geisio ymlechu yn nghysgod anghyfrifoldeb. Gallai ei fod yn edrych ar farwolaeth Charles fel cilfach olaf amynedd hir-brofedig y genedl—penderfyniad y cwestiwn, Pwy a aberthid? ai un, ynte y lliaws? Nid ydym yn haeru mai dyna oedd golygiadau Owen; ond y mae yn hysbys ddigon mai dyna oedd barnau rhai o'r meddyliau puraf a mwyaf dyrchafedig yn yr oes ddifrif hono; ac os oedd Owen hyd yn nôd yn *petruso* ynghylch y pethau hyn, y rhai, fel y gwyddys, yr oedd Milton yn eu *credu*, yna dystawrwydd oedd yn cael ei ofyn, nid yn unig gan gallineb, eithr hefyd gan onestrwydd, yn enwedig mewn cyfansoddiad y mae efe ei hunan yn ei ddesgrifio fel 'cicaion Jonah,—cynnyrch un noswaith.'"

Eilwaith y mae Owen yn cael galwad i bregethu o flaen y Senedd, pryd yr oedd prif lywyddion y fyddin yn bresennol. Ar yr amgylchiad hwn y pregethodd ei bregeth enwog—"*On the Shaking of Heaven and Earth,*" Heb. xii. 21. Yr oedd Oliver Cromwell yn bresennol, ac, y mae yn debyg, yn gwrando Owen am y tro cyntaf. Cyn diwedd y bregeth, yr oedd wedi gweled ynddo ddyn o werth annhraethol iddo, a chafodd gyfleusdra drannoeth i amlygu ei ddymuniad a'i fwriad i Owen. Drannoeth galwodd y Doctor gydag Arglwydd Fairfax i amlygu ei barch iddo mewn adgof am eu cydgyfarfyddiad yn Colchester; ond hysbysid ef gan y gwasanaethyddion nas gallai y cadfridog dderbyn neb i'w gyfeillach y diwrnod hwnw, fod amryw bersonau o fri wedi galw eisoes, ac wedi gorfod myned yn ôl heb ei weled. Ond anfonodd gweinidog Coggleshall ei enw iddo; a thra yn aros, wele Cromwell ac amryw swyddogion milwrol yn dyfod ato. Adnabu y Diffynydd y pregethwr a glywodd efe yn pregethu gyda y fath allu y dydd o'r blaen yn union yn mherson tàl a gwedd luniaidd John Owen; a chan agosâu ato, a dodi ei law ar ei ysgwydd, dywedodd mewn dull cyfeillgar, "Syr, chwi yw y gŵr y mae yn rhaid i mi ymgydnabyddu âg ef." Atebai Owen, "Bydd hyny yn fwy o fantais i mi nag i chwi." I'r hyn yr atebodd Cromwell, "Cawn weled hyny yn fuan;" a chan gymeryd Owen gerfydd ei fraich, arweiniodd ef i'r ardd, ac amlygodd ei fwriad o fyned i'r Iwerddon, a'i ddymuniad ar i Owen ei ddilyn fel ei gaplan, ac hefyd i'w gynnorthwyo i archwilio ac ad-drefnu amgylchiadau y Brifysgol yn Dublin. Amlygai Owen gryn anfoddlonrwydd i gydsynio, gan ddadleu yr anhawsder i adael pobl ei ofal yn Coggleshall; ond ni fynai Cromwell ei wrthod; ac ysgrifenodd ei hunan at yr eglwys yn Coggleshall; a phan na fynent ollwng eu gweinidog, cododd erfyniad y Diffynydd yn orchymyn. Ni chawn ymdroi gyda'r ymgyrch hwn i'r Iwerddon, ond yn unig cyfeirio at waith Owen. Tra yr oedd y milwr mawr yn gwasgaru dychryn dros yr holl wlad, yr oedd cenad Duw yn pregethu efengyl Crist i'r miloedd sychedig o fewn muriau dinas Dublin, yn archwilio y Brifysgol, ac yn dyfeisio mesurau er ei gwneyd yn fwy effeithiol. Ni bu ei bregethu yn

ofer; ac arweiniodd ei gynnygion ar ran yr Athrofa i fesurau a fuont yn effeithiol i'w dyrchafu o'i chyflwr adfeiliol a gwywedig. Cyn pen y naw mis, dychwelodd Cromwell i Loegr, wedi cyflawni ei orchwyliaeth yn yr Ynys Werdd yn y dull mwyaf trwyadl, a derbyniodd ddiolchgarwch y Tŷ; a chafodd Owen, tra yn galaru "nad oedd gymaint ag un pregethwr efengylaidd ar gyfer pob dinas gaerog yn yr Iwerddon," ddychwelyd at bobl ei ofal yn Coggleshall.

Ond nid oedd fawr o orphwys i Owen wedi i Cromwell unwaith gael blâs ar ei wasanaeth. Gyda bod y gorchfygwr dihafal gartref o'r Iwerddon, yr oedd galwad arno i fyned i Scotland, am fod ar y wlad hono eisieu gosod Charles II. ar orsedd ei dad; ac y mae archeb yn dyfod o Dŷ y Cyffredin yn gofyn i Joseph Caryl a John Owen ddilyn Cromwell fel ei weinidogion. Pa mor dỳn bynag y gafaelai eglwys Coggleshall yn ei gweinidog, rhaid oedd iddi ei ollwng; ond y mae yn cael dyfod yn ôl atynt cyn i'r cyffrawd yn yr Alban gwbl derfynu, eithr nid i'w fwynhâu ond am ychydig bach o amser. Un bore, y mae Owen yn darllen yn y newyddiaduron, er ei fawr syndod, y newydd canlynol:—"Ar y 18fed o Fawrth, 1651, darfu i'r Tŷ, wrth gymeryd i ystyriaeth werth a defnyddioldeb John Owen, M.A., o Goleg y Frenhines, orchymyn ar fod iddo gael ei sefydlu yn neoniaeth Eglwys Crist, yn lle Dr. Reynolds." Yr oedd Cromwell, cyn hyn, wedi cael ei ddewis yn Ganghellydd Rhydychain; ac ar y 9fed o Fedi, y flwyddyn ganlynol, galwyd Owen yn Is-Ganghellydd. Yr oedd y swyddogaethau hyn yr oedd Owen wedi ei alw iddynt, yn gosod arno orchwylion pwysig. Fel deon Eglwys Crist, yr oedd i lywyddu yn holl gyfarfodydd y coleg, ac i draddodi areithiau ar dduwinyddiaeth; tra, fel Is-Ganghellydd, yr oedd holl reolaeth y Brifysgol mewn gwirionedd yn dyfod i'w law, gan nad oedd swyddogaeth Cromwell fel Canghellydd yn ddim ond enw yn unig. Cafwyd gwaith mawr i'w berswadio i ymgymeryd â'r gwaith a'r cyfrifoldeb enfawr yma. Dïau ei fod wedi rhagarfaethu treulio ei oes mewn bywyd a llafur gwahanol i'r hyn a geisid ei roddi arno yn awr; ac heblaw hyny, yr oedd ei galon yn glymedig wrth bobl ei ofal yn Coggleshall. Hefyd, yr oedd y Brifysgol mewn cyflwr echrydus o isel a dirywiol. Yr oedd dysgeidiaeth wedi ffoi o sŵn a dwndwr rhyfel, a Rhydychain, yn ei hymdrechion o blaid y brenin, wedi llwyr waghâu ei thrysorfëydd a'i chyllid i'w gynnorthwyo yn ei dlodi a'i gyfyngder. Erbyn i'r Senedd fuddugoliaethu ac adferu heddwch, yr oedd rhai o'r colegau wedi eu cau, ac eraill wedi eu troi yn ystorfëydd i gadw arfau rhyfel. Drachefn, edrychid ar Owen gyda llawer o ragfarn gan gyfeillion dirgelaidd esgobyddiaeth, a chan amryw o'r Presbyteriaid. Y mae yn hawdd gweled, gan hyny, fod yn gofyn cryn wroldeb i gymeryd gafael yn yr helm ar y fath adeg, ac yn y fath amgylchiadau. Sut bynag, wedi dwys a difrifol ystyriaeth, dan rym cymhelliadau goreugwyr ei gyfeillion, ac yn ei foddlonrwydd a'i awydd i gysegru ei holl adnoddau a'i egnïon i wasanaeth yr efengyl, y mae ein harwr yn ymgymeryd â'r gwaith gyda nerth cawraidd, a chyda sobrwydd a difrifoldeb Puritan. Cafwyd lle i weled yn fuan fod llygaid eryraidd Cromwell wedi llygadu a gosod "*the right man in the right place.*" Trwy ddwyn i mewn i'w weinyddiadau yr ysbryd addfwyn a goddefgar, yr hwn a ganmolai yn nyddiau ei wrthodiad a'i orthrymder, trwy fod yn anmhleidiol yn ei ffafrau a'i nawddog-

aethau, a thrwy fod yn benderfynol i gadw i lawr â llaw haiarnaidd bob hyfdra ac afreolaeth, llwyddodd i iachâu y Brifysgol oddiwrth ei drygau penaf, a'i hadferu i'r fath gyflwr llewyrchus fel ag i fynu canmoliaeth hyd yn nôd oddiwrth Arglwydd Clarendon. Eithr ei ymdrech penaf oedd magu a meithrin ysbryd crefyddol ymysg yr efrydwyr. Yr oedd ei fywyd a'i esiamplau ef ei hunan, ynghyd â nodwedd gristionogol ei holl orchwyliaeth yn eu plith, yn cydweithio i gyrhaedd yr amcan hwn. Gellid nodi lliaws o bethau yn dangos mor esgud oedd ei fryd ar hyn. Yr oedd yn arferiad i'r Aelodau (*Fellows*) bregethu y naill yn niffyg y llall ar brydnawnau Sabbath yn Eglwys St. Mair; ond wrth ganfod nad oedd amcan uchel pregethu yr efengyl yn cael ei gyrhaedd drwyddynt, ond yn hytrach, llawer yn cael eu niweidio, penderfynodd ymgymeryd â'r gorchwyl ei hunan bob yn ail â Dr. Goodwin, prif athraw Coleg Magdalen; ac yn y dull hwn sicrhäwyd i'r efrydwyr ieuainc weinidogaeth iach a difrifol. Y mae yn bleserus edrych ar adgofion un o'r efrydwyr oedd yno ar y pryd, pan y mae yn adrodd gyda diolchgarwch i Dduw yr ymgeledd a gafodd yno i'w enaid. Ceir hyny yn "Nghofiant Phillip Henry, gan ei Fab." "Soniai yn fynych, gyda diolchgarwch i Dduw," meddai y mab, Matthew Henry, "pa fath gynnorthwyon a manteision a gafodd yn y Brifysgol, nid yn unig mewn dysgeidiaeth, eithr hefyd mewn crefydd a duwioldeb. Yr oedd duwioldeb difrifol yn cael edrych arno yn uchel; ac hefyd y fath gyfleusderau cyffredin oedd ganddynt,—yr oedd llawer o'r ysgolheigion yn arfer ymgynnull ynghyd i weddïo, ac i fwynhâu cymdeithas grefyddol eu gilydd, er mawr gadarnhâd i galonau y naill a'r llall yn ofn a chariad Duw, ac er eu parotöad i wasanaeth yr eglwys yn eu cenhedlaeth. Clywais ef yn dyweyd am y dull doeth a gymerwyd gyda'r pregethau a bregethid ar ddydd yr Arglwydd yn y Brifysgol; arferid pregethu gan Aelodau y Colegau yn eu tro; ond wrth weled nad oedd hyny er cymaint o adeiladaeth, darfu i Dr. Owen a Dr. Goodwin ymgymeryd â'r gwaith o bregethu bob yn ail."

Ond nid oedd yr holl orchwylion pwysfawr hyn yn llethu Owen, nac yn dyhysbyddu ei alluoedd. Yr oedd ei feddwl fel yn ymehangu i gyfateb i'w sefyllfa; ac nid oedd modd gweled un pall ar ei adnoddau. Pan dan yr holl ofalon a'r llafur a nodwyd, nis gallai Cromwell feddwl am gynnal ei gynnadleddau pwysicaf heb gael Owen i'r cynghor; a'r un pryd y mae yn bwrw allan drwy y wasg y fath weithoedd llênyddol ag a fuasent gyda y rhan fwyaf o awduron yn cymeryd oes o amser ac egnïon i'w cyfansoddi. Yn Hydref, 1653, y mae yn cymeryd rhan bwysig mewn cynnadledd o weinidogion, amcan pa un oedd ceisio hyrwyddo y ffordd tuag at gael undeb rhwng y gwahanol bleidiau Cristionogol oedd yn dal Crist yn unig Ben, ac yn cydfarnu am bynciau sylfaenol yr efengyl. Nid llawer o lwyddiant a ddilynodd yr ymdrech yma; hwyrach eu bod yn amcanu at ormod i ddechreu; ond, yn ddiammheu, fe ddywedodd Duw am eu hymdrech mai da oedd fod hyny yn eu calon. Yn ol pob tebyg, tua'r amser yma y graddiwyd Owen yn Ddoctor mewn Duwinyddiaeth. Y mae Anthony Wood, yr hwn a ymboenodd gymaint i geisio pardduo Owen, yn croniclo hyn yn ei "*Fasti Oxonienses*,"— "Rhagfyr 23, graddiwyd John Owen, M.A., deon Eglwys Crist, ac Isganghellydd y Brifysgol, yn D.D." Graddiwyd Thomas Goodwin, cyfaill

Owen, a phrif athraw Coleg Magdalen, yr un pryd yn D.D. Yn nghanol yr holl alwedigaethau hyn, y mae Owen yn cyhoeddi, yn y flwyddyn 1654, waith o faintioli mawr. Y mae y wyneb-ddalen yn amlygu natur ac amcan y gwaith:—"*The Doctrine of the Saints Perseverance Explained and Confirmed; or, the certain permanency of their acceptation with God, and sanctification from God, manifested and proved from the eternal principles, the effectual causes, and the external means thereof; in the immutability of the nature, decrees, covenant, and promises of God; the oblation and intercession of Jesus Christ; the promises, exhortations, and threats of the Gospel; improved in its genuine tendency to obediency and consolation.*" Yr oedd y traethawd hwn yn cael galw am dano gan "*Redemption Redeemed*" John Goodwin, un o'r ysgrifenwyr Arminaidd galluocaf, os nad y galluocaf oll, a gododd yn Lloegr. Edrychir arno hefyd yn gyffredin fel Wycliffe Wesleyaeth yn Lloegr. Trwy ei fod, fel y dywedodd Calamy, yn "ddyn wrtho ei hun,"—yn Arminiad mewn cred, yn Annibynwr mewn llywodraeth eglwysig, ac yn weriniaethwr mewn gwleidyddiaeth, a chydgyfarfyddiad y fath egwyddorion yn yr un person yn gwneyd y person hwnw yn ddyn hynod ac unigol yn yr oes hono—aeth trwy y byd heb i nemawr o'i gydoeswyr allu fforddio rhoi gair da iddo am ddim. Bu cenfigen a malais yn gwneyd pob defnydd a allent o'i hynodrwydd a'i olygiadau gwleidyddol rhyddfrydig, i geisio llygru ac aflanhâu ei goffadwriaeth; eithr y mae Owen yn siarad am dano gyda pharch ac edmygedd, ac y mae hyny yn ddigon i roi taw ar hanner llon'd byd o athrodwyr. Y mae "*Redemption Redeemed*" yn gofgolofn ardderchog o'i ddysgeidiaeth lênyddol a'i alluoedd. Yr oedd yn mryd Goodwin ysgrifenu ar y "Pum' Pwnc" yn y gwaith yma; ond dau o honynt yn unig sydd yn cael eu dadleu ganddo, sef prynedigaeth gyffredinol, a pharhâd mewn gras. Y mae Owen, yn ei atebiad, yn cyfyngu ei hun at y pwnc olaf yn unig; oblegid ei fod, cyn hyny, wedi rhoi ei olygiadau i'r byd ar y prynedigaeth yn ei draethawd, "*The Death of Death in the Death of Christ.*" Wedi eglurhâu y termau a ddefnyddir yn y ddadleuaeth, y mae Owen ar unwaith yn dadguddio y twyll sydd yn ngwaith Goodwin wrth eirio y mater mewn dadl, a'r twyll ymresymiad sydd yn rhedeg drwy ei holl draethawd. Gesyd Goodwin yr athrawiaeth o barhâd y saint mewn gras allan fel yn hòni y byddai i ddynion, unwaith wedi eu dwyn i undeb â Christ, barhâu mewn mwynhâd o ragorfreintiau plant Duw, pe byddai iddynt suddo i'r fath ddyfnderoedd o bechadurusrwydd ag sydd yn hollol anghyson â phresennoldeb ffydd ddiffuant, yr hyn, mewn gwirionedd, nad yw yn ddim amgen na begiò yr holl gwestiwn mewn dadl. Wrth barhâd mewn gras yr ydys yn golygu, bod natur y berthynas a grëir rhwng y credadyn â Duw yn Nghrist y fath fel ag y mae yn sicrhâu na syrth yr un a ddygir iddi byth i'r cyfryw ddyfnderoedd o ddrwg ag sydd yn anghyson â ffydd ddiffuant. Wedi dangos annhegwch darnodiadau Goodwin o sylfaeni y ddadl, a'u dwyn o dan yr orchwyliaeth afaelgar, drwyadl, lawdrom, y byddai pethau o'r fath yn gael ganddo yn wastad, y mae Owen yn rhoi i lawr y gosodiadau canlynol fel sylfaeni têg i'r ddadl:—1. Bod cariad a ffafr Duw, wrth dderbyn a chyfiawnhâu credinwyr yn Nghrist, yn sefydlog ac arosol, ac na thröir byth mohono ymaith. 2. Na bydd i'r Ysbryd Glân, a'r gras a dderbynir gan y saint yn rhad roddion oddiwrth

Dduw yn eu neillduad i fod yn bobl iddo Ef, byth gael eu diffoddi yn llwyr ynddynt, eithr y bydd i'r pethau hyn aros ynddynt fel ag i sicrhâu eu harosiad tragywyddol gyda Duw. 3. Y dylanwadau gwirioneddol ac achosol sydd gan y gwirionedd hwn tuag at gynnyrchu ufudd-dod a dyddanwch yn y saint. Y mae yn profi gwirionedd y gosodiadau uchod, yn 1. Oddiwrth anghyfnewidioldeb y *natur Ddwyfol*. 2. Oddiwrth anghyfnewidioldeb y *bwriadau Dwyfol*. 3. Oddiwrth y *cyfammod gras;* parhâd a chyflawniad anffaeledig pa un a brofir gan y ffaith fod trefniadau y cyfammod yn dilëu pob achos cyfnewidiad; a chan ymrwymiadau Crist fel Cyfryngwr y cyfammod; ac hefyd gan ffyddlondeb Duw. 4. Oddiwrth *addewidion Duw*. 5. Oddiwrth *lŵ Duw;* ond nid ydyw yr awdwr, er wedi arfaethu hyny, yn ysgrifenu ar y pen diweddaf hwn. Yn yr ail ran o'r llyfr, y mae yn dangos fod yr athrawiaeth hon yn annhraethol fwy effeithiol i gynnyrchu ufudd-dod a dyddanwch yn y saint na'r athrawiaeth a wrthwynebid ganddo. Addefir yn gyffredin mai dyma yr amddiffyniad cyflawnaf a chadarnaf o blaid yr athrawiaeth o barhâd mewn gras o fewn cylch llênyddiaeth Lloegr.

Yn fuan wedi hyn y mae y Doctor yn cael ei alw gan Cromwell at waith pwysig ac anhawdd, sef i fod yn aelod o bwyllgor i arholi ymgeiswyr am ordeiniad i'r weinidogaeth, gyda llawn awdurdod i wrthod pwy bynag a geid yn gyfeiliornus mewn athrawiaeth, neu yn halogedig ei fuchedd. Yr oedd oddeutu deugain o weinidogion, ynghyda rhai lleygwŷr, yn gwneyd i fyny y pwyllgor hwn. Diammheu y buasai y fath awdurdod yn llaw dynion pleidgar a chulfarn yn esgor ar ganlyniadau iselwael a niweidiol; ond yn eu dwylaw hwy, bu yn effeithiol i wneyd un o'r cymwynasau penaf i grefydd a christionogaeth y deyrnas. Mae yn wir iddynt gael eu goganu fel ymyrwyr rhodresgar a rhagrithiol gan eu gwrthwynebwyr, a buont yn destun gwawd i awen fustlaidd Butler yn ei "*Hudibras;*" ond y mae y ffaith yn aros heb neb yn meiddio ei gwadu,—nas gellir nodi cymaint ag un a gafodd ei wrthod, oddieithr ei fod yn gyntaf wedi ei gael yn euog, naill ai o anfoesoldeb, neu o fod yn coledd rhai o'r heresiau Socinaidd neu Forganaidd, neu ynte o fod yn llochesu gwrthwynebrwydd i'r llywodraeth. Cyfeiriai Cromwell at eu llafur yn y Senedd fel un o'r bendithion penaf gafodd Lloegr er dechreuad Cristionogaeth. Dyma hefyd dystiolaeth Baxter, yr hwn nas gellir ei gyfrif mewn un modd yn bleidiol i'r pwyllgor, a phwy yn fwy teilwng o ymddiried nag efe?—"O herwydd fod y gynnadledd yma o archwilwyr yn cael eu cyhuddo yn erwin a'u difrïo gan rai dynion, dywedaf y gwirionedd am danynt; ac y mae yn debyg y coelir fi, o herwydd yr oedd y rhan fwyaf o honynt yn fy nghymeryd i fel eu gwrthwynebydd penaf. Y gwirionedd yw, er fod rhai Annibynwyr gorfanwl a gorbrysur yn eu mysg yn rhy lym yn erbyn pawb oedd yn Arminiaid, ac yn rhy fanwl yn eu gofynion ynghylch profion o sancteiddrwydd yn y rhai a arholid, a rhywfodd yn rhy lac wrth dderbyn dynion annysgedig a chyfeiliornus oedd yn ffafrio golygiadau yr Antinomiaid a'r Ail-Fedyddwyr; eto, i roddi iddynt eu haeddiant, gwnaethant ddaioni annhraethol yn yr eglwys. Gwaredasant lawer cynnulleidfa oddiwrth ddysgawdwyr anwybodus, annuwiol, a meddw—y cyfryw ddynion nad ydynt yn meddwl mwy am y weinidogaeth na myned a darllen pregeth ar y Sabbath, a myned y rhelyw o'r wythnos i ganlyn y bobl i'r tafarndai, a'u caledu

mewn pechod; a'r cyfryw weinidogion hefyd ag oeddynt naill ai yn pregethu yn erbyn bywyd sanctaidd, neu ynte yn pregethu fel rhai na wyddent ddim am hyny. Dyna y rhai a wrthodid ganddynt; a gosodent yn eu lle pwy bynag a welent yn bregethwyr galluog a difrifol, ac oeddynt yn arwain bywyd duwiol, o ba olygiadau goddefol bynag y byddent."

Yn y flwyddyn 1654, gosodwyd ar Owen gan Gynghorfa y Wladwriaeth i ysgrifenu atebiad i ddadleuon yr Undodiaid, y rhai, tua'r amser hwn, oeddynt yn cael eu dwyn i sylw a'u hamddiffyn yn Lloegr; a'r flwyddyn ganlynol ymddangosodd ei *Vindiciæ Evangelicæ*. Yn y gwaith yma, y mae yr awdwr yn cyfarfod tair plaid, ysgrifeniadau y rhai oedd yn ymosod ar gredo catholicaidd yr eglwys, ac yn aflonyddu meddyliau llaweroedd; sef gweithoedd John Biddle, tad Sociniaeth yn Lloegr,—"*Twelve Arguments drawn out of the Scriptures, wherein the commonly received opinion touching the Deity of the Holy Spirit is fully refuted;*" "*A confession of Faith concerning the Holy Trinity;*" "*The Testimonies of Irenæus, etc., concerning one God and the Persons of the Holy Trinity;*"—gweithoedd Undodiaid Poland, yn enwedig y *Racovian Catechism*, yr hwn oedd wedi ei gyfieithu i'r Saesoneg, fel y tybir, gan Biddle; ac "*Annotations*" y dysgedig Hugo Grotius; y rhai, er nad ydynt yn uniongyrchol yn dysgu Sociniaeth, ydynt yn darnguddio y gwirionedd yn y rhanau hyny o'r Ysgrythyrau ar y rhai y mae athrawiaethau sylfaenol yr efengyl yn gorphwys. Y mae Owen yn dwyn i mewn yr oll o'r prif bynciau oedd mewn dadl rhwng yr Undodiaid a'r Calfiniaid; a bu ei draethawd yn llawer mwy effeithiol i lesteirio heresiau ei wrthwynebwyr nag a fu gwaith yr awdurdodau yn taflu Biddle i garchar. Un peth sydd yn neidio i'r meddwl o hyd wrth ddarllen y gwaith yma ydyw, ei gyfaddasder i wrthweithio y dduwinyddiaeth sydd yn cael ei gwthio ar y wlad yn y dyddiau diweddaf hyn gyda'r fath ymffrost o newydd-deb a dadblygiant—duwinyddiaeth newydd spon danlliw, duwinyddiaeth ddiweddaraf Germany, sydd yn cael ei gwneyd yn newyddach fyth wrth gael ei hadgynnyrchu yn y deyrnas hon. Oni bae am yr enwau sydd ynglŷn â'r gwaith, a nerth ac arddull Puritanaidd yr ysgrifenydd, gallasai un gael ei arwain gan brofion mewnol i haeru fod y gwaith wedi ei ysgrifenu gyda'r amcan uniongyrchol o wrthweithio duwinyddiaeth Neologaidd y dyddiau presennol; a'r hyn sydd yn rhoddi cyfrif am hyny ydyw, nad ydyw darganfyddiadau y bobl fawr sydd yn byw gymaint o flaen eu hoes yn ein dyddiau ni, yn ddim ond hen syniadau Sociniaid Poland yn nechreu y 17eg canrif. "Byddai yn hawdd dangos," ysgrifena awdwr un o'r traethodau yn y *Princeton Theological Essays*, "nad ydyw darganfyddiadau ein *Neologists* a'n *Rationalists* diweddar yn ddim mewn gwirionedd ond adgyfodiad cyfeiliornadau Biddle, Smalcius, a Moscorovius." "Drachefn a thrachefn," meddai Dr. Thomson, yn ei adolygiad ar y gwaith dan sylw, "yn yr ysgrifeniadau hyn (ysgrifeniadau y Sociniaid boreuol) y rhai a fu yn gorwedd o dan lwch dau canrif, y mae yr efrydydd yn cyfarfod â'r unrhyw ddyfaliadau, yn cael eu hattegu â'r unrhyw resymau a dëonglaeth ag â'i brawychodd trwy eu beiddgarwch annuwiol yn ngweithoedd y Germaniaid diweddar." Os gellir llwyddo i gael gan y genhedlaeth hon i barchu a chofleidio gwirionedd, yn lle ynfydu a dyheu am fod yn hynod, nid ydym yn petruso na bydd yr Ysgrythyrau a'r ymresymiadau a geir yn y gwaith hwn, y rhai sydd

yn gadarnach na'r creigiau, yn fwy ansymudadwy na'r mynyddoedd, yn effeithiol i yru gweithoedd y Germaniaid Socinaidd a hanner anffyddol, ac eiddo eu hefelychwyr Prydeinig, i huno dan gynfasau o lwch am lawer canrif eto. Y mae gwerth mawr ar ragdraethodau Owen i'w wahanol weithoedd. Nid ysgrifenu rhywbeth, er mwyn dilyn arferiad cyffredin, y byddai efe yn ei ragymadrodd; ac nid ysgrifenu tipyn o hanes yr awdwr—ei drafferthion, ei hunanymwadiad, a'r mynych aberth a wnaeth, a'r lliaws cymhelliadau a gafodd i fyned ymlaen gyda'r gwaith, ac i'w gyhoeddi—a geir ganddo; ond yn hytrach *meddwl* a *mater*—ymdriniaeth alluog â rhywbeth sydd yn dal cysylltiad pwysig â'r pwnc a drinir yn nghorff y gwaith; yn fynych, gwneir y rhagymadrodd i fyny o ymchwiliad llafurfawr a dysgedig i *hanes* y pwnc neu yr athrawiaeth fydd o dan sylw. Dyna a geir yn y rhagymadrodd i *Vindiciæ Erangelicæ.* Dilyna hanes Sociniaeth trwy ei gwahanol ddelweddau bythnewidiol, gan ei hadnabod o dan ba ledrithion bynag y gwnai ei hymddangosiad, o ddyddiau Simon Magus hyd ei ddyddiau ei hun. Ceir yma hefyd rai annogaethau cyfeiriedig at weinidogion ac efrydwyr ieuainc yr oes hono ag sydd yn werth ystyriaeth yr un dosbarth pwysig o bobl yn yr oes hon; ac yr ydym yn lled sicr nad oes un o ddarllenwyr y TRAETHODYDD yn rhy uchelfryd i gymeryd ei gynghori gan Dr. Owen. Cynghor un boneddwr o Gymro, sydd mewn sefyllfa anrhydeddus, i nifer o bregethwyr ieuainc yn ddiweddar ydoedd—"Peidiwch a bod mor debyg i'ch gilydd yn eich pregethau; yr ydych i gyd yn pregethu yr un athrawiaethau, ac yn rhy unffurf a chyd-debyg yn eich dull o drafod yr athrawiaethau hyny; yr ydych oll yn rhwymo eich hunain yn rhy gaeth wrth y Puritaniaid. Mae eisieu i chwi fentro chwaneg eich hunain; tòrwch lwybr newydd i chwi eich hunain, a dywedwch bethau newyddion, *right* neu *wrong;* y mae rhywbeth felly yn sicr o grëu chwilfrydedd, codi stŵr, a chynnyrchu llafur, a dowch chwithau o angenrheidrwydd yn ddynion o sylw ac ymofyn." Ond dyma gynghor Dr. Owen:—"Cymerwch ofal rhag cynllwyn Satan i ymddangos yn aruchel a rhyfeddol trwy fod yn hynod. Y mae yn dda ymdrechu i ragori a myned y naill o flaen y llall mewn gwybodaeth a goleuni, fel mewn sancteiddrwydd ac ufudd-dod. Mae gwneuthur hyn *ar y ffordd* yn anhawdd. Ceir llawer, wrth weled fod yn anmhosibl iddynt ymweithio i unrhyw sylw wrth gerdded llwybr sathredig y gwirionedd (tra y mae pob rhan o dduwinyddiaeth, a phob dull o'u trafod, wedi eu cario eisoes i'r fath uchder a rhagoriaeth, fel y mae gwneuthur unrhyw welliadau pwysig yn gofyn llafur dygn, efrydiaeth galed, a chydnabyddiaeth â phob math o ddysgeidiaeth), ac eto yn analluog i orchfygu yr ysfa o gael eu cyfrif yn *τίνες μεγάλοι*, yn troi o'r neilldu hyd lwybrau anhygyrch, ac yn denu llygaid pawb atynt wrth gampneidio dros wrychoedd a chloddiau, tra y mae yr ymdeithydd sobr heb gael gwneyd un sylw o hóno. Gadewch i ni wylio, gan hyny, yn erbyn y demtasiwn hon, a chofio y gall dyn fod yn uwch na'i frodyr, ac eto heb fod ond yn Saul." Dyma eto sicl o aur pur:—"Y cyfarwyddyd a'r natur yma, yr hwn gyda mi sydd yn werth pobpeth *(instar omnium)*, ydyw *ymdrech dyfal i gael gallu a dylanwad y gwirioneddau a broffesir ac y dadleuir o'u plaid i aros ar ein calonau,* fel na byddom yn unig yn dadleu dros dybiau neu syniadau, eithr dros yr hyn y mae genym brofiad ymarferol o hóno yn ein heneidiau ein hunain. Pan y mae y galon yn cael ei bwrw mewn gwirionedd i fold yr athraw-

iaeth a gofleidir gan y meddwl; pan y mae prawf a rheidrwydd o'r gwirionedd yn aros ynom; pryd y mae nid yn unig ystyr y geiriau yn ein penau, eithr ysbryd y pethau yn aros yn ein calonau; pryd yr ydym yn cael cymundeb â Duw yn yr athrawiaeth ydym yn ei hamddiffyn,—yna cawn ein gwarchod gan ras Duw rhag holl ymosodiadau dynion. Ac heb hyn, ni bydd ein holl amddiffyniadau, gyda golwg arnom ni ein hunain, yn werth dim. Beth well ydwyf fi os gallaf brofi fod Crist yn Dduw, os nad oes genyf brofiad yn fy nghalon ei fod yn Dduw mewn cyfammod â'm henaid i fy hun? Pa ennill fyddai i mi pe gallwn ddangos trwy dystiolaethau a rhesymau ei fod wedi gwneyd iawn am bechod, os ydyw, trwy fy anghrediniaeth i, digofaint Duw yn aros arnaf, ac nad oes genyf brofiad fy mod i wedi fy ngwneuthur yn gyfiawnder Duw ynddo Ef? Gallu y gwirionedd yn y galon yn unig a wna i ni lŷnu wrtho yn awr y brofedigaeth."

Nid oes dim yn eglurach na bod yr annogaethau uchod, y rhai a argymhellai efe ar eraill, yn brofiadau byw yn ei galon ef ei hun. Cymundeb â Duw yn yr athrawiaethau a amddiffynai, yn ddiammheu, a'i gwnaeth ef yn gadarn fel craig pan oedd athrawiaethau cyfeiliornus fel corwyntoedd cryfion a difäol yn dadwreiddio ac yn edwino pobpeth ar nad oedd wedi cael y gyfryw ddaear ddofn a maethlawn. Y mae y gwaith nesaf a ysgrifenwyd ganddo yn brawf o hyn. Yn y flwyddyn 1656, y mae yn cyhoeddi ei draethawd anmhrisiadwy, "*On the Mortification of Sin.*" Er ei fod ar y pryd, fel y sylwyd eisoes, yn ddeon Eglwys Crist, yn Is-Ganghellydd y Brifysgol, ac, mewn gwirionedd, holl waith Canghellydd yn disgyn arno, a hyny ar yr adeg ag yr oedd y Brifysgol yn y cyflwr mwyaf gresynol; er ei fod yn pregethu bob yn ail Sabbath i'r efrydwyr, a'r rhai hyny yn bregethau fu yn aros yn dân sanctaidd yn nghalonau lliaws o'r dynion goreu a duwiolaf welodd y deyrnas erioed; er y gelwid ef yn fynych i Lundain i gydymgynghori ynghylch trafodaethau pwysig y wladwriaeth, ac i bregethu o flaen y Senedd; er i'r *Council of State* osod arno i ysgrifenu atebiad i ysgrifeniadau y Sociniaid, ac iddo gyflawni hyny yn y fath fodd fel na feiddiodd neb o honynt ei wrthateb; eto, yn nghanol y cwbl, yr hyn yr edrychai efe fwyaf arno, ac y pryderai fwyaf yn ei gylch, oedd—Beth oedd dylanwad ac effaith y gwirioneddau a ddysgai ac a amddiffynai, ar ei enaid ef ei hun; ac ysgrifenodd ei hanes ei hun—ei ymdrech, ei brofiad, ei bryder, a'i obaith—er cyfarwyddyd, adeiladaeth, a chysur i eraill. Gwelir oddiwrth y rhagymadrodd fod yr awdwr wedi ei symbylu i ysgrifenu y gwaith yma gan duedd niweidiol athrawiaethau rhyw ddosbarth o ddysgawdwyr yn yr oes hono—"Pa rai yn ddiweddar sydd wedi cymeryd arnynt eu hunain i roddi cyfarwyddiadau i farweiddio pechod, y rhai, tra yn anwybyddus o ddirgelwch yr efengyl, ac o effeithiolrwydd angeu Crist, sydd o newydd am arosod iau marweiddiad hunanweithredol ar wàrau eu dysgyblion, yr hon nad oeddynt hwy na'u tadau yn alluog i'w dwyn. Nid ydyw y marweiddiad y maent hwy yn ei argymhell yn cyfateb i eiddo yr efengyl yn ei natur, ei wrthddrych, ei achos, ei foddion, na'i effeithiau; yr hyn sydd yn wastad yn cynnyrchu y ffrwythau andwyol o goelgrefydd, hunangyfiawnder, ac anesmwythyd cydwybod, yn y rhai sydd yn cymeryd i fyny y baich a rwymir arnynt." Yn y traethawd yma ceir yr ysgrythyrwr cadarn a goleuedig, a'r cristion profiadol a diolchgar, yn egluro ac yn cymhell trefn yr efengyl i farweiddio pechod; yr ydym yn gorfod teimlo o hyd wrth fyned ymlaen, o ddalen i ddalen, fod yma ddyn yn siarad,

nid yn unig am syniadau, cyfundrefn, a damcaniaeth, ond hefyd am brofiadau o effeithiau yr athrawiaeth ar ei galon ei hun; y mae yma fywyd ac ysbryd, y rhai, er nas gall geiriau eu dadguddio, mwy nag y gall corff ddangos enaid, sydd er hyny yn peri i ni ei deimlo mor wirioneddol ag yr ydym yn teimlo fod enaid yn nghorff ein cyfaill sydd yn ymddyddan â ni. Dangosir ganddo ymha bethau y mae marweiddiad pechod yn gynnwysedig; a dyry gyfarwyddiadau cyffredinol, heb y rhai y mae marwhâu pechod yn effeithiol yn anmhosibl. O na byddai modd cael gan holl aelodau eglwysig ein gwlad ymgydnabyddu â gwaith fel hwn! Gyda llaw, onid rhy ychydig o ysgrifeniadau ymarferol o'r natur yma sydd yn dyfod oddiwrth ddysgawdwyr crefyddol Cymru y blynyddoedd hyn?

Eithr er cymaint oedd y galwadau ar Owen gyda phethau cyhoeddus a chyffredinol yr oes, ac er cymaint oedd ei lafur awdurol, ni pharodd y naill na'r llall iddo droi ei feddwl a'i galon oddiwrth y Brifysgol. Adgyfodi hon o'i chyflwr adfeiliedig i ddylanwad ac effeithiolrwydd oedd y dasc fawr yr oedd wedi rhoi ei feddwl ar fŷnu ei chyflawni; dyma, iddo ef, y peth oedd *raid ei wneyd.* A chyda chefnogiad Cromwell a'i Gynghor, a chydweithrediad prif weinyddion y colegau, llwyddodd i gyrhaedd hyny tu hwnt i ddysgwyliad y mwyaf hyderus. Er ei fod yn cael ei gylchynu yn y Brifysgol gan liaws o'r dynion mwyaf fu erioed yn dal cysylltiad â Rhydychain,—dynion nas gall unrhyw athrofa, nac unrhyw oes, nac unrhyw wlad, ymffrostio yn eu mwy—nid amgen Thomas Goodwin, Stephen Charnock, Robert Boyle, John Howe, Daniel Whitby, Thomas Ken, Phillip Henry, Robert South, Christopher Wren, William Penn, John Locke, &c.; eto, meddai Dr. Calamy, cyfrifid Owen yr addurn penaf a feddai y Brifysgol. Rhaid fod y dyn oedd yn pinaclu ei ben fry uwchlaw y fath gewri, yn gwisgo awdurdod ac yn gwasgar dylanwad gorchfygol i bob cyfeiriad dan y fath amgylchiadau, yn fawr yn wir. Ond beth bynag oedd dylanwad *mawredd* Owen ar yr Athrofa, cafodd deimlo mwy fyth oddiwrth ei *ddaioni* a'i *dduwioldeb.* Y mae Rhydychain wedi bod yn wastad yn enwog fel mammaeth dysg; ond o dan weinyddiadau Owen, fe'i gwnaed yn enwog hefyd fel maethle crefydd a duwioldeb.

Ond tra yr oedd ein gwron yn ymgodi i anterth ei lwyddiant, a Rhydychain yn ymddyrchafu o dan ei lafur a'i ddylanwad, y mae amgylchiadau cyfnewidiol y wladwriaeth yn dechreu cymeryd cwrs sydd i ddybenu yn ei ddiswyddiad fel Is-Ganghellydd. Bu Owen yngyfaill didwyll i Cromwell, a rhoes iddo yn rhwydd help ei ddylanwad mawr i basio ei brif fesurau; parhäodd yn ffyddlawn iddo cyhyd ag yr oedd yn tybio fod gwleidyddiaeth y Diffynydd yn gymhlethedig â llwyddiant y deyrnas. Eithr pan welodd fod y mwyafrif o'r Senedd yn cynnyg y goron a'r titl o Frenin i'r Diffynydd, ac yntau yn dangos gormod o barodrwydd i dderbyn hyny, dechreuodd Owen ddrwgdybio fod uchelgais peryglus yn dyfod i'r golwg, yr hwn, os na lesteirid ef mewn pryd, a allai dyfu i faintioli aflywodraethus. Ymunodd Owen, gan hyny, gyda Desborough, Fleetwood, ac eraill, i wrthwynebu y symudiad; ac efe a dynodd allan y ddeiseb a fu yn llwyddiannus i orchfygu y mesur, ac a barodd i Cromwell wrthod yr anrhydedd peryglus a gynnygid iddo. Cafodd y Doctor ar ddeall yn fuan, trwy fwy nag un ffordd, ei fod wedi tŷnu arno ei hun ŵg Cromwell trwy y weithred feiddgar hon. Hyd y pryd hwn, efe, o holl

"Er dyfned, sicred fy sail,
Symudai 'm mawrswm adail,
Yn y fan, o'i sylfaeni,
Heb law Iôr dan fy nghwbl i:
Y Duw digoll yw 'r oll wyf,
Ond, wed'yn, nid Duw ydwyf."

Awn, eto, o bigdŵr natur,—i 'mwel'd
A'r môr maith ei fesur;
Yn barhäus, y dòn brysur,—fŷn weithio,
Nid oes i eigion un fynyd segur.

Yn eu mawr drachwant, mỳnai 'r môr drochion,
O dir, ychwaneg i'w gryd-erchwynion;
Ymgyrchu, gyru wna 'r tònau geirwon,
I geisio rhwygo gwregys yr eigion;
I 'mryddhâu, rhydd dyrnau 'r dòn,—aml hyrddiau,
A grym, i waliau craig yr ymylon.

Ti 'r môr dwfn, wyt ŵr mawr dig,
Arnat mae golwg ffyrnig;
Er hyn, O fôr, awen faidd
Dy holi, yn lled wylaidd,
O b'le daethost, fawrfost fôr,
I guraw am ein goror?
Eigion croch, pwy 'n ddigon cry'
I rolio 'th ddwfr i'w wely?

A ydwyt hun-hanfodol?—neu a wyt
Yn un sydd ddibynol
Ar rywun? pwy roes reol—i ferw
Dy hyred lanw, a'th drai dilynol?

Ai y lloer, â'i thröell arian,—wna y dasg
O d' ysgwyd fel baban,
Yn dyner yn nghryd anian—ysgogol,
Mewn da reol wrth amnaid yr huan?

Na, y dylif wâd, eilwaith,
Ei hun-glod mewn hyglyw iaith:—

"Dim wyf, o honwyf fy hunan,—a dim
Yw dawn lloer a huan,
I dòni 'm dyfrllyd anian,
Heb law Nêr yn y cwbl wnan'."

I'r Duw galluog, talu gwarogaeth
Mae ef y dylif, am ei fodolaeth;
Yn ei froch agwrdd, Duw wna 'i farchogaeth,
Tònau 'r heli sy tan ei reolaeth;
Gwas diwyd dan gystwyaeth—ddifethiant
Ydyw 'r llifeiriant er ei holl fariaeth.

Mae ffrwyn deddf am ffroen y dòn,
Ysgoga cesyg eigion
Wrth reol yr uthr awen
A ro'i ein Por yn eu pen.
Dere i fin dŵr, hŷf annuw,
Yma nid oes dim ond Duw!

Noda 'i drefn le pob defnyn,—mor ryfedd!
Mae byd o'i fawredd ymhob dyferyn!
Eto ffôl yw 'r addolwr
Eilw 'n Dduw ryw lŷn o ddŵr.

Rhuad Iôr ydyw 'r daran,—â'i fŵa
Efe saetha 'r gwefrdân
O wyll y cwmwl allan,—drwy 'r nenydd,
Rhwysg ei adenydd bair ysgwyd anian.

Anadl Iôr yw y corwynt,
A'i ddyrnau wna gau y gwynt;
Enfys, gwlaw, cenllysg, ac ôd,
Im' ddywedant am Dduwdod.

Tarth a niwl, trwy eitha' nen,—a chwmwl
Yn chwim drwy 'r ffurfafen,
Ddyleda 'i bygddwl aden,
Fel prawfnôd o'r Bôd sydd ben.

Do'i haul a lleuad o'i law alluog,
Wedi leiniaw eu rhodau olwynog
A gwawl-belydron; a'r sêr gwreichionog,
Yn rhesi dirif, mewn trwsiad eurog:
O ddihanfodedd, yn gylch mawreddog,
I faes ar unwaith, d'ai 'r nef serenog;
Lluniwr pob cronell wènog—fel â hud,
A'i deil,—a'i symud drwy 'r wybr dlos, èmog.

E ogoniant yw tô gwiwnef,
A'i sail yw ei rymus law Ef.
A chynnwys, a chylch anian
Wemp, yw 'r Iôr, mae Duw 'n mhob rhan.
Anian heb Dduw, ni b'ai ddim,
Hi a doddai i'r dyddim;
Eto, nid swm o fater,
I'w adwaen, yw hanfod Nêr.
Meddyliwyd am addoli
Haul a ser, yn lle 'n Nêr ni;
Ond, er gwyched, deced ŷnt,
Dywedwn, nid Duw ydynt.

Llawn o Dduw yw llèn y ddôl,—yn ei thŵf
Dan wlith ha' meithrinol;
Ymhob dull, ei gwull ddŵg ôl
Sel-ddyfais y law Ddwyfol.

Iôn bïa gyfri 'n bywyd,
Gwelltyn bach,—nis gall dawn byd
Agoryd y sêl gywrain
A'i cûdd yn y blagur cain.

Y mae ôl anfeidroledd—diwaelod,
Ar bob deilen ryfedd;
Yr Iôn, drwy 'r blagur hoenwedd,
Ini sy'n dangos ei wêdd.
Ond er hardded yw 'r îrddail,
Nid rhaid d'weyd nad Duw yw 'r dail.

Wedy'n, at abwydyn bach,
Awn i weled manylach
Waith einioes yn ngwythenau
Temigyn o bryfyn brau.
Er lleied yw, gerllaw dim
Eistedda wrth ddrws dyddim.

Drwy ei waelder, Anfeidroldeb,—egyr,
I lygad craffineb,
Fôr o gyfrin ddoethineb,
O! mae 'n aig nas plymia neb!

Môr o fawredd Duw orwedda—yn ei
Anhywel fychandra;
A byd o Ddwyfoldeb, â
Gwasg ei aden, gysgoda.

Anifeilaidd fywolion,
Heb rif, o bob ffurfiau, 'bron,
Hulio wnânt ein pelen ni,
Llanwant bob cell o hóni;
Wele, 'r oll sy 'n eglurhâu
Duwdod, â'u symudiadau.
Ffûn einioes pob corff yn anian
Ydyw yr Iôr, eto nid rhan
O hanfod Duwdod, wed'yn,
Ydyw hoedl y bodau hyn.

Heibio 'r anifail, eilwaith,—äwn yn uwch,
Neu ' nês at y perffaith;
Wele, *dyn* â'i hyglod waith,—gwyd yn hŷf,
I hawlu genyf hwyliog awenwaith.

Y dyn! pa ddernyn a ddaeth—o law Duw,
Fel dyn mewn rhagoriaeth?
Is nen, rhoes Iôr e'n benaeth,
Llawn urdd ar yr oll a wnaeth.

Hwn yw'r un, drwy gywreinion—ei ddeall,
A'i ddiwyd fyfyrion,
Sy 'n gwau cynlluniau llawnion,—amryddull,
Tŷrau a chestyll—cant o orchestion.

Gwyddor a chelf gyhoedda
Allu dyn, a'i ddeall da.

Llawer tafod a draetha ei glodydd,
Ei uthr beiriannau rydd iaith i'r bronydd;
Mae dyn yn fawr, fawr, fawr, yw lleferydd
Rhû y cry'ager, ac eilia'r creigydd,
Tra'n agor â'i bylor bydd—eu coffrau,
I gael y mŵnau o gôl y mynydd.

Un mawr yw dyn, medd y môr a'i dònau,
A gŵyra 'n ufudd i gario 'i nwyfau;
Eilia 'r uchelder iaith y dyfnderau,
A'r mellt ennynus, ffrom hyllt y nenau,
I ddyn, sy 'n gwàr ufuddhâu,—cenhadant
Hyd ei wyfr-beiriant ef hwyr a borau.
Drwy feiddiawl hyder, ei feddwl 'heda
Fry i'r uchelder,—y ser fesura;
Cronell anferth yr huan gloriana,
A rhawd ei ddillyn rôd a ddealla;
O'i wybrol daith, chwai, eilwaith, dychwela,
Ac i goluddion y graig e gloddia;
Dŵg i'm gwyddfod, o gau amgueddfa
Iôr, rai o ryfedd greiriau 'r Jehofa;
Ar haenau 'r creig olrheinia—ddyeithr ôl
Bodau cynnyddol y byd cyn Adda!

Nerth ei reswm ar ei waith arhosa,
Yn ddelw ryfedd o law 'r Jehofa;
Ei hynod addysg, bron, a'i duweiddia,
Rywfodd, y Dwyfol drwy 'r dynol d'w'na;
Duw, 'n ei holl 'sgogiadau, wna—arddangos,
A'i Ddwyfol achos hardd efelycha.

Ond er rhagorion y dyn,
Hanfodaeth ni f'ai wed'yn,
Dïau, iddo, ond dyddim,
Heb y Duw sy 'n dal pob dim:
Duw 'n ei oll, d'w'na allan;
Eto, hanfod y Bôd ban,
Nid ydyw mewn dyndodaeth;
I'r rhyfedd *ddim*, rywfodd, aeth!

Meidrolion, wrth ymdreulio—i'w geisiaw,
Er byw 'n gyson ynddo,
Ddotiant cyn cyrhaedd ato,
Dyn ni faidd dd'weyd "Dyna Fo."

Er ëang ddeall angel,—hyn wawdia
Ei ddirnadaeth uchel;
Ni thraidd craff seraph drwy 'r sêl
A lèna 'r Dwyfol anwel.

Sypier heul-flodau 'r helaeth "Lwybr Llaethog,"
A'u gwymp oleuni 'n un gèm pelenog;
Dyasier, rhodder yn un mawreddog,
Y bodau a gynnwys pob byd gwenog;
Llaw-waith yr Hollalluog—yw 'r cyfan,
A dywed anian am ei Duw doniog.

Er ei fod ymhob rhyw fan,—yn wregys
Mawr ogylch y cyfan,
Yn darddell, ffynnonell hân,
Yn hoen yn nghalon anian,

Eto ni roes i natur,
Dïau, beth o'i hanfod bur;
Nac i angel, uchel hân,
Ni ranodd Iôr ei hunan.

O swynol ynys anian,—äf ar daith
I fôr y dim llydan,
I wel'd a yw 'r byw Iôr bàn,
Yn mynwes dim ei hunan.

Morio mewn dim, er mwyn d'od
O hyd i ffurf y Duwdod!
Ow! ffoledd! pwy gaiff weled
Dull un sydd heb hŷd a llêd.

Mawredd Iôr, fel moroedd im',—a leda 'r
Anweladwy ddyddim;
Trig iddo yw tŷ 'r goddim,
A môr o Dduw yw 'r mawr ddim.

Awn ac awn, ymlaen ac ôl,
O fewn yr Annherfynol,
Boddi mewn aig y byddwn,
Ni wêl neb ymylon hwn.

Ond yn ei Air, ein Duw ni,
Ei ddawn eglurodd ini;
'Nabod Duw yn Mab y dyn,
A gâ 'r didwyll gredadyn.

# MICHAEL FARADAY.

Ar y pummed dydd ar hugain o fis Awst diweddaf, yn Hampton Court Green, bu farw Michael Faraday, D.C.L.,F.R.S., &c., mewn henaint têg, yn gyflawn o ddyddiau ac anrhydedd. Fel y gŵyr lliaws o'n darllenwyr, *fferyllydd* mawr oedd Faraday;—mawr nid yn unig yn ei gyrhaeddiadau fel efrydydd o weithoedd rhai eraill, ond mawr fel meistr yn y wyddor—fel athraw llwyddiannus a darganfyddwr gwreiddiol. Treuliodd ei oes, o'r bron, rhwng derbyn a chyfranu addysg yn ei hoff wyddor, mewn cysylltiad â Sefydliad Brenhinol *(Royal Institution)* Prydain Fawr. Yr oedd yn Athraw Fferylliaeth *(Fullerian Professor of Chemistry)* yn y Sefydliad, ac yn Gymrawd *(Fellow)* o'r Gymdeithas Frenhinol *(Royal Society)*. Anrhydeddwyd ef gan Brifysgol Rhydychain yn y flwyddyn 1832 â'r gradd o *Doctor of Civil Laws*. Wrth edrych ar y tu allan i'w hanes, ac ar y cwbl a wyddom ni o'i hanes tufewnol, yr oedd ei yrfa yn un o'r enghreifftiau mwyaf nodedig o fywyd llwyddiannus. Pan nad oedd ond un-ar-hugain oed, cafodd ei ryddhâu yn gyfangwbl oddiwrth y gelfyddyd yn yr hon y dygasid ef i fyny, a chafodd ei dderbyn i'r Sefydliad Brenhinol —y lle mwyaf manteisiol ar y ddaear iddo gael dilyn ei hoff efrydiau. Ni buasai yn bosibl i'r llinynau ddisgyn iddo mewn lle mwy hyfryd. Yma yr ydoedd yn cael nofio yn ei elfen naturiol. Yr oedd yn cael gwneyd ei gartref bellach yn nheml gwyddoriaeth—y dduwies ag y mynodd gysegru ei fywyd a'i dalentau yn aberth ar ei hallor. Ceid yma gyfuniad o'r elfenau anhebgorol i lwyddiant. Yr oedd yma alluoedd naturiol o'r radd uchaf i ddechreu; yn chwanegol at hyny yr oedd yma ymroddiad calon i lafur diarbed, yn cyfodi oddiar wir gariad a chwaeth gynhenid at efrydiau gwyddorol; ac am ben hyn oll, yr oedd yma gydgyfarfyddiad o'r amgylchiadau mwyaf manteisiol i ddadblygiad athrylith y fferyllydd ieuanc, mewn athrawon, llyfrau, offerynau, a darlithiau cysylltiedig â'r Sefydliad. Yr oedd yma hâd da mewn daear frâs, a hono yn cael ei gwrteithio a'i hamaethu yn y modd goreu, a than y dylanwadau allanol mwyaf ffafriol o gawodydd maethlawn a heulwen gynhes. Nid rhyfedd i hyn oll ddwyn ffrwyth mor doreithiog. Ac yr *oedd* y ffrwyth yn doreithiog dros ben. Yr oedd bywyd Faraday yn yr ystyr yma yn llwyddiant perffaith. Cafodd yr anrhydedd o wneuthur lliaws o ddarganfyddiadau pwysig—o helaethu terfynau gwyddoriaeth, ac estyn ei chortynau i dir newydd. Gwnaeth chwanegiadau mawrion at fuddugoliaethau ymchwiliad athronyddol. Cafodd fyw i weled ei enw yn cael ei dderbyn fel gwarant o wirionedd ar bynciau gwyddorol ymhob rhan o'r byd gwareiddiedig. Cafodd weled blynyddoedd olaf ei fywyd yn cael eu goreuro gan edmygedd a diolchgarwch yr holl fyd dysgedig. Bendithiwyd ef â chysuron cartref dedwydd. Parhäodd ei lwyddiant bydol yn ddiball, ac iechyd ei gorff a'i feddwl yr un modd, o'i fachgenoed hyd ei flynyddoedd olaf.

Daeth yr holl lwyddiant yma iddo nid yn rhinwedd gwaedoliaeth na ffafriaeth, ond fel gwobr wedi ei hennill yn gyfreithlawn, dan fendith Rhagluniaeth fawr y Nefoedd, trwy lafur gonest, ac yn ngrym y pen-

derfyniad gwydn hwnw sydd yn cyfansoddi esgyrn a gewynau athrylith. Ac y mae bywyd FARADAY yn y wêdd hon yn wers, wedi ei chorffori mewn esiampl, o'r fath fwyaf calonog i'r ymdrechwr ieuanc teilwng. Os oes rhyw fachgenyn tlawd a di-nod yn y dyddiau hyn, mewn rhyw lanerch neillduedig rhwng mynyddoedd Cymru, heb lyfrau, heb arian, ac heb gyfeillion, ond ei galon yn llosgi ynddo mewn awydd am wybodaeth—ïe, ei galon yn chwyddo weithiau gan feddyliau dyeithr, y rhai ydynt yn pasio drosti fel awelon o fyd arall, a'r rhai ydynt iddo ef fel y gwynt, nas gŵyr "o ba le y maent yn dyfod nac i ba le y maent yn myned" —yr ysbryd anweledig sydd mewn pethau yn sibrwd ambell gwestiwn iddo wrth fyned heibio, yn "dwyn ato air yn ddirgel a'i glust yn derbyn ychydig o hono" am gyfrinion bodolaeth, nes "peri i flew ei gnawd sefyll,"—na ddigaloned y cyfryw un! ond dysged wers o wroldeb, o benderfyniad a dyfal-barhâd, oddiwrth hanes gyrfa FARADAY, yr hwn a ymladdodd ei ffordd trwy anhawsderau hollol gyffelyb, nes y daeth o'r diwedd yn gyfryw nad oedd neb i'w gael i gerdded o'i flaen ar hŷd holl ffordd gwyddoriaeth.

Such lives are precious, not so much for all
  Of wider insight won where they have striven,
As for the still small voice with which they call
  Along the beamy way from earth to heaven.

Ganwyd MICHAEL FARADAY yn Newington Butts, ar yr 22ain o Fedi, yn y flwyddyn 1791. Gôf tlawd o Swydd Gaerefrog oedd ei dad, bywyd gwastad yr hwn a ellid ei ddesgrifio yn ngeiriau y bardd Americanaidd Longfellow,—

Toiling, rejoicing, sorrowing,
  Onward through life he goes;
Each morning sees some task begun;
  Each evening sees its close;
Something attempted, something done,
  Has earned a night's repose.

Nid oedd yr ychydig ysgol a gafodd Michael pan yn blentyn ond tebyg i waith yr eingion—rhwydd a garw. Ychydig a freuddwydiodd ei dad, druan, y cyrhaeddai y bachgen "Mike" enwogrwydd càn lleted â'r hyd; y byddai hufen pendefigaeth Lloegr yn tyru yn awyddus i'w ddarlithoedd, ac y byddai hyd yn nôd y tywysog Albert—priod brenhines Lloegr —yn ei chyfrif yn anrhydedd cael bod yn llywydd yn un o'i ddarlithiau. Bu raid i Michael droi allan yn ieuanc iawn i gynnorthwyo ei dad i ennill bara i'r teulu. Ac er nas gallai efe ennill mwy na swllt neu ddau yn yr wythnos am gryn yspaid, yr oedd hyny yn rhywbeth i'r teulu ar y pryd i'w chwanegu at drysorfa fechan nos Sadwrn. Cydsyniodd y bachgen yn rhwydd i wneyd a allai. Ond yr oedd un peth na chydsyniai âg ef o'i fodd—nid äi yn ôf. Nid oedd waeth tewi na siarad—nid oedd yn credu yn VULCAN; teimlai wrthwynebiad penderfynol i fod yn un o wasanaethwyr y duwiau un-llygeidiog. Yr oedd y gwaith o natur rhy arw i'w ysbryd tyner a choeth. Syrthiodd ei dad i mewn â'i ddymuniad yn hyn: a chan y gwyddai yn dda fod y bachgen yn dra hoff o lyfrau, darfu iddo yn bur synhwyrol yn gystal a thirion ei brentisio gyda gŵr oedd yn llyfrwerthwr a llyfrrwymwr o'r enw Riebau, yn *Blandford Street* (Llundain).

Ond wedi dyfod yma, fel yn wir y gallesid dysgwyl, yr oedd y bachgen rhyfedd yn cael llawer mwy o fwynhâd wrth synfyfyrio uwch ben cynnwysiad y llyfrau oddifewn nag wrth eu llythyrenu a'u goreuro oddiallan. Darllenai yn galed mewn amser ac allan o amser. Tra y byddai ei ddwylaw yn trîn arfau y llyfrrwymydd, rhedai ei feddwl yn ddibaid ar rai o ddirgelion rhyfedd natur ag oeddynt wedi cael eu sibrwd yn ei glust ieuanc. Yr oedd yr alwedigaeth hon yn cyfarfod yn hapus â'i awyddfryd cryf at ddarllen, ac yn rhoddi cyfleusdra ëang iddo i ymgiprys â bron bob math o wybodaeth. Ond yr un pryd, gwasanaethodd ei feistr yn ddiwyd a ffyddlawn nes bod tuag un mlwydd ar hugain oed.

Yr ydoedd wedi cyfarfod o bryd i bryd, yn nghwrs ei ddarllen, â llyfrau ar wyddoriaeth, yn cynnwys desgrifiadau dyddorol o brawfiadau *(experiments)* mewn fferylliaeth a thrydaniaeth. Y mae yn hen sylw, ond mor wir ag ydyw o hen, a phrofion newydd o'i wirionedd yn dyfod i'r golwg yn barhäus,—fod tynghed personau a chenhedloedd, ïe, yr amgylchiadau pwysicaf sydd yn tòri ffugr yn hanes y byd, wedi cael eu bôd trwy y dygwyddiadau mwyaf distadl a damweiniol i'n golwg ni. "Pwy a ddiystyrodd ddydd *y pethau bychain?*" Felly y gellir edrych erbyn hyn ar gyfarfyddiad damweiniol y bachgen tlawd o lyfrrwymydd â gwahanol lyfrau ar wyddoriaeth yn y siop weithio y tu cefn i'r masnachdŷ yn *Blandford Street*, ac ar wib-deithiau brysiog, lladradaidd, a thrachwantus ei lygaid hyd y tu dalenau ar fynydau òd, pan yn aros am erfyn o law ei gydweithiwr, neu yn y cyfwng rhwng dwy dasc, neu yn y dechreunos llwyd-dywyll rhwng dau oleu! Gwelir erbyn hyn mai dyma fu yn achlysur i roddi ffurf i'w oes—oes oludog o'r gwasanaeth gwerthfawrocaf i achos gwyddoriaeth; ïe, ddarllenydd, yr amgylchiadau distadl hyn a roddasant yr ysgogiad cychwynol i rai o'r darganfyddiadau mwyaf ysplenydd a welodd y byd, Deffrôdd y llyfrau y cyfeiriwyd atynt ysbryd o ymofyniad yn ei feddwl. Teimlai yn dra awyddus i wneuthur y prawfiadau drosto ei hun. Ond yr oedd yr offer angenrheidol i hyny mor gostus fel ag yr oedd y peth yn hollol allan o'i gyrhaedd. Pa fodd bynag, os nad allai *brynu* y peiriant oedd arno eisieu, hwyrach y gallai ei *wneuthur*. Mynodd wneyd yr ymgais; a llwyddodd! Gwnaeth gostrel drydanol *(electric jar)* allan o hen botel *physic;* ac yna gwnaeth beiriant trydanol cyflawn. Y peiriant hwn, wedi ei wneuthur â'r pres a gynnilai y bachgen tlawd, a fu wedi hyny am hir amser yn gydymaith a chynnorthwy-ydd yr athronydd enwog. Trwy yr offeryn yma yr arweiniwyd ef i ymgymeryd âg astudio fferylliaeth, fel galwedigaeth. Darfu i'w feistr ryw ddiwrnod alw sylw un o'i gwsmeriaid—un Mr. Dance, o *Manchester Street*, gŵr boneddig yn deall gwyddoriaeth ac yn aelod o'r Sefydliad Brenhinol—at y peiriant trydanol a wnaethai Michael yn ei oriau hamddenol. Yn y llyfr a elwir "*Clever Boys*," gellir gweled darlun dyddorol iawn o'r drafodaeth yma:—siop fawr lawn o lyfrau; Mr. Dance yn eistedd ar ystôl y tu allan i'r *counter;* y meistr y tu fewn i'r *counter* yn dangos ac yn esbonio y peiriant iddo; ac wrth ochr y meistr—Michael ieuanc yn edrych ac yn gwrando ar ei feistr, a'i lygaid yn perlio gan ddyddordeb a boddhâd. Cafodd y gŵr boneddig ei foddhâu mor fawr gan yr arwyddion hyn o athrylith a dyfalbarhâd y bachgen, fel y darfu iddo ei anrhegu ef â thocynau i fyned i wrando y pedair darlith olaf o gyfres o ddarlithiau ag yr oedd Syr Humphry Davy—un

o fferyllwyr enwocaf yr oes—yn eu traddodi ar y pryd hwnw yn y *Royal Institution*. Aeth y bachgen Michael yno yn llawen, fel y gallesid meddwl; gwrandawodd ddarlithiau y fferyllydd clodfawr gyda boddhâd dirfawr; ysgrifenodd nodiadau helaeth o honynt wrth eu gwrando: ac wedi gwrando yr olaf, ymadawodd gydag awydd angerddol am roddi i fyny fasnach, a chael bod yn was ac yn efrydydd yn y rhandiroedd hyny o ryfeddodau diderfyn ag y cawsai gipolwg arnynt. Ysgrifenodd lythyr i ddyweyd ei gŵyn wrth Syr Joseph Banks, ond ni chafodd yr un atebiad. Ni ddychymygodd y gôf pendefigaidd pa fath un oedd yn curo wrth ei ddrws. Yna ysgrifenodd yn wylaidd a chrynedig at y dyn mawr ei hunan—Syr Humphry Davy, gan anfon iddo yr un pryd y nodiadau helaeth a gymerasai o'i ddarlithiau, wedi eu hysgrifenu allan yn ofalus, a chan hysbysu iddo mor fawr oedd ei awydd am gael ei dderbyn i efrydu athroniaeth, os oedd modd yn y byd. Ysgrifenodd Sir Humphry yn ôl ato nodyn bychan caredig a chalonogol, yn dangos ei fod yn ewyllysio yn dda i'r bachgen ieuanc brwdfrydig a dinawdd, ac yn addaw ei gynnorthwyo i gyrhaedd y nôd oedd ganddo mewn golwg. Dybenodd yr ohebiaeth hon mewn gosod Faraday yn y swydd o gynnorthwywr yn fferyllfa *(laboratory)* y *Royal Institution*, yr hon swydd oedd newydd fyned yn wâg y pryd hwnw, a'r hon oedd yn hollol *y peth* oedd yn eisieu i gyfarfod â dymuniad gwresog y llanc. Ysgrifenai Syr Humphry yn ngwaelod ei lythyr, "eich ufudd ostyngedig was;" ac er nad oedd hyn, wrth gwrs, y pryd hwnw yn ddim ond *ffurf*, pan yn cael ei ddefnyddio gan y barwnig anrhydeddus a'r athronydd mawr wrth gyfarch y bachgen tlawd, eto sŷn yw meddwl y daeth y geiriau, ymhen blynyddoedd wedi hyny, i fod â rhyw gymaint o wirionedd ynddynt, hyd yn nôd yn eu hystyr fwyaf manwl, gyda golwg ar berthynas y ddau â'u gilydd. Rhoddwyd awgrym led eglur o hyn ymhen blynyddoedd i Syr Humphry Davy ei hunan, gan *President* Gilbert o'r *Royal Institution:* meddai y Llywydd wrtho:—"*The greatest discovery you ever made, Sir Humphry, was the discovery of Faraday.*" ("Y darganfyddiad mwyaf a wnaethoch chwi erioed, Syr Humphry, oedd darganfod Faraday.")

Rhoddwn yma adroddiad o'r drafodaeth hon yn ngeiriau Faraday ei hunan, mewn llythyr a ysgrifenodd at Dr. Paris, yn y flwyddyn 1829:—

"Fy Anwyl Syr,

Gofynasoch i mi roddi i chwi adroddiad o fy nghyflwyniad cyntaf i Syr Humphry Davy, yr hyn yr ydwyf yn ei wneyd yn bur ewyllysgar, gan fy mod yn meddwl y gwna yr amgylchiadau ddwyn tystiolaeth i ddaioni ei galon. Pan yr oeddwn yn egwyddorwas gyda llyfrwerthwr, yr oeddwn yn dra hoff o brawfiadaeth *(experiment)*, ac yn dra gwrthwynebus i fasnach. Dygwyddodd i ŵr boneddig, aelod o'r Sefydliad Brenhinol, fy nghymeryd i glywed rhai o ddarlithiau diweddaf Syr Humphry Davy yn *Albemarle Street*. Cymerais nodiadau, ac ysgrifenais hwynt drachefn yn fwy clir mewn cyfrol bedwarplyg. Fy nymuniad am ddianc oddiwrth fasnach, yr hon a dybiwn oedd yn ddrygionus a hunangar,—a myned i wasanaeth gwyddoriaeth, yr hon a dybiwn oedd yn gwneyd ei dilynwyr yn garuaidd a rhyddfrydig, a'm tueddodd o'r diwedd i gymeryd y cam hyf a syml o ysgrifenu at Syr Humphry Davy, gan fy-

negu fy nymuniadau, a'm gobaith, os delai cyfleusdra yn ei ffordd, y byddai iddo hyrwyddo fy ngolygiadau: gyrais iddo ar yr un pryd y nodiadau a gymeraswn o'i ddarlithoedd. Yr ydwyf yn anfon yr atebiad, yr hwn sydd yn gwneyd i fyny holl bwynt fy llythyr, i chwi yn y gwreiddiol, gan ddeisyfu arnoch gymeryd gofal o hôno, a gadael i mi ei gael yn ol, oblegid gellwch ddychymygu pa mor fawr yr ydwyf yn ei werthfawrogi. Chwi a sylwch fod hyn wedi cymeryd lle tua diwedd y flwyddyn 1812; ac yn gynnar yn y flwyddyn 1813, efe a ddymunodd gael fy ngweled, ac a ddywedodd wrthyf am y swydd o gynnorthwywr yn fferyllfa y Sefydliad Brenhinol, yr hon oedd y pryd hwnw newydd ddyfod yn wâg. Ond ar yr un pryd ag yr oedd efe fel hyn yn boddhâu fy nymuniadau o barth i gael gwaith o natur wyddorol, perswadiodd fi i beidio rhoddi i fyny y rhagolygon oedd genyf o'm blaen, gan ddyweyd wrthyf fod Gwyddoriaeth yn feistres galed, ac nad oedd ond yn gwobrwyo yn wael mewn ystyr arianol y rhai oeddynt yn rhoddi eu hunain i fyny i'w gwasanaeth. Gwênodd wrth gyfeirio at y syniad oedd genyf am ragoriaeth gwŷr athronyddol o ran eu teimladau moesol, a dywedodd y gadawai efe fi i brofiad ychydig flynyddoedd i'm gosod yn iawn ar y mater. O'r diwedd, trwy ei ymdrechion caredig ef, aethum i mewn i'r *Royal Institution* yn gynnar yn mis Mawrth 1813, fel cynnorthwywr yn y fferyllfa; ac yn Hydref yr un flwyddyn, aethum gydag ef i wledydd tramor fel ei gynnorthwywr mewn prawfiadau ac ysgrifenu. Dychwelais gydag ef yn Ebrill 1815, cymerais fy lle yn ôl yn y *Royal Institution*—a byth er hyny, fel y gwyddoch, yr ydwyf wedi aros yno.

Ydwyf, anwyl Syr,
Yr eiddoch yn bur gywir,
M. FARADAY."

Fel y canlyn y mae y llythyr a ysgrifenwyd ato gan Syr Humphry Davy, yr hwn a roddwn yma yn yr iaith yr ysgrifenwyd ef:—

"*December 24th*, 1812.

"SIR,

I am far from displeased with the proof you have given me of your confidence, and which displays great zeal, power of memory, and attention. I am obliged to go out of town, and shall not be settled in town till the end of January. I will then see you at any time you wish. It would gratify me to be of any service to you. I wish it may be in my power.

I am, Sir,
Your obedient and humble servant,
(Signed) H. DAVY."

"To Mr. Faraday."

O'r adeg hon allan yr oedd ei gynnydd yn gyson a dibaill. Gwyddai fod ei lwyddiant yn awr yn dibynu arno ei hunan, ac ni arbedai amser na llafur i'w sicrhâu. Dechreuodd ysgrifenu erthyglau i gyfnodolion gwyddorol yn y flwyddyn 1816. Dechreuodd wneuthur ei ddarganfyddiadau mewn fferylliaeth yn 1820. Dyma y pryd y cyhoeddodd ei ddargan-

fyddiad o'r sylwedd dyddorol hwnw a elwir *chloride of carbon*; ac yn y flwyddyn hono yr hysbysodd Œrsted y byd am ei ddarganfyddiad mawr o'r berthynas rhwng trydaniaeth (*electricity*) ac attyniaeth (*magnetism*). Yn Hydref yr un flwyddyn dechreuodd Faraday ei ymchwiliadau i'r mater hwnw, â pha un y bydd ei enw bob amser yn gysylltiedig; ac mewn papyr neu draethodyn dyddiedig Medi 11, 1821, cyhoeddodd ei ddarganfyddiad o "*New Electro-Magnetic Motions*," a chwanegodd ato "*A Theory of Magnetism*" yn y *Quarterly Journal of Science*. Yn y flwyddyn 1823 y darfu iddo lwyddo i gwblhâu cydwasgiad glasnwy (*chlorine*) i hylif; cyhoeddwyd adroddiad o'i brawfiadau ar hyn yn y *Philosophical Transactions*, ynghyda Nodiad gan Syr Humphry Davy "*On the Condensation of Muriatic Acid Gas into the Liquid Form.*" Yn y flwyddyn hon etholwyd y fferyllydd Seisonig yn Aelod Gohebol o'r *Academy of Sciences* yn Paris. Cyhoeddodd ei "*Chemical Manipulation*" yn 1827.

Cymerwyd sylw Faraday i fyny am gryn amser gan y dymunoldeb o gael gwydr tra pherffaith at ddybenion tremofyddol; ac yr ydym yn ei gael wedi ei benodi gan y *Royal Society* i draddodi y *Bakerian Lecture* yn y flwyddyn 1829—"*On the Manufacture of Glass for Optical Purposes.*" Ymgymerodd hefyd â gwneyd ymchwiliad tra llafurfawr i gyfansoddiad dûr, ac i effeithiau ei gymysgiad â meteloedd eraill. Yn yr un flwyddyn hefyd y dechreuodd draddodi ei ddarlithiau.

Yn y flwyddyn 1831 y dechreuodd y gyfres o Ymchwiliadau Prawfiadol mewn Trydaniaeth, y rhai ydynt wedi eu cyhoeddi o bryd i bryd yn "*Transactions*" y Gymdeithas Frenhinol; ac yn y flwyddyn 1839 cyhoeddwyd y pedair cyfres ar ddeg ag oeddynt wedi ymddangos, yn gyfrol ar wahân, yr hon sydd wedi cael ei dilyn gan ddwy eraill yn dwyn yr Ymchwiliadau i lawr i adeg burddiweddar. Dywedir gan y rhai galluog i farnu fod yr Ymchwiliadau hyn mewn trydaniaeth, y tu hwnt i bob dadl, yn ffurfio y gyfres fwyaf detholedig o enghreifftiau o gyfosiad (*induction*) pur ac iawn reoleiddiedig ag sydd i'w cael yn yr iaith Saesoneg neu mewn unrhyw iaith arall. Trwy yr ymchwiliadau hyn yr arweiniwyd ef i'r darganfyddiadau pwysig sydd yn ffurfio coron ei enwogrwydd gwyddorol, ac sydd wedi ei ddyrchafu i'r dosbarth uchaf ymhlith athronwyr yr oesoedd.

Darfu i nodweddiad uchel yr Ymchwiliadau hyn dueddu Prifysgol Rhydychain yn y flwyddyn 1832 i anrhydeddu eu hawdwr â'r gradd o *Doctor of Civil Laws*, fel y crybwyllasom o'r blaen. Yn y flwyddyn 1833, sefydlodd Mr. Fuller gadair Fferylliaeth yn y Sefydliad Brenhinol, ac yn unol â'i ddymuniad pendant ef, appwyntiwyd Dr. Faraday i fod y *Fullerian Professor* cyntaf. Yn y flwyddyn 1835, cydnabyddodd gweinyddiaeth Arglwydd Melbourne bwysigrwydd ei ddarganfyddiadau gwyddorol trwy benodi tâlwobr iddo am y gweddill o'i oes o dri chant o bunnau yn y flwyddyn. Parhäodd i lafurio yn ddiball; ac yn ychwanegol at y darlithiau a draddodid yn rheolaidd ganddo o'r flwyddyn 1827, yn y Sefydliad Brenhinol, traddodai ddarlithiau ar Fferylliaeth yr un mor reolaidd o'r fl. 1829 i'r fl. 1842, i'r câdlanciau (*cadets*) yn y *Royal Military Academy* yn Woolwich. Cafodd ei gyrhaeddiadau ardderchog eu cofrestru a'u cydnabod gan bob cymdeithas ddysgedig yn Ewrop. Etholwyd ef yn un o'r wyth cymrodorion tramor (*Foreign Associate*) i'r *Imperial Academy of Sciences* yn Paris. Gwnaethpwyd ef yn *Commander of*

*the Legion of Honour*—yn *Knight of the Prussian Order of Merit*, ac yn aelod o lïaws o gyrff gwyddorol ar gyfandiroedd Ewrop ac America. A thra yr anrhydeddid ef fel hyn ar uchelfanau cymdeithas, perchid a cherid ef yn ddirfawr yn nghylchoedd neillduedig ei deulu a'i gyfeillion, ar gyfrif symledd prydferth ei gymeriad, ynghyd â gonestrwydd a serchogrwydd ei galon.

Dywedai golygydd yr "*Edinburgh Philosophical Journal*" wrth adolygu ei ysgrifeniadau:—"Y mae yn cyfuno i raddau nodedig hyfder mawr mewn damcanu, a gochelgarwch mawr mewn penderfynu. Y mae ei amynedd a'i ddyfal-barhâd fel gweithiwr mor hynod ag ydyw ei wreiddioldeb fel meddyliwr a'i fedrusrwydd fel esboniwr; a chyda chywreinrwydd mewn dyfeisio prawfiadau, a medr a deheurwydd mewn gwaith-llaw i'w cyflawni—na ragorwyd arnynt, yr ydym yn credu, erioed—y mae yn cyfuno cywirdeb a manylrwydd mewn gweithio, y cyfryw ag y mae prawfiadwyr dysglaer a llaw-weithwyr deheuig yn fynych yn fỳr o'u hamlygu. Y mae hanner-gwirioneddau gydag ef yn bethau adgas; ac ni warafuna na meddwl, nac amser, na llafur, heb sôn am draul, ond iddynt ddwyn sicrwydd gwybodaeth iddo, hyd yn nôd pe na byddai ond sicrwydd nas gellir gwybod. Ei nôd ydyw—cael Ië neu Nagê penderfynol, neu gyrhaedd y sicrwydd fod y cwestiwn yn un nas gall dyn ei ateb y naill ffordd na'r llall. Y gydnabyddiaeth siriol o lafur rhai eraill, yr astudiaeth amyneddgar o bob gwrth-ddadleuon rhesymol i'w olygiadau mwyaf mynwesol ei hunan, y cyfaddefiad gonest o gyfnewidiad yn ei farn pan y mae hyny wedi dygwydd, y syniad gostyngedig am dano ei hunan, a'r cyfrif uchel, ïe, difrifol o urddas ei alwedigaeth fel dadblygwr gweithredoedd Duw,—a barant i ni *garu* yn gymaint ag yr ydym yn anrhydeddu ein trydanydd mawr, ac a ddylent gymhell ein gwŷr ieuainc i efelychu ei ysbryd—yr hyn a allant oll ei wneyd, yn gystal â chydymgeisio âg ef yn ei ddarganfyddiadau—yn yr hyn y gallant fod yn llai llwyddiannus."

Prif faes darganfyddiadau Faraday ydoedd trydaniaeth *(electricity)*, a galfaniaeth, ac attyniaeth *(magnetism)*. Cysylltir ei enw yn anrhydeddus âg un o ddarganfyddiadau pwysicaf yr oesoedd—un nad yw yn cael ei ddeall ond yn anmherffaith eto yn ei holl gysylltiadau posibl, ond sydd wedi dwyn i'r golwg egwyddor fawr ag sydd yn debyg mewn amser o *unoli* yr holl wyddorau, trwy sefydlu y cyd-berthynas sydd rhwng powerau natur â'u gilydd, trwy brofi cadwriaeth nerth *(the conservation of force)*, megys ag y profesid yn flaenorol gadwriaeth defnydd *(the conservation of matter)*, a thrwy amlygu fel y mae nerthoedd natur yn newidiadwy *(convertible)* y naill i'r llall, megys *gwres* i *ysgogiad*. Y mae y dosbarthiadau *(generalizations)* ysplenydd hyn a adnabyddir trwy wahanol ymadroddion, megys "*the unity of force*,"—"*the cor-relation of the physical forces*," &c., i'w prïodoli i fesur mawr i'r darganfyddiad a wnaeth Faraday am unoliaeth y *force* a adnabyddir dan y gwahanol ffurfiau o drydaniaeth, galfaniaeth, ac attyniaeth—yr hwn, fel y profwyd ganddo ef, nid yw ond *un* dylanwad ëang, cyffredinol, ac yn ffurfio fel pe buasai *fywyd* mater difywyd, gan ddyfod i gysylltiadau rhyfeddol â goleuni, gwres, a'r holl weithrediadau perthynol i'r cyfanfyd *(cosmical)*. Cysylltir enwau Œrsted, Ampère, a Faraday am byth â gwyddoriaeth drydanol fel ei harchoffeiriaid.

Cyfrifid FARADAY yn un o'r *darlithwyr* mwyaf swynol a fu erioed yn esbonio dirgelion natur. Un rheswm am hyn yn ddïau oedd y cariad angerddol oedd yn ei feddiannu bob amser at wyddoriaeth yn gyffredinol, ac at ei wyddor neu ei wyddorion dewisedig ei hun yn neillduol. Yr oedd ysbryd y gwir athronydd—gwir ysbryd athroniaeth Bacon, yr ysbryd y byddai Dr. Chalmers mor hoff o son am dano a'i argymhell—yn ei amlygu ei hunan yn nerthol ynddo ef yn y dyhëwyd hwn, yn gystal ag yn ei ostyngeiddrwydd, ei amynedd, ei ddyfalbarhâd, ei ochelgarwch, a darostyngiad hollol ei ddychymygion mwyaf arddunol i dystiolaeth ffeithiau ac i awdurdod gwirionedd. Yr oedd ei waith nid yn unig heb fod yn faich iddo, ond yn bleser dirfawr; ac nid yn unig yn bleser, ond yn elfen anghenrheidiol i'w fôd—yn fywyd ei fywyd. Felly o ran hyny y mae pob gwir weithiwr. Hefyd, yr oedd ei wybodaeth ddofn o'i fater yn peri fod ei ddarlithiau yn nodedig am eu clirder a'u symledd pur; a dywedir i ni na fu yr un fferyllydd erioed mwy deheuig yn cyflawni ei brawfiadau. Ni byddai ei lawddryll byth yn methu tân. Ni byddai ganddo byth i wneyd ymddiheurad am fod yr *experiment* wedi troi yn fethiant. A dywed y rhai fu yn ei wrando hefyd na welwyd ond odid neb cyffelyb iddo yn ei allu i siarad ac i gario ymlaen ei *experiments* o flaen ei wrandäwyr *ar unwaith*. Felly y dywedai un oedd yn dra chydnabyddus âg ef:—"Y mae y cwbl (o'r ddarlith) yn un ffrwd ddysglaer o hyawdledd ac eglurhadaeth brawfiadol. Rhoddwn hèr i unrhyw fferyllydd sydd yn caru ei wyddor, pa mor fynych bynag y byddo efe ei hunan wedi gwneyd *experiment*, i beidio teimlo dyddordeb wrth ei gweled yn cael ei gwneyd gan FARADAY." Darllenasom gyda phleser mawr er ys blynyddoedd ei "*Lectures on the Physical Forces*"—cyfres o ddarlithiau a draddodwyd ganddo yn y *Royal Institution* yn ngŵyliau Nadolig 1859—60, i *gynnulleidfa o blant* a phobl ieuainc. Ac yr oeddym yn meddwl na welsom well prawf o'r gwirionedd hwnw nag yn y llyfr hwn—mai yr hwn sydd yn deall unrhyw bwnc neu wyddor *ddyfnaf* ydyw yr un mwyaf cymhwys o bawb i egluro hyd yn nôd ei *helfenau cyntaf* a mwyaf syml i ddysgybl. *Meistrolaeth drwyadl sydd yn cynnyrchu gwir symledd.*

Y mae y peth gwerthfawrocaf mewn cysylltiad â Faraday eto i'w chwanegu; ac y mae yn dra hyfryd teimlo y gellir chwanegu hwnw gyda hyder diammheuol. Yr oedd efe yn Gristion yn gystal ag yn athronydd. Yr athraw mawr ag yr oedd brenhinoedd, tywysogion, ysgoleigion, gwladweinwyr, ac athronwyr, yn unfryd yn chwennych ei anrhydeddu, ac yn ei chyfrif yn fraint cael eistedd wrth ei draed,—yr oedd efe yn ddysgybl gostyngedig i'r Iesu. Ceir arwyddion dymunol o dynerwch cydwybod ynddo mewn adeg foreu ar ei fywyd, yn yr awydd a deimlai "i ddïanc oddiwrth fasnach, yr hon a dybiai oedd yn ddrygionus a hunangar, ac i gael ei dderbyn i wasanaeth gwyddoriaeth, yr hon, yn ei farn ef, oedd yn gwneyd ei chanlynwyr yn garuaidd a rhyddfrydig." Beth bynag a feddylir am gywirdeb ei farn ar y mater, y mae yn amlwg ei fod yn awyddus pan yn fachgenyn fel hyn i ddilyn yr alwedigaeth ag yr oedd lleiaf o demtasiynau i annuwioldeb ynglŷn â hi, a'r un, yn ei dyb ef, a fyddai yn fwyaf manteisiol iddo i rodio yn llwybrau rhinwedd a chrefydd. Ac ni ddarfu i'r dyn siomi y dysgwyliadau a gyfodwyd gan y bachgen. Er treulio ei oes

ar uchelfanau anrhydedd, rhodiai yn ostyngedig gyda'i Dduw. Bu fyw bywyd gwir grefyddol, a llawn ymroddiad i wasanaethu Duw ac i leshâu eneidiau ei gyd-ddynion, yn ol ei oleuni a'i gyfleusderau. Ceir ei olygiadau ar ddadguddiad o bethau Dwyfol yn y geiriau canlynol:—

"Er mor uchel y mae dyn wedi ei osod uwchlaw y creaduriaid o'i amgylch, y mae sefyllfan uwch a llawer mwy derchafedig yn y golwg iddo; ac aneirif ydyw y ffyrdd yn y rhai y mae yn rhoddi ei feddyliau i weithredu gyda golwg ar ofnau, neu obeithion, neu ddysgwyliadau bywyd ar ol hwn. Yr ydwyf fi yn credu nas gellir dwyn gwirionedd y dyfodol hwnw i'w wybodaeth trwy unrhyw ymarferiad o'i alluoedd meddyliol, pa mor dderchafedig bynag y gallant fod; ei fod yn cael ei wneuthur yn hysbys iddo gan ddysgeidiaeth arall heblaw yr eiddo ei hun, ac yn cael ei dderbyn trwy grediniaeth syml o'r dystiolaeth a roddir ger ei fron. Na thybied neb am foment fod yr hunan-addysgiaeth ag yr ydwyf fi yn myned i'w hargymhell gyda golwg ar bethau y bywyd hwn, yn cyrhaedd at unrhyw ystyriaethau o'r gobaith a osodwyd o'n blaen, fel pe gallai dyn wrth ymresymu gael gafael ar Dduw. Byddai yn anmhriodol yma i fyned i mewn i'r mater hwn yn ddim pellach nag i hawlu gwahaniaeth hollol rhwng crediniaeth grefyddol ag un gyffredin. Bydd i mi gael fy nghyhuddo o'r gwendid o wrthod cymhwyso y gweithrediadau meddyliol hyny y rhai yr ydwyf yn barnu sydd yn dâl gyda golwg ar bethau uchel, at y pethau uchaf oll. Yr wyf yn foddlawn i ddwyn y gwaradwydd. Eto, hyd yn nôd mewn pethau daearol, yr wyf yn credu 'fod ei anweledig bethau ef er crëadigaeth y byd i'w gweled yn amlwg, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod;' ac nid ydwyf fi erioed wedi gweled dim yn anghydweddol rhwng y pethau hyny o eiddo dyn a ellir eu hadnabod gan ysbryd dyn yr hwn sydd ynddo ef, a'r pethau uwch hyny o berthynas i'w ddyfodol, y rhai nas gall eu hadwaen trwy yr ysbryd hwnw."

Yr oedd Faraday wedi ei eni a'i fagu yn aelod o'r blaid grefyddol hono a adnabyddir wrth yr enw Sandemaniaid, neu *Glassites*. Un o neillduolion credo y blaid hon ydyw yr athrawiaeth mai gras goddefol ydyw ffydd, am yr hwn nad yw y credadyn mewn un modd yn gyfrifol, gan ei fod yn cael ei blânu yn y galon gan yr Ysbryd Glân heb gydsyniad ysbryd y dyn. Ac un o ymarferiadau neillduol y blaid hon hefyd ydyw bod yn ddystaw ar faterion crefyddol gyda y rhai nad ydynt yn Gristionogion—"tewi, a thewi â daioni," fel Dafydd, "cadw ffrwyn yn eu genau tra fyddo yr annuwiol yn eu golwg." Un arall o'u rheolau ydyw gwario neu roddi ymaith eu holl ennillion; ac hefyd y mae yn rhaid i'r gweinidogion neu yr henuriaid fod yn dilyn rhyw alwedigaeth fydol, ac nid yn "byw wrth yr efengyl." Yr oedd Faraday nid yn unig yn aelod yn yr eglwys hon, ond yn henuriad. Byddai yn arfer gweinidogaethu ar foreu Sabbath, ac ar nos Fercher, trwy ddarllen ac esbonio yr Ysgrythyrau, a chynnal addoliad, i gynnulleidfa a fu yn ymgynnull am lawer o flynyddoedd yn *Goswell Street*, Llundain, ac yn ddiweddar yn Barnsbury. Ond y mae yn ddiammheu, fel y sylwa y Parch. Samuel Martin mewn Darlith neu fath o Bregeth angladdol a draddododd yn fuan wedi ei gladdedigaeth,—yr oedd Faraday yn well na Sandemaniaeth; yr oedd y *dyn* ymhell uwchlaw ei *gredo*. Dyma fel y dywed Mr. Martin ar hyn:—

"Ymddengys i mi fod rhywbeth yn nghyfansoddiad Faraday sydd yn rhoi cyfrif am ei ymlyniad wrth y sect hon" [rhaid cofio hefyd ei fod wedi ei fagu gyda hi]; "a bod ynddo hefyd lawer o rywbeth oedd yn ei gadw yn rhydd nid yn unig oddiwrth effeithiau gwenwynig gau athrawiaeth, ond oddiwrth yr hyn a ymddengys i'r rhai sydd oddiallan i'r blaid yn fanylrwydd a gerwinder di-lês ac yn gulni peryglus. Y mae rhai dynion islaw eu credo. Yr oedd Faraday uwchlaw ei gredo crefyddol neillduol. Y mae rhai dynion yn waeth na'u credo, ond yr oedd Faraday yn well. Nid ydoedd yn dynghedfenwr *(fatalist)*. Ni roddai derfyn i gariad a daioni Duw. A siaradai trwy ei ysbryd a'i fywyd ar faterion crefyddol, er fod ei wefusau yn ddystaw. Yr oedd anghrediniaeth ac anghrefydd mewn pobl eraill yn ei boeni. Yr oedd ffydd a duwioldeb yn peri llawenydd iddo. Ond y mae yn ddigon i ni wybod ei fod yn credu yn un Duw y Tad Hollalluog, Crëawdwr nefoedd a daear; ac yn un Arglwydd Iesu Grist, uniganedig Fab Duw; ac yn yr Ysbryd Glân, Arglwydd a rhoddydd bywyd; a bod ei gymeriad wedi cael ei ffurfio, a'i fuchedd wedi cael ei llywodraethu gan y rhanau goreu o'i gredo crefyddol. Y mae yn ddigon i ni wybod fod ganddo ffydd gadarn a gwresog yn yr hyn ag yr ydym oll yn cydnabod sydd yn Gristionogaeth bur, ac nad oedd ei ffydd yn farw trwy fod heb weithredoedd, ond yn fyw mewn gwasanaeth cymwynasgar i ddyn, ac mewn rhodiad tawel gyda Duw. Bydd rhai yn cofio ei ddarlleniad effeithiol o'r Ysgrythyr Sanctaidd—ei ddull yn esbonio y Gair Dwyfol, a'i weddïau a'i fawl gwresog; ond bydd lluoedd na ddarfu iddynt erioed hyd yn nôd glywed am y blaid y perthynai iddi, neu am ei weinyddiadau crefyddol, yn mynwesu y coffadwriaeth am ei fywyd sanctaidd."*

Yr oedd ei fywyd yn llewyrchu, nid yn danbaid ac oriog fel fflachiad yr oruchionen, ond yn dawel a chyson fel goleuni pur y seren. Ac wedi y cwbl, dyma y peth mawr iddo yntau erbyn heddyw. Y mae un wreichionen o *gariad* yn fwy iddo heddyw na phe buasai yn "gwybod y dirgelion oll a phob gwybodaeth." Yn y byd y mae ynddo yn awr, y mae sefyllfa dynion yn cael ei phenderfynu nid wrth yr hyn sydd *ganddynt*, ond wrth yr hyn *ydynt*—nid wrth yr allanol ond y tufewnol, ac nid wrth y tufewnol meddyliol, ond y tufewnol *moesol*. Nid galluoedd ysplenydd, ond egwyddorion uniawn sydd yn barchus a phoblogaidd yno. *Daioni* ydyw mawredd yn y wlad hono. *Cymeriad* yn hytrach na chyrhaeddiadau sydd yn cario pob peth o'i flaen. *Sancteiddrwydd* ydyw y drwydded i ddyrchafiadau a gwobrau y byd hwnw. Ond na chamddealler ni: meddwl yr ydym wrth ddywedyd fel hyn am bwysigrwydd cymhariaethol y naill a'r llall o'r pethau hyn. Nid ydym yn tybied y bydd pethau eraill y *meddwl* yn ofer a diwerth. Pell ydym oddiwrth farnu y gwna yr ysbryd byth golli yr ennillion meddyliol a drysorodd yn gyfreithlawn yn y byd hwn. Nid yw yn cyd-daro â'n syniadau naturiol nac â chyfatebiaeth pethau, i dybied y bydd y llafur sydd yn ehangu galluoedd y meddwl ac yn eu hystôrio â gwybodaeth fuddiol yn y byd hwn, wedi myned yn *ddim* erbyn cyrhaedd y byd hwnw. Onid mwy cyson ydyw meddwl y bydd meistri-ysbrydion ein byd, dynion fel LOCKE, a NEWTON, a FARADAY, a lliaws o

*MICHAEL FARADAY: *Philosopher and Christian.* A Lecture, by the Rev. Samuel Martin *of Westminster.*

athronwyr Cristionogol cyffelyb—dynion ag yr ydym yn barod i farnu oedd hyd yn nôd yma bron sathru ar draed yr angel—onid mwy rhesymol ydyw meddwl y bydd rhai fel hyn, ar ol eu cymhwyso gan ras ac Ysbryd Duw i fyned i'r nefoedd, wedi eu cymhwyso hefyd gan eu llafur a'u cyrhaeddiadau blaenorol i gymeryd eu lle mewn dosbarthiadau uchel ymhlith yr efrydwyr nefol, i dreiddio ymlaen gyda'u hoff efrydiau i ryfeddodau di-ben-draw gweithredoedd Duw, ac i ymddadblygu fwyfwy, byth byth, mewn gwybodaeth, mewn cariad, mewn llawenydd a gogoniant, "yn ol nerth bywyd annherfynol?"

---

## Y CNAWDOLIAD A'R CWYMP.

MAE y golygiad y buasai yn angenrheidiol i'r Ail Berson yn y Drindod ddyfod yn ddyn pe na ddaethai pechod i'r byd, yn cael ei sylfaenu gan rai ar y dybiaeth y buasai gwaith y grëadigaeth yn anmherffaith heb y cnawdoliad. Er fod y cnawdoliad yn hanfodol i'r iachawdwriaeth, am fod marwolaeth iawnol y Person a gymerodd gnawd yn sylfaen iddi, eto buasai y cnawdoliad yn anhebgorol angenrheidiol ar dir crëadigaeth yn unig. Dywedir mai Mab Duw oedd cynddelw neu gynllun pob peth, ac mai y meddylddrych gwreiddiol am ddynoliaeth oedd Duw-ddyndod, ac, i sylweddu y meddylddrych hwn, fod yn angenrheidiol i gynddelw dragywyddol dynoliaeth ddyfod ei hunan yn ddyn mewn amser, mewn trefn i alluogi dynion i ddyfod yn gyfranogion o'r natur Ddwyfol, ac felly gyrhaedd nôd goruchel eu crëadigaeth.

Mae yn eithaf eglur fod y golygiad hwn yn gorphwys ar athroniaeth yn hytrach nag ar dduwinyddiaeth; ac ni chyhuddid ni o ryfyg nac anwybodaeth pe dywedem fod yr athroniaeth sydd wedi rhoddi bôd iddo yn hollol wrthwyneb i ddadguddiad yr Ysgrythyrau. Nid duwinyddiaeth athronaidd, nac athroniaeth wedi ei ffurfio gan feddyliau yn arfer teimlo dylanwad dadguddiad y Bibl, ydyw y sail y gorphwysa y golygiad arni; ond athroniaeth sydd yn ei holl sylwedd yn Bantheistaidd, yr hon a adwaenir wrth yr enw *absolute identity*—cyfundraeth Spinoza a Schelling. Addefa Dorner, yn ei waith ar Berson Crist, nas gellir dyfod i ben â chwestiwn y cnawdoliad ar faes beirniadaeth Ysgrythyrol yn unig, ond y dylid galw athroniaeth ymlaen i lanw yr adwyau sydd yn nysgeidiaeth y Bibl; y dylid ymchwilio yn ddyfnach i natur Duw a natur dyn, ac i berthynas Duw â dyn ac â'r holl grëadigaeth. Addefir felly fod grym mawr y prawf o'r angenrheidrwydd i'r cnawdoliad gymeryd lle pe na ddaethai pechod i anmharu trefn a chynghanedd y grëadigaeth, i'w gael mewn athroniaeth, ac nid allan o'r Dadguddiad Dwyfol. Mae rhai yn barnu fod athrawiaeth Plato am "ddrychfeddyliau" yn ffafri o y golygiad hwn; ond y mae yn ddiddadl fod Dorner, Martensen, ac eraill, wedi eu lefeinio yn fwy gan yr athroniaeth Bantheistaidd a nodwyd.

Er fod yn anmhosibl i un, wrth ymdrin â duwinyddiaeth, ymryddhâu yn llwyr oddiwrth effaith ei gredo athronyddol, eto y mae amcanu sefydlu athrawiaeth o grefydd ar sail dywodlyd athroniaeth, a cheisio ystumio rhai o destynau y Bibl at y cyfryw athroniaeth, yn gam dybryd â duwinyddiaeth. Ac y mae y camwri yn fwy fyth os bydd yr athroniaeth yn un ddigrefydd a gwrthysgrythyrol. Y cyfryw yn ddiammheuol ydyw athroniaeth *identity* yr Ellmyn; ac nid yn unig hyny, ond y mae yn groes i ffeithiau mawrion, sylfaenol, ymwybyddiaeth dyn fel créadur deallol a moesol. Ond dyma yr athroniaeth sydd, ysywaeth, wedi marchogaeth rhai o feirniaid a duwinyddion yr Almaen yn ddidrugaredd. Cofleidir hi ganddynt fel pe bae ddadguddiad oddi uchod, neu wirionedd cwbl brawfedig mewn gwyddoniaeth. Edrychir arni fel yr eglurhâd mwyaf boddhäol ar holl ddirgelion bodolaeth, pan y mae, mewn gwirionedd, yn gwrthddyweyd ffeithiau cyntefig ac angenrheidiol ymwybyddiaeth pob dyn. Teimlir ei dylanwad, cydnabyddir ei meistrolaeth, nid yn unig gan anffyddiaid, ond hefyd gan ysgrifenwyr yr edrychir arnynt yn weddol uniongred. Mae yn treiddio golygiadau cyfriniol y meddyliwr dwfn hwnw, Schleiermacher; a'r hyn sydd yn fwy syn, gwelir ei holion ar eglurhadaeth dyn mor efengylaidd âg Olshausen. Gwna y cyntaf y grëadigaeth o ran ei sylwedd yr un â Duw, a gwna yr olaf ddefnydd a meddwl yr un. Dywed am gorff ac ysbryd dyn, mai nid dau sylwedd mewn undeb â'u gilydd ydynt, ond mai gwisg angenrheidiol yr ysbryd yw y corff; nas gall yr ysbryd hanfodi mewn ymwybyddiaeth ar wahân oddiwrth y corff, ond mai wrth ddadblygu ei hun allan i gorff materawl y mae yr ysbryd anfaterawl yn cyrhaedd nôd ei berffeithrwydd. Yr un golygiad â hwn, wrth ei gymhwyso at yr Ysbryd Anfeidrol a'r grëadigaeth, ydyw athroniaeth *identity*. Gyda golwg ar athrawiaeth Plato ar "ddrychfeddyliau," y mae un awdwr yn sylwi y gellir ei golygu yn Bantheistaidd, neu yn unol â dysgeidiaeth y Bibl am natur Duw, yn ol yr olwg a gymerir arni. Os dywedir mai ei hystyr ydyw, fod cynddelwau neu bortrëadau pob peth yn bod erioed yn y *natur* neu yr *hanfod* Ddwyfol, dyna y golygiad mwyaf Pantheistaidd yn cael ei brïodoli i dad yr athronwyr—y mwyaf duwinyddol a'r mwyaf Cristionogol o holl ddoethion Groeg; yr un yw, yn ei sylwedd, ag athroniaeth ddiweddar Schelling: dysga fod y bydysawd yn bod er tragywyddoldeb yn y Duwdod, ac nad yw yr hyn a elwir yn grëu na mwy na llai na dadblygiad naturiol, angenrheidiol o sylwedd y Duwdod, cwbl annibynol ar ei ewyllys; mai un, mewn gwirionedd, yw Duw a natur, Duw a dyn, yr Anfeidrol a'r meidrol, y Meddwl Diderfyn a'r meddwl terfynol, ysbryd a mater; mai cyffelyb yw y berthynas rhwng Duw â'r grëadigaeth i'r berthynas sydd rhwng y boncyff â'r cangenau, y llysieuyn â'r blodau sydd yn tyfu arno. Megys y cyrhaedda y pren ei berffeithrwydd yn y ffrwyth, felly yr Anfeidrol yn y meidrol. Trwy ymddadblygu y meddianna wir fodolaeth, y bodolaeth uchaf sydd yn gyrhaeddadwy iddo. Ar wahân oddiwrth y meidrol, nid yw ond Duw mewn posiblrwydd yn unig. Yn ewyllys dyn y mae yr ewyllys Ddwyfol yn ewyllysio; yn meddwl dyn a bodau deallol eraill y mae meddwl Duw yn meddwl, ac felly yn cyrhaedd ymwybyddiaeth o hóno ei hun. Megys y mae y tònau afrifed sydd yn wastadol yn ymdòri ar draethau y ddaear yn un â'r môr, yn rhanau o hóno, ac ar ol ymdòri felly, yn ymlithro yn araf yn ol i'w

fynwes, felly y mae y cenhedlaethau o blant dynion, sydd yn myned ac yn dyfod yn ddiorphwys, yn rhanau anysgaradwy o'r Bôd diderfyn, y rhai, yn y diwedd, fyddant wedi ymgolli ynddo, pryd na fydd ond un meddwl, un sylwedd, un ymwybyddiaeth, mewn bod,—yr hyn sydd yn bresennol yn ymddangos fel lliosogrwydd ac amrywiaeth o bersonau a meddyliau wedi eu llyncu i fyny mewn undod ac unffurfiaeth, a Duw oll yn oll. Os hyn oedd golygiad Plato yn ei ddrychfeddyliau, nid oes angen dywedyd ei fod yn hollol groes i'r gwirionedd sydd yn sylfaen i bob crefydd, ac nas gall ei athroniaeth fod yn debyg i Gristionogaeth ond yn unig mewn ymddangosiad. Ond y mae pob rheswm dros farnu mai nid dyma oedd ei ddysgeidiaeth. Y mae yr un, o ran sylwedd, fel y dywed un awdwr, âg athrawiaeth y Bibl, fod Duw yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun; fod canfyddiad y golygon Dwyfol, cynlluniad y meddwl Dwyfol, penderfyniad yr ewyllys Ddwyfol, yn blaenori gweithrediad y gallu Dwyfol. Nid yw yn bosibl fod un syniad yn fwy gwrthysgrythyrol na'r golygiad fod cynddelwau pob peth yn *natur* Duw erioed. Ofer, pe felly, fyddai son am grëu; ni fyddai dim ystyr yn yr ymadroddion sydd yn llefaru am air, neu ewyllys, neu orchymyn Duw, fel y gallu a roddes fôd i'r nefoedd a'r ddaear, a'u holl luoedd hwynt. Anmhosibl mwyach ei glodfori, yn yr olwg ar ddaioni ei weithredoedd, a dywedyd, yn ngeiriau ei wasanaethwyr yn Llyfr y Dadguddiad, "O'i ewyllys ef y maent, ac y crëwyd hwynt." Ond y mae y golygiad arall, i'r gwrthwyneb, yn unol â dysgeidiaeth y Bibl ar natur Duw ac achos bodolaeth y grëadigaeth. Nid yw ond yr un peth a dywedyd, "Mai hysbys i Dduw ei weithredoedd oll erioed;" ei fod yn gweithio pob peth wrth ei linyn a'i gwmpawd, yn ol y mesurau a farnai ei ddoethineb yn oreu; fod pob peth yn ffrwyth ei ewyllys, wedi eu cwblhâu yn ol cynghor ei ddoethineb. Mae y golygiad hwn yn eithaf dealladwy, ac mor wir ag ydyw o ddealladwy; mae yr hyn a ddadguddir i ni am berffeithiau y Goruchaf yn ein gosod dan orfod i gredu fod cynllun ei holl weithredoedd yn ei feddwl er tragywyddoldeb. A haws yw credu hyn am Dduw nag ydyw credu fod cynllun yr adeilad yn meddwl y cynllunydd cyn gosod un gàreg o'r adeilad.

Ond mae y dywediad mai Person Mab Duw oedd cynddelw y grëadigaeth yn gyfryw ag y mae yn anmhosibl ffurfio syniad clir am dano. Yr ydym yn cyduno âg ysgrifenydd yn y *British and Foreign Evangelical Review* pan ddywed mai ymadroddion heb ystyr ydynt. Nid oes ynddynt fwy o athroniaeth ddofn na'r ymddangosiad yn unig. Nid dwfn nac aruchel yw y golygiad, ond disylwedd; pan geisiwch ymaflyd ynddo, y mae yn diflanu o'ch gafael. Person Mab Duw yn gynddelw dragywyddol y grëadigaeth! Pa syniad a ellir ei gysylltu â'r cyfryw eiriau? Nis gallwn ni amgyffred y gosodiad, mwy na phe dywedid fod person y cynllunydd yn gynddelw neu gynllun o'r gwaith. Gwir fod perthynas uwch na pherthynas meddiant rhwng y cynllunydd â'r cynllun, yn gymaint a bod y cynllun yn fynegiad neu amlygiad o nodweddau neillduol meddwl y cynllunydd. A'r un modd yr oedd cynddelwau pob peth yn addas i'r meddwl Dwyfol. Mae ehangder a mawredd y cynllun yn ein cyfeirio at annherfynoldeb y Meddwl a roddes fôd iddo, ac y mae y doethineb a'r daioni digyffelyb sydd mor amlwg ynddo, yn ein gorfodi i gredu yn noethineb a daioni anfeidrol ei natur. "Ei dragywyddol allu

a'i Dduwdod a welir yn amlwg yn y pethau a wnaed." Ond y mae dyweyd fod y gwaith a'r cynllun yn addas i'r meddwl Dwyfol, yn dra gwahanol i ddyweyd mai y meddwl Dwyfol ei hun, neu un o'r Personau Dwyfol, ydyw cynddelw y gwaith. Mae y Person Dwyfol yn bod o angenrheidrwydd; mae ei gynlluniau a'i weithredoedd yn ddamweiniol iddo. Os gwedir hyn, yr ydym yn gwneuthur bodolaeth y grëadigaeth a'n bodolaeth ein hunain mor angenrheidiol â bodolaeth Duw. Os meddyliwn mai cynghor ewyllys Duw oedd cynllun y grëadigaeth, mae yn hawdd credu fod y gwaith yn cyfateb i'r manylrwydd eithaf i'r cynllun. Ond os dywedir mai Mab Duw ei hun oedd y cynllun neu y cynddelw, mae yn anmhosibl dirnad pa fodd y mae y gwaith yn cyfateb, na pha fodd y *gall* gyfateb, i'r cynllun neu y cynddelw. Mae yn wir fod y grëadigaeth, fel y dywedasom, yn addas i Dduw fel y mae yn adlewyrchu ei berffeithiau; eto nis gellir dyweyd ei bod yn *debyg* i'w berson, fel y mae plentyn yn debyg i'w dad. Gwahaniaetha mewn natur; nid yw o'r un sylwedd â'r Duwdod, nac yn un sylwedd fel y mae y Duwdod yn un. Nid yw y materawl yn debyg i'r ysbrydol, na'r meidrol a'r dibynol yn debyg i'r Diderfyn a'r Hunanddibynol; ac er fod mwy o gydrywiaeth mewn ysbryd â'r Ysbryd Dwyfol, eto y mae amddifadrwydd yr ysbryd crëedig o'r perffeithiau o annibyniaeth, hanfodiad angenrheidiol, a'r cyffelyb, yn gwneuthur y pellder yn fwy na'r agosrwydd, yr annhebygrwydd yn fwy na'r tebygrwydd. Ac y mae yn deilwng o sylw, fod natur, yn ei holl adranau, yn gorfodi ein meddyliau i ymofyn am Grëawdwr iddi, yn llawn cymaint trwy yr hyn sydd ynddi yn ei gwneuthur yn *annhebyg* i Dduw â thrwy yr hyn sydd ynddi yn adlewyrchu ei berffeithiau. Mae hanfodiad damweiniol yn ein harwain yn ôl at hanfodiad angenrheidiol, a'r meidrol yn cyfeirio at yr anfeidrol. Ond y mae y syniad am y grëadigaeth fel yn annhebyg i'r Crëawdwr, ac eto yn adlewyrchiad o hono, yn gyson â'r golygiad ei fod wedi gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei Hun, ond yn anghyson â'r golygiad mai Efe ei hun, neu Berson y Mab, ydyw cynddelw pob peth.

Ond fe allai y dywedir mai ystyr y gosodiad mai Mab Duw oedd cynddelw y grëadigaeth ydyw, mai Efe oedd cynddelw dynoliaeth; fod y Crëawdwr, wrth grëu y dyn cyntaf, yn edrych ar ei Fab, fel Duw-ddyn, fel y cynllun ag y bwriadai, ar dir crëadigaeth, ffurfio holl blant dynion i gyfatebrwydd iddo, ac na fuasai yn bosibl dwyn y grëadigaeth i berffeithrwydd heb i Dduw ymddangos yn y cnawd; nad oedd y drychfeddwl o ddyn wedi ei sylweddu yn Adda yn ei gyflwr crëedig; a mwy na hyny, na fuasai yn cael ei sylweddu ynddo pe daethai trwy ei brawf yn llwyddiannus; ond fod yn gwbl angenrheidiol, tuag at gael dynoliaeth berffaith, i Dduw ddyfod yn ddyn. Yn awr, os yw y dybiaeth yma yn wir, y mae yn amlwg fod dyn, coron ac ardderchogrwydd ein byd ni, yn ei ystâd o ddiniweidrwydd, ac hyd yn nôd yn y sefyllfa uchaf fuasai yn gyrhaeddadwy iddo, trwy ufudd-dod i orchymyn ei Grëawdwr, nid yn unig yn fyr o gyrhaedd uchelnôd y ddynoliaeth, ond yn *annhraethol* bell o'i gyrhaedd. Nid ychydig raddau oedd rhyngddo, neu fuasai rhyngddo, ar ol dyfod trwy ei brawf, â pherffeithrwydd uchaf ei fôd, ond pellder anfesurol. Ni fuasai yn gymaint â chysgod o ddynoliaeth berffaith. Buasai y grëadigaeth yn anorphen, a buasai y diffyg yn aros, nid mewn rhyw adran israddol o honi, ond yn y rhywogaeth uchaf o'i chrëadur-

iaid; a buasai hwnw nid yn ddiffyg bychan, dibwys, ond yn agendor annherfynol lydan; mor annherfynol ag ydyw y pellder rhwng dyn a Duw-ddyn, yr hyn sydd yn bellder anfeidrol; y cyfryw ag y mae y pellderau mwyaf sydd rhwng crëaduriaid â'u gilydd yn diflanu mewn cymhariaeth iddo. Mae y gwahaniaeth sydd rhwng yr abwydyn â'r archangel yn ddim yn ymyl y gwahaniaeth sydd rhwng dyn â Duw-ddyn. Yr ydym yn tybied fod gwrthuni y golygiad yn ymddangos i'n darllenwyr heb i ni fyned i'r drafferth o'i wrthbrofi. Nid ydym yn cael un awgrym o'i blaid yn hanes crëad a phrawf dyn. Dywedodd Duw ar ddiwedd gwaith pob un o'r diwrnodau cyntaf, mai da iawn oedd yr hyn a wnaethai. Yr oedd y goleuni, yr haul a'r lloer, wrth fodd y Crëawdwr; felly hefyd "y môrfeirch mawrion," yr anifeiliaid, yr ehediaid, a'r ymlusgiaid oll; a'r un modd y coed a'r llysiau. Pa ystyr sydd i'r ymadrodd a gysylltir â gwaith y diwrnodau, "A gwelodd Duw mai da ydoedd," oddieithr fod y gwaith yn cyfateb yn berffaith i'r cynllun oedd erioed yn meddwl y Crëawdwr? Ond y mae yr un peth yn cael ei ddyweyd ar ol crëu dyn, "A gwelodd Duw yr hyn oll a wnaethai, ac wele da iawn ydoedd: felly yr hwyr a fu, a'r bore a fu, y chweched dydd." Ac wedi sylweddu yr uchaf o'i gynddelwau yn nghrëadigaeth dyn ar ei lun a'i ddelw ei hun, y gorphwysodd y Crëawdwr ar y seithfed dydd oddiwrth ei holl waith, yr hwn a wnaethai Efe. Yn awr, a fuasai y Goruchaf, ar ol cwblhâu gwaith y chwe' diwrnod, yn gweled mai "da," ac mai "da iawn," ydoedd, pe buasai dyn, y mwyaf a'r olaf o'i holl grëaduriaid, yn annhraethol bell oddiwrth safon ei fodolaeth—pe buasai y drychfeddwl heb gael ei sylweddoli, ac mor anfesurol bell oddiwrth hyny? Buasai ei natur yn ddiffygiol, nid yn unig mewn graddau, ond mewn elfen hanfodol, a hono yr elfen uchaf. Buasai Duwdod ar ol. Mae yn anghredadwy meddwl y gallasai y Creawdwr, ar ol ffurfio corff dyn o bridd y ddaear, gyhoeddi mai da iawn ydoedd, â'r corff hwnw yn gorwedd ar y ddaear yn dalp o gnawd ac esgyrn, heb ffûn anadl yn ei ffroenau, ac heb nac enaid nac ysbryd; oblegid fe fuasai prif elfen dynoliaeth, yn ol ein golwg ni ar y natur, yn absennol; ond mwy anghredadwy na hyny ydyw meddwl, ar y dybiaeth mai Duw-ddyndod oedd cynddelw y natur, y gallasai y Crëawdwr ymfoddhâu yn ei grëadur, pe buasai yr elfen bwysicaf o'r cwbl yn absennol; yr elfen sydd yn fwy o ardderchogrwydd ar y corff a'r ysbryd ynghyd nag ydyw yr ysbryd ar y corff. Anmhosibl fuasai yr ymlonyddiad a'r ymddigrifiad dedwydd a osodir allan yn y gair "gorphwysodd Duw," heb i'r dyn fod yn ddyn Dwyfol, i uno y grëadigaeth â'r Crëawdwr, os hyny oedd cynddelw y grëadigaeth. Buasai yr hyn oedd yn anfeidrol fwy nag a wnaed yn aros heb ei wneuthur. Ond y mae meddwl felly yn annheilwng, ac, yn wir, yn anmhosibl, os ydym i gysylltu rhyw ystyr têg â geiriau llyfr Genesis. "Megys y mae celfyddydwr dynol yn gorphen ei waith wedi iddo ei ddwyn i fyny at ei gynllun *(ideal)*, felly mae Duw mewn ystyr anfeidrol uwch. Yr oedd gorphwysfa y Crëawdwr yn ganlyniad ei hunanfoddhâd yn y cyfan o'i waith, yn yr hwn yr oedd yr amrywiaeth mwyaf mewn undeb a chydgordiad. Ac yr oedd ei orphwysfa Ef yn orphwysfa i'r holl grëadigaeth, yn enwedig i ddyn." (Delitszch). Wrth edrych, felly, i hanes dyn yn ei gyflwr crëedig, yr ydym yn cael fod ei natur wrth fodd y Crëawdwr, fel yr oedd natur pob crëadur arall, yn ol ei rywogaeth, wrth

ei fodd. Ond yn ol y golygiad dan sylw, yr oedd yn anmherffaith o'r fath fwyaf anmherffaith. Yr oedd yr elfen bwysicaf oedd i fod ynddi yn absennol. Yr oedd yma ddiffyg ac anmherffeithrwydd, nid mewn graddau, ond mewn natur. Tra y mae y ffaith fod Duw wedi myned i gyfammod â dyn, ac yn y cyfammod hwnw yn addaw y caffai fyw yn dragywyddol, yn ein gorfodi i gredu fod dynoliaeth yn ei chyflwr crëedig yn feddiannol ar bob peth oedd yn angen arni mewn trefn i gyrhaedd ei dadblygiad uchaf, y mae y golygiad hwn yn gwadu hyny. Nid oedd ond rhan eto o ddrychfeddwl Duw am ddynoliaeth; ac nis gallasai gyrhaedd yr elfen arall bwysicach trwy unrhyw ddadblygiad naturiol; oblegid y mae yn anmhosibl meddwl y gallasai y dyn cyntaf Adda, yr hwn a wnaed yn enaid byw, trwy unrhyw gwrs o ufudd-dod gyrhaedd y drychfeddwl o Dduw-ddyndod. Nid dadblygiad naturiol, ond ffrwyth cyfryngiad goruwchnaturiol, cyffelyb i gyfansoddiad Person y Gwaredwr, a fuasai sylweddiad y drychfeddwl gwreiddiol. Ond yr ydym yma yn cael ein cylchynu âg anhawsderau anorfod. Yn un peth, mae yn rhaid i ni gredu fod crëadigaeth dyn wedi rhoddi mwy o foddhâd i'r Crëawdwr na lluniad un crëadur arall, er fod pob crëadur arall yn cyfateb yn berffaith i'r cynllun, tra yr oedd dyn bellderau anfesurol îslaw y cynllun. Mae yn rhaid i ni gredu hefyd fod dyn yn feddiannol ar bob cymhwysder oedd yn angenrheidiol i ddyfod trwy ei brawf yn llwyddiannus, ac felly i gyrhaedd uchelnôd ei natur, heb gredu hyn nis gallwn gyfiawnhâu ffyrdd Duw gyda dyn. Os nad oedd yn meddu ar y digonedd hwn, pa fodd y cyfiawnhëir ei osodiad dan brawf? os na chyrhaeddasai, trwy ufudd-dod i orchymyn Duw, safle uchaf ei natur, pa ddyben oedd i'r prawf? Ond os oedd ei natur yn ddiffygiol, nid oedd uniondeb yn ei brawf; oblegid nis gallasai gyrhaedd perffeithrwydd uchaf ei natur heb feddiannu holl hanfodion y natur, mwy nag y gall yr hurtyn ddringo i diriogaethau uchaf meddwl ac athrylith. Mae hyn hefyd yn bychanu ei bechod; oblegid os oedd ei natur yn anmherffaith, fel natur, rhy brin yr oedd ei fai yn fai mewn gwirionedd. Beth a ddysgwylir ond diffyg oddiwrth grëadur ag y byddo ei natur yn ddiffygiol?

Nid oes yn un man arall yn yr holl Fibl sail i'r dybiaeth mai bwriad Duw oedd derchafu dyn i gyfranogiad o Dduw-ddyndod. Yr oll a osodir allan yn y geiriau sydd yn dangos i ddyn gael ei grëu ar "lun a delw Duw," ac fod y prynedigaeth yn ei adnewyddu ar y ddelw hono, ydyw y cyffelybrwydd uchaf sydd yn gyrhaeddadwy i grëadur; ond gan nad yw ond cyffelybrwydd y meidrol i'r Anfeidrol, nis gall fod yn gyffelybrwydd mewn hanfod, ac o ganlyniad nid yw ond anmherffaith mewn graddau. Nid yw y cyffelybrwydd yn cynnwys cyfranogiad o sylwedd yr un natur, na meddiant o natur gyffelyb. Pe byddai y cyntaf, nid cyffelybrwydd fyddai, ond undod; oblegid mae y gair cyffelybrwydd yn golygu perthynas rhwng dau sylwedd neu ychwaneg, neu rhwng gwahanol ranau yr un sylwedd; ond y mae ansawdd diranau y natur Ddwyfol yn cau allan yr ystyr olaf o'r cwestiwn. Felly, pe bwriadesid i ddyn gyfranogi o Dduw-ddyndod, buasai y geiriau sydd yn llefaru am dani fel i gael ei adferu ar ddelw Duw, ac i'r un ffurf a delw ei Fab Ef, yn llawer rhy weiniaid, o herwydd fod cyfranogiad o sylwedd natur un yn cynnwys mwy na chyffelybrwydd i'r natur hono,—mewn gair, yn dynodi undod gwirioneddol. Byddai cyfranogiad o'r natur Ddwyfol, yr hon sydd yn ddiranau, yr un peth a

meddiant o Dduwdod. Ac nid all y cyffelybrwydd gynnwys meddiant o natur gyffelyb. Saif natur Duw ar ei phen ei hun ymysg yr holl naturiaethau sydd mewn bodolaeth. Gellid tybied am un yn feddiannol ar natur gyffelyb i ddynoliaeth, ac eto heb fod yn ddyn; ond nis gellir meddwl am un yn meddu natur gyffelyb i'r natur Ddwyfol, heb fod yn Dduw, am fod hanfodion y Duwdod, megys hunanddibyniad ac angenrheidrwydd bodolaeth, yn cau allan y posiblrwydd o fodolaeth natur arall gyffelyb i'w natur ef. Pa faint bynag, gan hyny, ydyw cyfoeth a dirgelwch y geiriau sydd yn llefaru am undeb y saint â Duw yn Nghrist, a'u cyffelybrwydd iddo—eu bod wedi eu geni o Dduw, yn blant ac yn feibion i Dduw, fod hâd Duw yn aros ynddynt, eu bod wedi eu rhagluniaethu i fod yr un ffurf â delw ei Fab ef, fel y byddai efe yn gyntafanedig ymysg brodyr lawer; eu bod yn caêl eu gwneuthur yn gyfranogion o'r dduwiol anian, neu y ddwyfol natur,—dylid cofio fod eu hystyr yn gyson â'r gwahaniaeth hanfodol ac anfesurol sydd rhwng natur Duw a natur y crëadur. Nid all crëadigaeth nac iachawdwriaeth lanw yr agendor yma. Nis gall Duw ei hunan ei llanw. Y mae yma undeb, ond nid undod; cyffelybrwydd, ond nid cyfranogiad o sylwedd natur. Crëadur dibynol fydd y sanct am dragywyddoldeb; bydd ei ewyllys yn wahanol o ran bôd i'r eiddo Duw, er yn gydffurf â hi, o ran ansawdd bydd Duw ac yntau yn fodau gwahanol, er y bydd yr undeb a'r cymundeb crëedig agosaf rhyngddynt â'u gilydd. Y mae yr holl eiriau sydd yn gosod allan undeb a chymundeb yn tybied mwy nag un ymwybyddiaeth. Nis gwyddom am neb o'r saint a allodd sylweddu ei undeb â Duw yn Nghrist yn fwy na'r Apostol Paul, ac eto ni fu un dyn erioed yn ymdeimlo â'i bersonoliaeth annibynol a'i gyfrifoldeb ei hun yn fwy. Yr oedd holl naws ei feddwl yn gwbl rydd oddiwrth syniadau a thueddiadau Pantheistaidd. Yr oedd efe ei hun yn dlawd, Crist yn oludog: efe yn annheilwng o'r fath annheilyngaf, a Christ yn haeddu pob peth iddo: efe yn wan, Crist yn ei nerthu. Er y gwyddai fod Crist yn byw ynddo, ac fod ei gorff a'i ysbryd yn breswylfod i'r Ysbryd Glân, eto nid oedd yma fwy nag undeb agos a dirgeledig. Cadwai ei olwg yn wastad ar y linell derfyn a wahanai rhwng ei bersonoliaeth ei hunan âg eiddo Crist. Ni cheir yn ei holl ysgrifeniadau un ymadrodd o blaid y golygiad fod y saint i gyfranogi o Dduw-ddyndod y Gwaredwr nac o'i Faboliaeth. Mae yn wir eu bod yn feibion Duw, yn y berthynas grëedig agosaf âg Ef; a dichon mai Maboliaeth y Cyfryngwr ydyw cynllun eu mabwysiad; eto nid yw addef hyn yr un peth a thybied eu bod yn cyfranogi o'i Faboliaeth dragywyddol. Golygiad a glywir yn fynych ydyw fod perthynasau y byd naturiol yn gysgodau neu arddangosiadau o berthynasau y byd ysbrydol, ac mai un o amcanion bodolaeth y cyntaf ydyw bod yn adlewyrchiadau o'r olaf. Mae y perthynasau sydd rhwng tadau a phlant, brodyr a chwïorydd, meistriaid a gweision, brenhinoedd a deiliaid, yn gynnorthwyon i ni i ffurfio syniad am y cysylltiadau tragywyddol sydd yn y Duwdod ei hun, a'r perthynasau sydd rhwng Duw â'i grëaduriaid; ac amcan penaf y perthynasau daearol, y rhai y cyfyngir eu parhâd i dymmor byr ein hymdeithiad yn y byd hwn, ydyw cyflëu meddylddrych i ni am y perthynasau Dwyfol oeddynt yn hanfodi o angenrheidrwydd cyn bod y byd, ac o'r perthynasau sydd i barhâu dros byth, er darfod eu ffurfio mewn amser. Nid oes a wnelom yn bresennol â phrofi mwy nag â gwrthbrofi

y syniad hwn; ein hunig amcan yn ei grybwyll ydyw hyn,—nad yw gwneuthur y naill ddosbarth o berthynasau yn arluniau neu gysgodau o'r dosbarth arall yn cynnwys mai yr un peth ydynt, neu fod y naill yn fath o gyfranogiad o'r llall. Mae gwahaniaeth anfesurol rhwng perthynas y tad â'r plentyn naturiol, a pherthynas Ddwyfol, dragywyddol, ac angenrheidiol Person y Tad â Pherson y Mab yn y Drindod, er fod y cyntaf, ar y dybiaeth o wirionedd y golygiad uchod, yn arlun o'r olaf. A'r un modd, fe ellir dal fod mabwysiad y saint yn cael ei ddwyn ymlaen yn ôl cynllun y Maboliaeth Ddwyfol, heb ddal, fel y gwna Dr. Candlish, fod yma y cyfranogiad lleiaf o Faboliaeth y Mab. Mae golygu fod dyn wedi ei fwriadu, pa un bynag ai ar dir natur neu ar dir gras, i gyfranogi o Dduw-ddyndod, yn sicr o arwain i un o ddau gyfeiliornad mawr, naill ai i gredu fod duweiddiad creadur yn bosibl, neu nad yw Dwyfoldeb y Cyfryngwr yn ddim uwch na chyfranogiad helaethach y dyn Crist Iesu o ddylanwadau Dwyfol, ac nid y meddiant o sylwedd y Duwdod.

Gwrthwynebir y golygiad a gyfrifir yn uniongred am yr angenrheidrwydd o'r cnawdoliad, am y tybir ei fod yn diraddio y cnawdoliad trwy ei wneuthur yn ddibynol ar gwymp dyn fel ei achlysur. Dywedir fod yr olwg yma arno yn ei wneuthur fel effaith rhyw ail feddwl yn Nuw; mai dygwyddiad damweiniol ydoedd; oblegid pe na ddaethai pechod i'r byd, na dderbyniasai y greädigaeth yr amlygiad hwnw o Dduw sydd yn anghymharol fwy gogoneddus na phob amlygiad arall. Onid mwy cydweddol â godidogrwydd y cyfryw ddadguddiad ydyw ei olygu fel amcan, a'r amcan uchaf, nag fel moddion? Onid mwy rhesymol yw edrych ar y bwriad i'r Mab ymgnawdoli fel y *prif* fwriad yn y Meddwl Dwyfol, y cyntaf o ran trefn, fel mewn pwysigrwydd, yn hytrach nag fel bwriad sydd yn debycach i ail feddwl mewn dyn?

Dichon mai yr atebiad mwyaf prïodol i'r wrthddadl hon ydyw, nad ydym yn alluog i farnu y cynghorion Dwyfol—fod terfynoldeb ein bôd, a therfynoldeb yr oll a berthyn i ni, ynghyd ág olyniad ein meddyliau mewn amser, a dibyniad ein bwriadau ar eu gilydd, yn ein gwneuthur yn analluog i ffurfio drychfeddyliau addas am y Meddwl Dwyfol a'i fwriadau. Pwy a ddichon ddyweyd fod yr hyn a ymddengys i ni yn ddamweiniol yn ymddangos felly i Dduw? Ac er nad yw Duw yn awdwr pechod, eto yr oedd dyfodiad pechod i'r byd o fewn ei gynllun. Nid oedd gwrthryfel yr angelion na chwymp dyn yn gorwedd y tu allan i gynghor ei ewyllys. Ac er ein bod yn credu mai pechod oedd yn galw am y cnawdoliad, eto nid oedd ond achlysur o hóno. Nid oedd yn lleihâu cariad a gras penarglwyddiaethol Duw yn anfoniad ei Fab, yr hyn a gymylir yn ddirfawr gan y golygiad arall. Oddieithr i ni gredu fod angenrheidrwydd hanfodol yn y natur Ddwyfol am ymuno â natur dyn, mae yn rhaid, ar bob tir, edrych ar y cnawdoliad fel yn meddu ar elfen ddamweiniol, yr un fath a phob gwaith y tu allan i'r Duwdod. Os dywedir fod angenrheidrwydd mewnol am hyn yn y natur Ddwyfol, yr ydym yn analluog i gysoni y cnawdoliad â'r ffaith mai mewn amser y cymerodd le, oblegid, yn ol y golygiad o'i angenrheidrwydd, dyna y Duwdod wedi bod er tragywyddoldeb heb fod yn y sefyllfa oedd yn hanfodol i'w natur. Mae y golygiad fod creu neu ymgnawdoli yn angenrheidiol i Dduw yn Bantheistaidd. Ac nid rhaid i ni ddyweyd fod pob ffurf ar Bantheistiaeth yn gwrthdaraw

egwyddorion sylfaenol ein crediniaeth. Mae y syniad fod Duw a'r grëadigaeth yn un, naill ai yn darostwng Duw i ddrychfeddwl—i *generalized idea*, neu yn gwneuthur y crëadur yn Dduw. Collir Duw mewn mater, neu collir mater yn Nuw. Yr ydym yn cael yr un, nid trwy olrhain y meidrol a'r Anfeidrol at un sylwedd, ond trwy golli un o'r ddau. Mae yr awyddfryd am y Diderfyn, y cyfeiriad sydd yn meddwl dyn at Fôd uwchlaw iddo, ei deimlad dwfn-gynhenid o'i ddibyniad, yn gwrthryfela yn erbyn y syniad o suddo yr Anfeidrol yn y meidrol—o wneuthur Duw yn ddrychfeddwl; ac y mae ein hymwybyddiaeth o'n diffygion lawer, o'n hanallu a'n terfynoldeb, yn gwneuthur y syniad mai *ni* ydyw Duw, yn anmhosibl. Mae ffeithiau mawrion dynoliaeth, y rhai a orweddant yn nyfnderau ein crediniaeth, a'r rhai, pe gallem ymddattod oddiwrth eu dylanwad ar ein crediniaeth, nas gallem mwyach gredu mewn dim, yn dinystrio Pantheistiaeth ymhob un o'i ffurfiau. Felly, pan ddywedwn fod unrhyw olygiad a gynnygir i'n sylw yn Bantheistaidd, y mae hyny yr un peth, yn ein golwg ni, ac yn marn darllenwyr y TRAETHODYDD, fel yr ydym yn hyderu, ag a fyddai dyweyd ei fod yn drwyadl gyfeiliornus. Syniad o'r natur yma ydyw yr un dan sylw; sef gwneuthur y grëadigaeth neu y cnawdoliad yn hanfodol i Dduw. "Y mae golygiad cywir am gyflawnder a hunanddigonedd Duw, fel yr Un tragywyddol Fendigedig, ac am yr ymhyfrydiad a'r cariad oedd rhwng y Personau yn y Duwdod cyn bod y byd, yn dangos i ni nad oedd un angen heb ei ddiwallu ynddo, yr hwn yr oedd y grëadigaeth yn angenrheidiol i'w gyflenwi." Mae daioni Duw yn y cyfraniad o hóno ei hun yn gweithredu yn berffaith rydd. Os dywedir fod yn brïodol, yn weddus i'r cyflawnder Dwyfol o allu a daioni oedd erioed yn ei natur dòri allan, dylid ystyried fod gwahaniaeth rhwng prïodoldeb neu weddeidd-dra âg angenrheidrwydd. Nid yw y gweddeidd-dra hwn yn gwneuthur rhyddid ei weithrediad yn llai. Nid oedd ei waith yn crëu, er yn addas iddo ei hun, er yn gyfryw amlygiad o'i Hollddigonedd ag oedd yn weddus iddo, yn cael ei achosi gan un angen o fewn, na chan ddim oddiallan. Mae yn weddus i'r dyn haelionus, ac yn gydnaws â'i dueddiadau, ddangos haelioni, eto nid yw hyny yn tynu oddiwrth y rhyddid gyda pha un y mae yn gweithredu. Po gryfaf yw ei haelioni, mwyaf yw ei ryddid, a mwyaf yw y pleser a'r llawenydd a deimlir ganddo wrth ddychymygu a gweithredu yn haelionus; ar yr un pryd, mwyaf yw y gweddusrwydd *(fitness)* sydd yn yr actau haelionus i'w natur. Felly nid yw y graddau uchaf o weddusrwydd yn groes i'r graddau uchaf o ryddid. Nid yw nerth cariad, yr hyn sydd yn peri iddo ddyheu am gyfle i ddyfod i'r golwg, yn tynu oddiwrth ei ryddid. Felly, er fod yn weddus i Dduw grëu, nid oedd angenrheidrwydd yn ei natur iddo grëu. A'r un modd am y cnawdoliad. Heblaw hyny, gellir dwyn yr un wrthddadl yn erbyn y golygiad arall; onid damweiniol neu achlysuredig yw y cnawdoliad wrth edrych arno ar dir crëadigaeth? Os dywedir fod crëadigaeth yn ddadblygiad angenrheidiol o'r Duwdod, yr ydym yn colli ewyllys rydd o fod, a rhaid edrych ar bechod yr un mor angenrheidiol â'r grëadigaeth, yr hyn ni wneir gan neb o gefnogwyr y golygiad dan ein sylw. Ond os oedd bodolaeth y grëadigaeth a bodolaeth dyn yn dibynu ar ewyllys Duw, ac nid ar angenrheidrwydd yn ei nätur, dyna y cnawdoliad felly yn ddamweiniol ac achlysuredig: mae yn dibynu ar hanfodiad y grëadigaeth a dynoliaeth. Hyny yw, os amcan y cnawdoliad

oedd perffeithiad y grëadigaeth trwy berffeithiad dynoliaeth, mae yn amlwg na fuasai angen am y cnawdoliad pe buasai y grëadigaeth heb fod; ac os nad oedd angenrheidrwydd yn natur Duw am grëu,—os peth damweiniol ydoedd crëu, damweiniol yr un modd oedd y cnawdoliad, gan mai y naill weithred ddamweiniol oedd sail y weithred arall. Ymhellach, y mae y golygiad uniongred, fel y mae yn ymddangos i ni, yn rhoddi gwêdd uwch a mwy ardderchog ar y cnawdoliad na'r golygiad gwrthwyneb. Os ydym i gredu y Bibl, mae yn amlwg mai yr iachawdwriaeth ydyw y benaf o ffyrdd Duw—trwyddi hi y dysgwylia fwyaf o enw iddo ei hun; yma y gwelir y cydgyfarfyddiad mwyaf gogoneddus o'i berffeithiau; yma yr ymddysgleiriant gyda digyffelyb ogoniant; trwy yr eglwys y gwneir yn hysbys i'r tywysogaethau a'r awdurdodau yn y nefolion leoedd, ei fawr amryw ddoethineb; Crist wedi ei groeshoelio ydyw gallu a doethineb Duw; i'r drefn hon y perthyna dyfnion bethau Duw; ar ei rhyfeddodau hi y mae yr angelion yn chwennychu edrych; mae yr holl grëadigaeth wedi ei darostwng dan lywodraeth yr Iesu, yr hwn sydd yn Ben uwchlaw pob peth i'r eglwys. Mor anghymharol o ogoneddus ydyw yr iachawdwriaeth fel y mae y Goruchaf yn foddlawn i'w holl grëaduriaid droi oddiwrth ei weithredoedd eraill oll i syllu gyda syndod addoliadol arni, ac i fanwl chwilio i mewn i'w rhyfeddodau! Felly, onid ydym yn rhoddi lle uwch i'r cnawdoliad wrth edrych arno fel sylfaen a dechreuad y grëadigaeth newydd nag fel perffeithiad yr hen grëadigaeth? Fel ffrwyth bwriad mawr cariad a gras Duw nag fel peth yr oedd angenrheidrwydd yn Nuw neu mewn crëadigaeth am dano? Os oedd Duw-ddyndod yn perthyn i'r grëadigaeth—os buasai y Gair yn cael ei wneuthur yn gnawd pe na buasai eisieu achub ac adferu dynion colledig—yna y mae y penaf o ffyrdd Duw, rhyfeddod y rhyfeddodau, gwyrth y gwyrthiau i gyd, Duw yn y cnawd, yn perthyn yn hytrach i'r hen grëadigaeth; ac felly mae yn rhaid priodoli mwy o ogoniant i'r hen nag i'r newydd, yr hyn, fel y gŵyr ein holl ddarllenwyr, sydd yn hollol groes i ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau.

Y ddadl y gosodir mwyaf o bwys arni gan Martensen a Dorner ydyw, fod y cnawdoliad yn angenrheidiol er sicrhâu undeb ymhlith yr hil ddynol; nas gallasai dynolryw fod yn gorff cyfluniol heb Ben, ac mai yr unig Ben posibl oedd Duw yn natur dyn. Heb y Duw-ddyn, ni fuasai plant dynion, ebe Dorner, ond pentwr neu gynnulliad o bersonau, heb un egwyddor o undeb yn eu rhwymo ynghyd. Nis gallesid eu golygu fel un teulu, am na fuasai neb ag y gallesid edrych arno yn y berthynas agos o Dad iddynt. Ni fuasent yn un deyrnas, am na fuasai neb yn ddigon agos atynt ac ar unwaith yn ddigon mawr i fod yn Frenin arnynt. Mae yn rhaid i ni gydnabod nad ydym yn alluog i deimlo y grym a dybir gan rai sydd yn yr wrthddadl hon i'r golygiad cyffredin. Mae yn hawdd deall nas gall fod gwir undeb heb ryw ganolbwynt—heb ryw rwymyn digon cryf i uno aneirif bersonau gyda'u gilydd. Ond paham yr oedd yn angenrheidiol i'r canolbwynt hwnw fod yn Dduw yn y cnawd, nis gallwn amgyffred. Mae yr angelion wedi eu cydgrynhôi yn un corfforiaeth mewn Person sydd heb fod yn gyfranog o'u natur. Onid allasai y Duwdod fod yn ganolbwynt undeb pob rhywogaeth sanctaidd? Os gwedir hyn, onid ydyw yn canlyn nas gall un naturiaeth resymol grëedig fod yn un corff cyfluniaidd heb i Fab Duw gymeryd y naturiaeth

hono i undeb â'i Berson ei hun? Mae yn rhaid, dybygem, ar y dybiaeth yma, i ni gredu mewn mwy nag un ymgnawdoliad, oddieithr i ni gredu fod addasrwydd arbenig yn y natur ddynol i fod yn ganolbwynt i'r holl naturiaethau crëedig, yr hyn y mae ein hanwybodaeth o'r grëadigaeth yn gwahardd i ni ei gadarnhâu. Oni ddywedir mai yn y Mab, fel Person Dwyfol, "delw y Duw anweledig," y mae pob peth yn cydsefyll? Ac oni fuasai ei gysylltiad ef â'r holl grëadigaeth, yn weledig ac anweledig, materawl a rhesymol, yn ei rhwymo yn un corff cyfluniaidd, pe na ddaethai pechod i mewn i dòri ar ei chynghanedd? Credu yr ydym ni y buasai llifeiriad didor y dylanwadau Dwyfol o gyflawnder Person y Gair yn cadw y crëaduriaid sanctaidd dros byth i gylchdroi yn rheolaidd o'i amgylch ef fel eu canolbwynt, ac yn ddigonol i'w dwyn i'r perffeithrwydd uchaf oedd yn gyrhaeddadwy i'w natur. Wedi i bechod ddattod eu cysylltiad â'u canolbwynt, yr oedd yn rhaid wrth ryw gyfryngiad mwy i'w dychwel o'u gwibiadau. Er nas gallasai un gweithrediad îs na'r cnawdoliad adferu y ser crwydrol i'r gyfundrefn, eto nid ydym i feddwl fod hyny yn angenrheidiol i'w cadw ynddi, pe na ddaethai dim i dòri ar ei threfn. Mae yn amlwg nad ydym i ymresymu oddiwrth sefyllfa wasgaredig dynolryw trwy bechod, mai gwasgaredig felly a fuasai heb bechod. Yr ydym yn ymwybodol yn awr o ddiffyg undeb â Duw ac â'n gilydd fel effaith pechod; ac awgryma hyn, pe na buasai am y dinystrydd a'r ysgarydd hwn, mai cyflwr o undeb trwyadl fuasai cyflwr y grëadigaeth resymol. Mae amryw o dybiaethau ar y cwestiwn dan sylw nad yw o un bûdd i ni yn awr eu trafod,—tybiaeth Thomasius, fel enghraifft. Barna efe y buasai i ddynolryw, pe na ddaethai pechod i'r byd, ddau rwymyn o undeb; y Logos neu y Gair fel y rhwymyn mewnol, ac Adda fel y rhwymyn allanol. Pa faint o wir feddwl a ddichôn fod yn y cyfryw ymadroddion, ni a adawn i'r darllenydd farnu. Pe byddai yn brïodol chwilio i beth sydd yn gorwedd mor bell tu hwnt i'n tiriogaeth, gallem dybied fod rhyw ymddangosiad o debygrwydd yn y syniad; oblegid y mae genym air sicr yr Ysgrythyr fod pob peth, yn ol cyfansoddiad gyntefig y grëadigaeth, yn cydsefyll yn Mherson y Mab; ac y mae yr un mor sicr fod Adda yn ben i'r ddynoliaeth, ac y rhoddir prawf parhäus o'i benogaeth, yn nhrosglwyddiad y llygredigaeth a'r trueni a ddaeth trwy ei gamwedd ef i'w holl hiliogaeth. Y mae dynoliaeth yn un corff yn Adda; y mae y fath undeb rhwng y personau afrifed ymhob oes ac ymhob gwlad, fel y maent yn derbyn yr un gogwydd at lygredigaeth; y maent yn un yn eu cwymp a'u dirywiad yn rhinwedd eu perthynas â'r un Pen.*

Ond pa beth a ddywed yr Ysgrythyr? "At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ol y gair hwn, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt." A gadarnhëir y dybiaeth hon gan ffeithiau—gan ymchwiliad i dystiolaethau yr Ysgrythyr? A gefnogir hi gan un neu amryw o eiriau y Bibl, neu gan gasgliad têg oddiwrthynt? Ac os nad ellir

* "In the transmission of Adam's guilt to his posterity, with its fearful heritage of suffering, corruption, and death, we have continually before us the remains of a living organism,—the reverse side, as it were, of the original likeness of humanity. Why might there not have been, had its divinely constituted head proved steadfast to his engagements, the transmission through that head of a yet more powerful as well as happy influence to all the members of the family?" Fairbairn's Typology. Vol. I., p. 184. Fourth Ed.

cael prawf penderfynol, a geir awgrymau yn nghyfeiriad y cyfryw brawf? Yr ydym yn ddibetrus yn ateb yn nacâol. Mae holl ymdriniaeth y Bibl ar y cnawdoliad yn myned yn erbyn y dybiaeth. Ni roddir cymaint ag awgrym y cymerasai le heb y cwymp. Ni ddywedir un gair yn rhoddi ar ddeall mai amcan gwreiddiol dyfodiad y Mab oedd perffeithiad y grëadigaeth. Ni ddeuai i feddwl neb diragfarn, wrth ddarllen y Bibl, mai rhyw ail amcan, math o ddyben israddol, wedi ei impio, megys, ar amcan gwreiddiol y Goruchaf, oedd anfon ei Fab i'r byd er mwyn gwaredu pechaduriaid trwy ei farwolaeth iawnol. Ac y mae y golygiad mai Duw-ddyndod oedd cynddelw dynoliaeth yn un nas adwaenir gan y Dadguddiad Dwyfol. A mwy na bod y Bibl heb eiriau nac awgrymau yn y cyfryw gyfeiriad—y mae ei holl dôn yn y gwrthwyneb. Amcana Martensen brofi angenrheidrwydd am y cnawdoliad ar dir crëadigaeth â rhai o eiriau yr Apostol Paul yn ei epistolau at yr Ephesiaid a'r Colossiaid; ond y cwbl a wna y cais ydyw dangos geudeb y gosodiad, a hyny yn fwy amlwg, yn ein golwg ni, nag y gwneir trwy un ddadl arall o'i blaid. Y prawf a ddylai fod y cryfaf—y prawf Ysgrythyrol—ac yn wir yr *unig* brawf (oblegid gan mai athrawiaeth dadguddiad ydyw y cnawdoliad, dadguddiad ydyw yr unig awdurdod arni), ydyw y gwanaf o'r cwbl. Hyd yn nôd pan y ceisir seilio y golygiad ar dir athroniaeth, gwelir yn amlwg mai tywodlyd ydyw y sail; ond gwelir hyny yn fwy amlwg fyth pan y ceisir ei brofi trwy ddadguddiad. Y profion Ysgrythyrol a ddygir ymlaen gan Martensen ydynt Eph. i. 10; a Col. i. 15, 16. Ond ni phetruswn ddywedyd nas awgrymid y dybiaeth i'r beirniad diragfarn mwyaf craffus gan astudiaeth o'r geiriau; ac y mae eu dygiad ymlaen i'w hattegu yn un o'r enghreifftiau mwyaf hynod o gamgymhwysiad, ie, o ddirdyniad ar adnodau y Bibl at olygiadau wedi eu ffurfio yn gwbl annibynol ar ddysgeidiaeth y Bibl. Pan lefara yr apostol am fwriad y Goruchaf i "grynhôi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear," mae yn amlwg mai llefaru y mae am amcan eithaf yr iachawdwriaeth tuag at ddynolryw. Nid oes yma un rhith o gyfeiriad at fwriad yr Anfeidrol yn nghrëadigaeth dyn, nac at y dybiaeth y buasai yn angenrheidiol i'r Pen fod yn Dduw-ddyn pe na ddaethai pechod i mewn i achosi ysgariad yn y grëadigaeth. "Yn Nghrist Iesu" y dywedir fod pob peth i gael eu crynhôi ynghyd; sef yn Nghrist yr iachawdwriaeth—yr *historical aorist;* yr hwn a arweinir ger ein bron yn y cyd-destynau fel sail etholedigaeth, cyfrwng y bendithion ysbrydol, a chynllun y mabwysiad; ac nid yn y Duw-ddyn oedd yn angenrhaid, fel y tybir, ar y grëadigaeth yn ei chyflwr pur cyntefig. Er fod y geiriau yn yr epistol at y Colossiaid yn sylwi ar berthynas Mab Duw â'r grëadigaeth yn gystal ag â'r iachawdwriaeth, eto y maent yn amddifad o bob cyfeiriad at y golygiad dan sylw. Arweinir Person y Cyfryngwr ger ein bron yn ei berthynas â phechaduriaid fel eu Prynwr: "Yn yr Hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed Ef, sef maddeuant pechodau:" ac yna daw y geiriau canlynol i mewn er mwyn dangos mawredd Person y Prynwr. Yr un yw Prynwr dynolryw âg Awdwr y grëadigaeth. Iddo ef y perthyn y flaenoriaeth ymhob peth. Yr un person ydyw Cyntafanedig pob crëadur â'r Cyntafanedig oddiwrth y meirw. Efe, yr Hwn yw y Dechreuad, ydyw Pen corff yr eglwys. Delw han-

fodol y Duwdod ydyw y cyfrwng yn y grëadigaeth a'r Cyfryngwr yn yr iachawdwriaeth. Mawredd cynhenid ei Berson, ydyw hanfod ei gymhwysder i sylweddu bwriadau tragywyddol Duw yn nhrefn natur ac yn nhrefn gras. "Mae yn ddelw anweledig Duw, yn ol ei natur Ddwyfol, ac yn ddelw weledig o hóno, yn ol ei natur ddynol." (Bengel). "Oni bae ei fod yn ddelw *hanfodol* y Tad o ran ei Berson Dwyfol, nis gallai fod yn ddelw *arddangosiadol* o hóno i ni, fel y mae wedi cymeryd cnawd." (Dr. Owen). Yr hyn a osodir allan yn y geiriau—"Trwyddo Ef y crëwyd pob peth—pob peth a grëwyd erddo Ef, ac ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll"—ydyw mai y Person a elwir yn ddelw y Duw anweledig, yn rhinwedd y berthynas â Duw a osodir allan yn y teitl hwn, ydyw achosydd, cynnalydd, ac amcan y grëadigaeth. Os dywedir fod yn rhaid iddo ddyfod yn ddyn mewn trefn i fod felly, digon o atebiad ydyw na chadarnhëir hyny yn y gair dan sylw, yr hwn a gyfrifir y cryfaf o'i blaid o holl eiriau y Bibl. Os dywedir y dangosir hyny yma, y mae yn rhaid myned ymhellach na'r golygiad y dadleuwn yn ei erbyn; oblegid dywed yr apostol mai "ynddo Ef y mae *pob peth* yn cydsefyll." Nid yn unig y mae yn Ben dynoliaeth, ond yn rhwymyn undeb yr holl grëadigaeth: ac os haerir, ar sail y geiriau, mai ynddo Ef, fel Duw-ddyn, y mae pob peth yn cydsefyll, ac y buasai yn rhaid iddo ddyfod yn Dduw-ddyn i'r amcan hwnw, yna yr oedd ei gnawdoliad yn angenrheidiol nid yn unig i berffeithiad dynoliaeth, ond hefyd i gydsafiad yr holl grëadigaeth: yr oedd yr un mor angenrheidiol i sicrhâu trefn a chynghanedd yn y byd materawl ag ydoedd i undeb dynolryw â Duw ac â'u gilydd. Ac os nad ydym yn camsynied, y mae y "pob peth" yn yr adnod hon yn golygu y materawl yn fwy na'r rhesymol. Pa un bynag, y mae yn sicr na roddir yma un flaenoriaeth i ddynoliaeth ar ranau eraill y grëadigaeth. Os felly, y mae yr adnod hon yn profi gormod; oblegid nis gwyddom am neb sydd yn haeru fod y cnawdoliad yn angenrheidiol i gydgordiad y rhan faterawl o'r grëadigaeth. Mae Meyer yn sylwi ar yr ymadrodd, "Trwyddo (yn fwy cywir, *ynddo)* Ef y crëwyd pob peth," nad oes yma un sail i'r dybiaeth mai y Mab fel Person Dwyfol oedd cynddelw y grëadigaeth, ac nad yw y dybiaeth hon yn cael ei chadarnhâu, nac hyd yn nôd yn cael cyfeirio ati, yn un man arall gan yr apostol: y gwrthbrofir y golygiad gan amseriad y ferf *y crëwyd*—yr *historical aorist*, yr hon sydd yn golygu y *weithred* o grëu, nid drychfeddwl y grëadigaeth.

Gadawer i ni ymhellach edrych ar yr ymadroddion Ysgrythyrol sydd yn llefaru am amcan y cnawdoliad; ac wrth redeg ein meddwl drostynt, yr ydym yn cael y gosodiadau canlynol:—Fod y cnawdoliad yn amlygiad mawr o gariad Duw at fyd colledig: mai amcan Mab Duw wrth ymuno â'r natur ddynol oedd offrymu ei hun yn aberth yn y natur hono dros bechodau y byd, ac fod ei gnawdoliad yn perthyn yn yr un ystyr i drefn iachawdwriaeth, yr un mor gyfyngedig iddi, a'i farwolaeth: ac mai amcan ei holl ymddangosiad—yr holl yrfäoedd yr aeth trwyddynt o'i gnawdoliad hyd ei adgyfodiad—ydyw iachawdwriaeth pechaduriaid. Mae y gosodiadau hyn oll yn cymhell eu hunain fel gwirioneddau profedig i bob efrydydd diduedd o'r Ysgrythyrau. Gwrthddadleua Dorner i'r gosodiad cyntaf fod y cnawdoliad, ar y tir y safa efe arno, yn amlygiad o haelfrydedd rhydd y Duwdod. Os oedd Duw yn crëu o gwbl o ewyllys da, felly hefyd yr oedd yn perffeithio y gwaith o grëu; ac o

ganlyniad yr oedd y cnawdoliad yn ffrwyth ei ewyllys da, megys yr oedd yn angenrheidiol i berffeithiad y grëadigaeth. Ond dylid ystyried fod y cnawdoliad yn cael ei osod allan yn dra gwahanol i'r grëadigaeth fel ffrwyth daioni Duw, sef fel ffrwyth ei *gariad* at wrthddrychau neillduol, a'r gwrthddrychau hyny mewn cyflwr colledig. "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo Ef."

Mae yn wir y bydd y cnawdoliad o fûdd annhraethol i'r holl grëadigaeth resymol; a'r un modd am farwolaeth a chyfryngdod Crist. Nid yw amcan y cnawdoliad yn ehangach nag amcan y farwolaeth. Nid yw gwasanaethgarwch y cnawdoliad i grëaduriaid rhesymol eraill heblaw dynolryw ond esiampl nodedig o fawr amryw ddoethineb Duw, trwy ba un y mae yn sicrhâu buddiannau cyffredinol wrth gyflawni amcan neillduol. Ac y mae yn hawdd deall y posiblrwydd i'r holl grëaduriaid rhesymol dderbyn daioni anhywerth oddiwrth gnawdoliad Mab Duw, heb fyned mor bell a dywedyd mai eu mantais hwy oedd *amcan* y cnawdoliad. Yr un modd y derbyniant fantais oddiwrth ei farwolaeth. Bydd ymddysgleiriad y perffeithiau Dwyfol yn yr Iawn yn wrthddrych eu syndod dros byth, ac adnabyddant Dduw yn helaethach yn nghroes Crist nag mewn un dadguddiad arall. Eto, fe ellir addef hyn heb feddwl mai rhoddi y fantais hon oedd amcan ei farwolaeth. Ni raid i ni ei olygu hyd yn nôd yn amcan israddol, heb sôn am y prif amcan. Mae holl gefnogwyr y golygiad dan sylw yn dal mai pechod a wnai y farwolaeth yn angenrheidiol. Yr un modd y gellir golygu y bydd y cnawdoliad yn ddaioni annhraethol i holl ddeiliaid sanctaidd llywodraeth Duw, heb dybied mai y daioni hwnw oedd yr amcan. Nid yw holl ganlyniadau peth yr un â'i amcan. Wrth amcan yr ydys yn golygu yr hyn y rhoddir bôd i beth er mwyn ei sicrhâu: ac amcan y cnawdoliad oedd yr hyn y daeth Duw i'r cnawd er mwyn ei gyrhaeddyd, heb yr hwn ni fuasai y cnawdoliad yn cymeryd lle. Y mae doethineb Duw yn sicrhâu canlyniadau gogoneddus i gnawdoliad a marwolaeth Crist, y rhai nis gellir edrych arnynt fel amcanion o gwbl: nid oedd angenrheidrwydd anhebgorol ar y rhan sanctaidd o'r grëadigaeth am y cyfryw fanteision; ac ni cheir un awgrym y buasai Mab Duw yn cymeryd ein natur, ac yn marw yn y natur hono, yn unig er mwyn eu sicrhâu.

Yn awr, tra y dangosir yn y Bibl fod y cnawdoliad o fûdd i holl grëaduriaid sanctaidd Duw, dangosir hefyd mai yr amcan ydoedd iachawdwriaeth dyn. "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid." "Ni ddaeth Mab y dyn i ddystrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." "Daeth Mab y dyn i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid." "Myfi a ddaethum fel y caent fywyd." "A chwi a wyddoch ymddangos o hóno ef, fel y dilëai ein pechodau ni." "I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd diafol." Ni wneir yn y geiriau hyn un gwahaniaeth rhwng y cnawdoliad ei hun â'i ffurf a'i amgylchiadau. Nid yr hyn a gadarnhëir ydyw, ei fod, yn y cnawd, wedi ymostwng i dlodi, gwarth, a dyoddefaint, ond ddarfod iddo ddyfod i'r byd er ein mwyn. A'i ddyfodiad i'r cnawd a ystyrir fel y prif amlygiad o'i gariad, yn yr hyn y cynnwysai hanfod ei ddarostyngiad. Ei ddyfodiad i'r cnawd, yn hytrach na'i ymddarostyngiad yn y cnawd, oedd yr arddangosiad penaf o'i ras. "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, ddyfod er ein mwyn

ni yn dlawd." Y tlodi a briodolir iddo yma ydoedd y tlodi yr ymostyngodd iddo yn y weithred o ymgnawdoli—tlodi yn dwyn cysylltiad agosach â'i Berson na'r sefyllfa isel yr ymostyngodd iddi yn y cnawd, megys mai y cyfoeth a gyfrifir iddo oedd goludoedd gogoniant ei Berson oddifewn, nid cyfoeth o ran meddiannau oddiallan. Nid yw y cyfoeth diderfyn sydd ganddo ond dangosiad o'r goludoedd anfeidrol sydd yn trigo yn hanfodol ynddo; ac nid oedd yr amgylchiadau isel y treuliodd ei oes ynddynt ar y ddaear ond arwydd allanol o'r hunan-ddibrisdod, yr ymwaghâd, a gymerodd arno yn y weithred o ymgnawdoli. Dangosir hefyd fod y Mab wedi cymeryd ein natur mewn trefn i ddyoddef a marw. "Y bara hwn yw fy nghnawd i, yr hwn a roddaf fi dros fywyd y byd." "Gan fod y plant yn gyfranogion o gîg a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau, fel, trwy farwolaeth, y dinystriai efe yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, ac y gwaredai efe hwynt, y rhai, trwy ofn marwolaeth, oeddynt dros eu holl fywyd dan gaethiwed." Nid oes yma un amnaid fod yn angenrheidiol iddo gymeryd cnawd i berffeithio y grëadigaeth, ond yn hytrach i waredu crëaduriaid syrthiedig, a hyny trwy farwolaeth. Yr oedd yn rhaid i'r Person a ymgymerodd â'r gwaith o waredu dyn ddyfod ei hunan yn ddyn, mewn trefn i farw yn y natur hono, a thrwy farwolaeth ddinystrio ei ormesydd. Megys y dangosir mai y waredigaeth oedd amcan y farwolaeth, felly hefyd y dangosir mai y farwolaeth oedd amcan y cnawdoliad. Onid yr argraff a adawa y geiriau hyn ar bob meddwl diduedd ydyw, mai amcan *mawr* cyfranogiad y Mab o gîg a gwaed oedd marw mewn trefn i waredu y plant; ac na fuasai y cnawdoliad byth yn cymeryd lle pe na buasai am yr amcan hwnw? Ond os addefir y rhoddir ar ddeall yma mai dyma brif amcan y cnawdoliad, y mae yr hyn y dadleuwn drosto wedi ei ennill; oblegid, yn ol y golygiad arall, nis gellir golygu yr iachawdwriaeth ond fel amcan ailraddol a damweiniol.

Ond dichon y dadleuir, gan mai swydd y Bibl ydyw dadguddio iachawdwriaeth i ddyn, nad oedd amcan y dadguddiad hwn yn gofyn am hysbysrwydd o ddim ychwaneg mewn cysylltiad â'r cnawdoliad nag sydd yn perthyn i'n hiachawdwriaeth; y buasai y Bibl yn cilio allan o'i lwybr pe y rhoddasai sylw i un amcan arall. Digon o atebiad, dybygem, i'r wrthddadl hon ydyw, fod y golygiad y dadleuwn yn ei erbyn yn fwy na *chwanegiad* at ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau; mae yn gyfryw chwanegiad ag sydd yn anghydweddol â'r hyn a ddadguddir. Mae yr hyn a fyn athroniaeth ei ddysgu yn gwrthddyweyd yr hyn a ddadguddia y Gair. Mae y ddysg hon yn gwneuthur athrawiaeth y Bibl yn athrawiaeth newydd—yn dilëu yr argraffiadau a wna astudiaeth ddiduedd o'r Ysgrythyr—yn yspeilio y cnawdoliad o'r swynion sydd ynddo i galon pechadur, megys yr ydym wedi ceisio dangos o'r blaen. Yr argraff a wna y Bibl ar bob meddwl diragfarn ydyw fod Duw wedi ymddangos yn y cnawd mewn trefn i fod yn Iachawdwr cymhwys i ddynion; ond dyma dduwinyddiaeth athronaidd yr Ellmyn yn gweled yn dda ein goleuo o'n tywyllwch—yn dywedyd wrthym ein bod, mewn undeb â chorff eglwysi y saint, wedi byw dan gamsyniad pwysig, er fod y Bibl wedi ein harwain i'r camsyniad hwnw. Nid oes dim a fawrygir genym yn fwy yn y Bibl na'i ddystawrwydd; ac nid yw ei ddystawrwydd byth yn ein camarwain. Mae yn ddystaw yn hytrach rhag ein camarwain. Ond os gwir

yr wrthddadl hon, dyma ei ddystawrwydd yn foddion i'n camarwain; ac nid i gamarwain ychydig nifer o'r saint, ond yr oll o honynt, oddieithr rhyw ychydig o feddyliau athronyddol, cyffelyb i'r rhai mwyaf manylgraff o'r ysgolwyr, ac i rai o wŷr dysgedig yr Almaen yn yr oes hon. Pe cawsem yr holl wirionedd yn y Bibl ar bwnc y cnawdoliad, buasai ein golygiadau yn hollol wahanol i'r hyn ydynt. Pinagl yr hen grëadigaeth yn hytrach na sylfaen y newydd fuasai Person y Duw-ddyn yn ein golwg. Edrychasem ar hanes genedigaeth yr Iesu yn fwy fel dilyniad angenrheidiol i'r bennod gyntaf yn Genesis nag fel camrau boreuaf Duw yn yr iachawdwriaeth. Cyfrifasem fod rhyfeddodau y grëadigaeth yn llawer mwy na rhyfeddodau gras. Ond y mae yn amlwg fod yr wrthddadl uchod yn ddirym. Er fod yn wir fod Duw wedi cadw llawer o bethau oddiwrthym yn ei air,—mai drychfeddwl y Bibl ydyw iachawdwriaeth y byd—na fuasai yn gydweddol âg unoliaeth ei amcan i bethau anmherthynol i'n hadferiad gael eu dadguddio ynddo, eto y mae genym ddigon o sail i gredu nad yw y gwirioneddau sydd heb eu dadguddio yn anghyson â'r pethau a gawsant eu dadguddio. Ond ymhyfhäwn i ddywedyd, os gwir yw y golygiad sydd wedi ei gloddio allan gan athroniaeth, y daethai Duw yn ddyn ar wahan oddiwrth drefn iachawdwriaeth, fod y Bibl yn dysgu yn wahanol i hyn—fod holl rediad ei ymadroddion ar bwnc y cnawdoliad yn wrthwyneb—fod yr argraff a wna ei ddarlleniad ar filiynau yn wahanol; ac felly fod ei ysgrifenwyr heb dderbyn y goleuni hwn, neu yn bwriadu camarwain eu darllenwyr. Swm ein hatebiad i'r wrthddadl ydyw, fod y golygiad hwn, nid yn unig yn chwanegiad at ddadguddiad y Bibl ar y cnawdoliad, ond yn ŵyrdröad arno; yn newid ein holl syniadau am dano: os yw yn wirionedd, ac os oedd yn wirionedd gwybyddus i'r ysgrifenwyr, nid oedd yn bosibl iddynt roddi yr un wedd ag a roddir ganddynt ar amcan y cnawdoliad.

Ond y mae athrawiaeth y Bibl ar bob pwnc yn gyson â gwir athroniaeth, ac felly ar y mater hwn. Nid oes dim yn fwy amlwg nag fod athroniaeth yn ymestyn tu hwnt i'w therfynau pan yn ymdrafferthu gyda'r cnawdoliad. Mae yn dibrisio ffeithiau, ac yn gosod yr holl bwys ar dybiaethau; ac felly nid yw yn beth sŷn fod y golygiad hwn heb allu erioed arganmawl ei hun i gymeradwyaeth yr eglwys. Ei gefnogwyr ymhob oes ydyw y duwinyddion mwyaf rhwym wrth ddamcaniaethau athronyddol, a mwyaf anfoddlawn i adeiladu eu cyfundraeth ar dystiolaethau syml yr Ysgrythyrau. Ond nid oes dim yn fwy eglur na'u bod yn athronyddu yn gwbl anathronaidd. Y maent, fel y dywed un awdwr, yn anghofio ein bod yn byw mewn byd sydd wedi ei ffurfio oll mewn cydweddiad â'r ffaith fod pechod i gael ei oddef i ddyfod i mewn iddo. Felly nid yw y rhesymau sydd yn cael eu seilio ar drefn bresennol natur, yn yr hon y mae pechod yn teyrnasu, neu ar berthynas bresennol Duw â chrëaduriaid pechadurus, o un gwerth tuag at benderfynu beth fuasai trefn natur, a pha beth a wnaethai Duw yn ngŵydd ei grëaduriaid, mewn byd ag y buasai dyfodiad pechod i mewn iddo yn gwbl anmhosibl. Pwy a ŵyr pa fath fyd a fuasai y grëadigaeth pe na ddaethai pechod iddo, a phe buasai ei ddyfodiad yn anmhosibl? Rhaid fuasai iddo fod yn fyd hollol wahanol i hwn. Ac yn ein hanwybodaeth ddygn am natur a chyfansoddiad y cyfryw fyd, a oes un dyn, ïe, a oes un angel yn deall pa beth fuasai ei angenrheidiau? pa beth fuasai coron ei ogon-

iant a'i berffeithrwydd? Buasai yn rhaid i ddyn ei hunan fod yn grëadur gwahanol, pe buasai yn anmhosibl iddo bechu; a buasai yn rhaid i berthynas Duw âg ef fod yn wahanol. "Gan ein bod yn byw mewn byd ag y mae pechod ynddo, y mae yn anmhosibl i ni ffurfio syniad am fyd a phechod heb ddyfod erioed i mewn iddo." A chan na wyddom beth fuasai natur y byd hwnw, nid ydym, wrth reswm, yn gwybod pa bethau fuasent yn *angenrheidiol* i gymeryd lle ynddo. Mae gwybod yr olaf yn cyfodi oddiar wybodaeth o'r cyntaf. Mae yn rhaid deall cyfansoddiad peth cyn deall ei angenrheidiau. Ac nid yw ffurfio tybiaethau am yr hyn a fuasai yn *rhwym* o gymeryd lle mewn cyfundrefn anhysbys i ni, yn amgen na chodi adeilad ddisylwedd ar sylfaen dywodlyd. Mae yr adeilad a'r sylfaen yn ddychymygol, awyrol, disylwedd, yn barod i ddiflanu fel niwl y bore. Pe buasai y byd heb bechod, buasai y byd ei hun, yn ei gyfansoddiad gwreiddiol, yn wahanol i'r hyn ydyw; ac onid yw hyny yr un peth a dyweyd y buasai doethineb Duw ei hun yn berffeithrwydd gwahanol? Os dyma y byd a welodd Doethineb Dwyfol yn oreu ei grëu, oni fuasai ei grëu ar gynllun arall yn cynnwys fod meddwl y cynllunydd yn wahanol i'r hyn ydyw? Ystyriaeth arall sydd yn deilwng o fwy o sylw gan y duwinyddion a ddymunant i ni gyfrif eu dyfaliadau fel gwirioneddau profedig, ydyw, mai diffygiol iawn yw gallu y meddwl dynol yn y diriogaeth hon. Ei nerth ydyw chwilio i'r hyn sydd, neu a fu, neu i'r hyn a ddylai fod. Mae yn llwyddiannus yn ei gynnulliad o ffeithiau, ac yn ei ymofyniad am y deddfau sydd yn uno y ffeithiau hyny gyda'u gilydd. Ac y mae yn abl weithiau i ddyfalu y dyfodol; nid am fod ganddo wybodaeth ddigyfrwng o'r dyfodol, ond am fod ganddo wybodaeth o'r presennol, ac y gall wrth gymharu arwyddion y presennol âg arwyddion cyffelyb yn yr amser a aeth heibio, ynghyda chanlyniadau yr arwyddion hyny, ffurfio dyfaliadau am yr hyn sydd yn debyg i gymeryd lle yn yr amser a ddaw; ac y mae yn dygwydd weithiau fod ei ddyfaliadau yn gywir. Eto mae yn rhaid addef mai cyfyng ac ansicr yw ei wybodaeth yn y diriogaeth yma. Ac oddiar hyn y cyfyd y grêd mewn ymyriad goruwchnaturiol yn achos y dyn hwnw sydd yn gallu dewinio neu brophwydo beth a fydd ar ol hyn. Ond y mae ein gwybodaeth yn fwy cyfyng fyth yn nhiriogaeth y *pe bae* a'r *pe buasai*. Cyhyd ag y safwn ar ddaear galed ffeithiau yr ydym yn ddiysgog. Càn gynted ag y diystyrom ffeithiau, ac yr amcanom ehedeg i uchelfanau tybiaethau damcanol, yr ydym yn pendroni, ac yn disgyn i lawr mewn cywilydd yn nghanol gwawd a chwerthiniad ein cymydogion. Pan yr amcanwn ddyfalu beth a fuasai yn y presennol *pe* na buasai rhyw ddygwyddiad mawr wedi cymeryd lle o'r blaen, nid oes mwy o ddibyniad i'w roddi ar ein casgliadau nag ar y breuddwydion mwyaf ofer, mwyaf annhebyg i ddygwyddiadau ein bywyd effro. Mae ein dychymygion a'n tybiau yn gwbl ofer: nid oes sylfaen iddynt; a chynted ag y cymhwysir rheswm a barn atynt y maent yn diflanu. Y maent felly hyd yn nôd o fewn cylch y gyfundrefn bresennol. Yr oedd y ddaear hon a'i phreswylwyr dan lywodraeth yr un deddfau mawrion bum' can' mlynedd yn ol ag yn bresennol; eto ymha le mae yr athronydd a'r gwleidiadwr a allant roddi portrëad o agwedd wleidyddol, a chymdeithasol, a chrefyddol y byd yn ein hoes ni, pe buasai America eto heb ei darganfod, y gelfyddyd o argraffu heb ei

dyfeisio, y diwygiad Protestanaidd heb dòri allan, *Novum Organum* Bacon heb ei ysgrifenu? Pe buasai Mr. Gladstone y llynedd yn brifweinidog yn lle Arglwydd Russell, pwy fedr ddyweyd beth fuasai sefyllfa llywodraeth Prydain y dydd hwn—beth fuasai ei pherthynas â theyrnasoedd eraill? Mae yn hawdd i hwn a'r llall ddychymygu y canlyniadau, ond ymha le y mae y dyn a fedr ein perswadio fod dim uwch na'r graddau lleiaf o debygolrwydd yn ei ddyfaliadau? Eto y mae genym rywfaint o dir i sefyll arno wrth ffurfio y tybiaethau hyn: oblegid yr un o ran ei gyfansoddiad—o ran ei ddeddfau mawrion—oedd y byd bum' can' mlynedd yn ol ag ydyw yn bresennol. Ond wrth haeru y buasai yn rhaid i'r cnawdoliad gymeryd lle ar wahân oddiwrth bechod, yr ydym yn hòni gwybodaeth am fyd nas gwyddom ddim am dano. Buasai crëadigaeth heb bechod o'i mewn o ffurfiad gwahanol i'r byd a adwaenom ni; ac y mae dyweyd y buasai angenrhaid ar y grëadigaeth hon am y cnawdoliad yn brawf o ryfyg anwybodus yn hytrach nag o feddwl gwir athronaidd.

---

## JAMES RICHARDS, PONTYPRIDD.

Yn marwolaeth y dyn da a'r pregethwr galluog hwn, fe gollodd y Bedyddwyr yn Nghymru un o brif addurniadau eu Cyfundeb. Hyderwn, modd bynag, y bydd eu colled hwy, fel y *mae* yn sicr iddo ef, yn ennill i'r Cymry yn gyffredinol. Ni a gawn Gofiant yn fuan, ac y mae genym sail dda i raghysbysu i'n darllenwyr y bydd yn fuchdraeth o'r mwyaf dyddorol. Daw hefyd gyfrol neu gyfrolau o'i bregethau allan trwy'r wasg. A barnu oddiwrth y rhai a glywsom ac a glywsom am danynt, a'r nifer o honynt yr ydym wedi cael y dirfawr bleser o'u darllen mewn ysgrif, bydd y cyfansoddiadau hyn yn ychwanegiad gwerthfawr at ein llênyddiaeth. Gobeithiwn y bydd i'r rhai sydd wedi ymgymeryd â pharotôi y Cofiant frysio i gyflawni y gorchwyl càn gynted ag y byddo modd. Na fydded i ni gael dysgwyl a dysgwyl nes blino dysgwyl, fel y mae wedi bod yn rhy aml gyda golwg ar waith fel hwn yn ein plith ni fel cenedl. Y mae ein cymydogion y Saeson yn rhagori ymhell arnom mewn prydlondeb braidd ymhob peth. Cofus genym i'r Parch. Henry Allon, Llundain, barotôi pregeth angladdol i'r diweddar Barch. James Sherman, olynydd yr anfarwol Rowland Hill, yn cynnwys braslun maith o hanes ei fywyd, a'i thraddodi bore Sul pen yr wythnos ar ol marwolaeth y gŵr duwiol hwnw yn Blackheath, a'r hwyr yn Nghapel Surrey; a chyn pen ychydig o fisoedd helaethwyd y bregeth i gyfrol o gryn faintioli. Dywedai un o'r siaradwyr yn y Gynnadledd ar Addysg a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Manchester, nad oes eisieu deddf yn rhwymo y rhïeni i ddanfon eu plant i'r ysgolion dyddiol yn Nghymru; mai yr anhawsder yn y Dywysogaeth ydyw cael y plant i'r ysgol mewn pryd. Felly y mae

hi gyda'r cofiantau. Mae gan Gymru wir barch i'w gweinidogion enwog, ac nid ydyw yn eu hanghofio ar ôl eu myned i ffordd yr holl ddaear; darllenir eu bywgraffiadau gyda dyddordeb mawr. Ond yr anhawsder ydyw cael y cofiantau allan yn brydlawn. Bu Thomas Richards, Abergwaen, farw yn nechre y flwyddyn 1856; ni chyhoeddwyd y Bywgraffiad gan Edward Matthews tan y flwyddyn 1863: ond chware têg, pan y daeth allan, ymddangosodd, nid yn rhifynau, ond yn un gyfrol gyfan. (Pa bryd y daw terfyn i hen oruchwyliaeth y "Rhifynau?") Ond gobeithiwn na raid i'r wlad aros am saith o flynyddau am fuchdraeth James Richards, a dwy neu dair blynedd wedi hyny am ei bregethau.

Ni fu enw Mr. Richards yn ystod ei fywyd mor gyhoeddus o flaen y genedl â'r eiddo llawer o'i frodyr, er ei fod yn bur adnabyddus trwy Gymru benbaladr ymhlith y Bedyddwyr er ys deugain mlynedd, ac yn dyfod yn fwy felly i'r enwadau eraill yn mlynyddoedd olaf ei oes; ac hefyd ni chymerodd y safle ymhlith ei frodyr yr oedd mor deilwng o honi, ac mor gymhwys iddi, âg y mynasai y frawdoliaeth i'r hon y perthynai ei osod ynddi. Un rheswm am hyn yn ddïau ydoedd y gwendid corfforol y dyoddefodd gymaint oddiwrtho, yr hwn yn aml a'i rhwystrai i bregethu, ac a'i caethiwai ef i'w dŷ, ac a barodd iddo fod yn fwy gochelgar nag o bosibl yr ydoedd yn angenrheidiol iddo fod. Tra yn Mhontypridd, anaml iawn y pregethai mewn cymanfa; gochelai y cynhyrfiad sydd ynglŷn âg ymddangos yn y manau mwyaf cyhoeddus. Yr oeddym yn bresennol unwaith mewn Cymanfa lïosog, pan yr oedd dysgwyliad mawr am ei glywed, ac y taer erfyniai gweinidog y lle arno i bregethu; ond gwrthododd. Byddai nid yn anfynych yn gwasanaethu mewn cyfarfodydd blynyddol, yn agoriad capelau, cyfarfodydd ordeiniol, ac achlysuron eraill o'r fath; ond nid mor fynych ag y ceisid ganddo. Heblaw hyn, ni fynai gyhoeddi dim o ffrwyth ei fyfyrdod trwy y wasg. Penderfynodd Cyfarfod Trimisol Bedyddwyr Morganwg, yn un o'u cynnulliadau yn y flwyddyn 1854, i ddanfon cais ato yn gofyn am iddo ddwyn allan rywbeth o'r eiddo. Mewn atebiad i'r penderfyniad hwn, ysgrifenodd y llythyr canlynol, yr hwn sydd yn ddangoseg ragorol o'r dyn:

"Barchedig ac anwyl Frodyr,

"Fel y mae un o benderfyniadau eich cynnadledd yn meddu cyfeiriad uniongyrchol ataf fi, nid yw, yn y man lleiaf, ond gweddus i mi ei *gydnabod*.

"Gyda golwg ar eich cydymdeimlad â mi yn fy nychdod a'm mynych wendid, derbyniwch, anwyl frodyr, fy *niolchgarwch* gonest, dwfn, a gwresog. Er bod cydymdeimlad yn gweddu yn fawr i'r broffes o dduwioldeb, yn brawf grymus o wirionedd yr efengyl, ac yn naturiol i'r rhai sydd wedi bod yn cydbregethu, ac, i ryw fesur, yn cydlafurio yn nheyrnas ac amynedd Iesu Grist, eto nid oeddwn mewn un mesur yn *dysgwyl* am dano mewn modd mor neillduol a chyhoeddus, yr hyn sydd yn ei wneuthur i mi yn fwy melus a derbyniol.

"Gyda golwg ar eich *deisyfiad*, nis gallaf, ar hyn o bryd, ac mor fuan, ac ni ddysgwyliwch i mi, ddywedyd dim amgen nag y bydd i mi ei gymeryd i ystyriaeth. Mae y cam yn un pwysig, peryglus, ac yn cynnwys llawer o gyfrifoldeb; ac oni buasai i'r annogaeth iddo ddeillio oddiwrth gorff mor wybodus ac anrhydeddus, ni fuasai un dyn pwyllog ac ystyriol yn cymeryd nemawr sylw o hóno. Fel y mae, addefaf yn rhwydd ei fod yn rhwym o sylw difrifol. Os gellir bod o wasanaeth i achos y Gwaredwr *drwy y wasg*, diogel yw dyweyd mai hwn yw y gwasanaeth mwyaf effeithiol, cyffredinol, a pharhäus. Fe dderfydd llefaru o'r pulpud gan y pregethwr mwyaf ei dalentau, a meithaf ei oes. Fe dröir i ddystawrwydd y pereiddiaf ei sŵn,

a'r uchaf ei gloch; ond os bydd yn gallu rhoddi gair i'r wasg, fe all fod trwyddi hi 'wedi marw, yn llefaru eto.' Drwy hyn mae yn dda genyf glywed fod rhai o'm brodyr Cymreig yn parotôi i ddyfod allan yn y llwybr hwn. Pob goleuni, a nerth, a llwyddiant iddynt!

"Anwyl Frodyr, derbyniwch fy niolchgarwch; a thra y byddoch chwi yn cydymdeimlo â mi, minnau a weddïaf am iechyd a nerth i hwithau. Mae *corff* hwylus a nerthol yn hanfodol yma, ac mae yn debyg y bydd hi felly byth. Nid heb reswm gofynol y bydd corff yr adgyfodiad yn cael ei 'gyfodi *mewn nerth*.'

"Wyf, anwyl Frodyr,

"Yr eiddoch,

"Yn Nghrist Iesu ein Harglwydd,

"JAMES RICHARDS."

Dylid crybwyll, modd bynag, i Mr. Richards ysgrifenu dau gofiant bychan, un o ba rai sydd yn awr o'n blaen. Yr ydym wedi methu a llwyddo i gael gafael yn y llall, ac nis gwyddom pa bryd ei cyhoeddwyd. Ysgrifenwyd y cofiant sydd yn awr ar ein bwrdd yn y flwyddyn 1831. Mae yn cynnwys hanes bywyd dyn ieuanc a duwiol iawn o'r enw William Nicholas, yr hwn oedd yn aelod o eglwys y Bedyddwyr yn Abergwaen; a chyhoeddwyd y buchdraeth bychan, cryno, hwn, yn benaf, gallem feddwl, er bûdd ieuenctyd, a gellid yn rhwydd ei droi yn draethodyn i'w roi yn llaw deiliaid yr Ysgol Sabbothol ag a fyddai o les mawr iddynt. Mae yr un ysbryd meddylgar, tyner, ac efengylaidd, yn rhedeg trwy y cofiant bach hwn ag oedd mor amlwg yn holl bregethau Mr. Richards. Yr ydym yn cael ein temtio i ddyfynu ychydig o frawddegau yn nechre y bywgraffiad, y rhai a alluogant ein darllenwyr i ffurfio barn am arddull yr awdwr o feddwl ac ysgrifenu, pan nad oedd eto ond pur ieuanc.

"Y mae rhan fawr o ysgrifeniadau lliosog ein hamser ni mewn agwedd goffadwriaethol; a thebygol yw y gall pawb ag sydd yn rhoddi eu hunain i ddarllen a myfyrio, ddwyn tystiolaeth o brofiad a defnyddioldeb y fath gyfansoddiadau. O'r dull hwn o ysgrifenu mae genym esiamplau boreu, a'r cyfryw yn fawr eu hawdurdod, wedi eu sylfaenu ar y rheswm uchaf, a'u pwrpasu i'r dybenion mwyaf haelionus. Yr wyf yn cyfeirio at Fywgrffiadau y Bibl, y rhai sydd yn gwneyd i fyny ran fawr o'r Ysgrythyrau sanctaidd, ac wedi eu cyfansoddi trwy gynnorthwy ac o dan olygiaeth y Goruchaf ei hun, a hyny er addysg i ni, ar ba rai y daeth terfynau yr oesoedd. Y mae bywgraffiadau yn gwasanaethu yn rhyfeddol i berffeithio dyn mewn profiad, gwybodaeth, a dedwyddwch; a phe na buasai y dull hwn o ysgrifenu erioed wedi ei fabwysiadu, a chofiaint wedi eu gwneuthur, ni fuasai yr amser a aeth heibio yn gweinyddu dim i'r un presennol; ac felly, plant fyth fuasai dynion, a dechreu byth a fuasai y byd. Ond y mae cofiant yn gwneyd yr ymadawedig yn esiampl *oesol*, a'r marw i lefaru eto.

"* * Trwy gofiant ffyddlawn a chywir, fe gyfodir y marw o lwch angeu—fe roddir bywyd yn ei waed, ac anadl yn ei ffroenau, nes y bydd fel cynt; ond yn fwy ac yn hwy yn yr amlwg. O'r blaen nid oedd yn weledig ond i ychydig, yn awr i luoedd. * *

"Hefyd, y mae cofiaint yn gwneuthur yr amser a aeth heibio i weinyddu i'r un presennol—yn gosod gwerth mewn tymmor nad yw mwyach yn eiddo i ni—a thymmor na fu yn eiddo i ni erioed. Y mae amser yn cael ei fesur i ni yn debyg i'r modd y mae y meddyg yn darparu ei foddion i'r claf, sef wrth y defnynau; felly amser, wrth fynydau—nid oes genym ond llai na mynyd ar unwaith; y mae un wedi pasio, a'r llall heb ddyfod—tragywyddoldeb sydd yn ôl ac ymlaen. Digon priodol yw cymharu amser i ynys fechan yn nghanol y môr; nid oes un tir i sefyll arno; os camu a wnawn o'r terfyn bychan, tywyllwch a gwagder sydd o'i amgylch. Ond y mae llwybr gan yr enaid o greu goleuni yn nghanol y caddug, ac arlwyo bwrdd o'r brasaf yn nghanol yr anialwch maith. Wrth edrych yn ôl trwy'r cyfrwng dan sylw, fe wêl amgylchiadau pethau, lleoedd, a dynion, gyda chymaint o bleser a bûdd â phe byddai y cyfan yn

llythyrenol; ie, trwy hyn y mae yn crëu byd hardd lle nad oes dim yn bodoli, ac yn gwneuthur yr oesoedd a aethant heibio fel pe byddent bresennol. Gwerthfawrogwn yr amser ymha un y cawsom ymddangos mewn bodolaeth; er mai pell ydyw pob peth oddiwrth fod yn berffaith, eto yr ydym ni wedi eu cael yn y man agosaf i berffeithrwydd, a ni sydd yn medi o ffrwyth myfyrdodau, adchwiliadau, a llafur poenus yr oesoedd gynt. Felly y mae y dull hwn o ysgrifenu yn mawr ychwanegu trysor ein gwybodaeth, trwy ei fod yn dwyn yr amser a aeth heibio i weinyddu i'r un presennol, ac yn gwneyd pob peth yn eiddo i ni. Rhaid felly ydyw ei fod yn ddefnyddiol. Ond wrth siarad felly am fuddioldeb y fath gyfansoddiadau, dylem yn neillduol gadw ein golwg ar eu gwrthddrychau—yn ol y Bibl, y *cyfiawn* sydd i gael coffadwriaeth oesol (Salm cx. 6), a'i goffadwriaeth ef yn unig sydd fendigedig (Diar. x. 6)."

Ond os na chyhoeddodd Mr. Richards trwy y wasg ond y peth nesaf i ddim, fe ysgrifenodd lawer. Yr oedd yn ysgrifenu braidd y cwbl a ddywedai yn gyhoeddus, nid yn unig ei bregethau, ond hefyd ei anerchiadau mewn mân gyfarfodydd ag y byddai galwad arno i fyned iddynt. Gadawodd ar ei ol ddegau o lyfrynau wedi eu llanw â'i bregethau. Mae rhai o honynt yn feithion, ac wedi eu hysgrifenu yn fanwl; a'r oll yn bur ofalus, ac fel y bwriadai eu traddodi. Fel y crybwyllasom, trwy garedigrwydd ei fab hynaf,—Mr. Thomas Richards, Pontypridd,—yr ydym wedi cael y bûdd a'r pleser o ddarllen nifer mawr o'r cyfansoddiadau rhagorol a gwerthfawr hyn. Yr ydym yn edrych ymlaen gyda hyfrydwch at eu gweled mewn argraff. Credwn y byddant yn symbyliad newydd i'n lliaws pregethwyr, ond iddynt eu darllen; ac y gwelir ynddynt gynlluniau da i'w hefelychu. Maent yn ddarllenadwy iawn, yn gymaint felly â "*Quiet Resting Places*" Alexander Raleigh, ac y mae ymron gymaint o newydd-deb *(freshness)* yn perthyn iddynt ag sydd yn nodweddu pregethau y diweddar Fredrick William Robertson, o Brighton. Maent hefyd yn llawn o'r ysbryd duwiolfrydig sydd yn lefeinio ysgrifeniadau y Puritaniaid; ac y mae yn amlwg fod eu hawdwr wedi ei fedyddio â'r tân Methodistaidd. A'r hyn fydd yn fantais annhraethol iddynt pan yr ymddangosant trwy'r wasg, nid ydynt yn dyoddef nemawr wrth golli eu traddodwr, fel eiddo amryw ag y gallem eu nodi. Nid oedd Mr. Richards mewn un modd yn draddodwr anhapus. Er ei wendid, ac er nad oedd ei lais y mwyaf soniarus; yr oedd naturioldeb rhyfeddol yn y traddodiad, ac yn ei holl ymddygiad yn yr areithfa, fel yr oeddech ar unwaith yn teimlo mai dyn yn ei le ydoedd yn y pulpud, a chyda'r gwaith i'r hwn y galwyd ef pan yn pregethu; yr oedd rhywbeth swynol hefyd yn ei lais, a rhoddai ambell floedd fyddai yn bur darawiadol ac effeithiol: yr oedd yn y deheurwydd a'r ystwythder llednais gyda pha un yr ymgymysgai ei fysedd â dalenau y gyfrol ysbrydoledig arwyddlun amlwg o'i gymhwysder i'w swydd sanctaidd.

Ymaflai yn ei destun yn naturiol a deheuig; a chyda llaw, crybwyllwn fod rhywbeth gwir hapus yn ei ddewisiad o destynau. Ni fyddai un amser yn taflu allan ei holl nerth i'r rhagymadrodd; ond megys rhedegwr call, yn gyntaf ennillai ei wrês, ei wrês i feddwl yn gystal ag i draddodi. Mae yn rhaid wrth wrês i *feddwl* y bregeth yn gystal ag i'w thraddodi yn dda. Y rheswm paham y mae cymaint o wrhydri meddyliol yn cael ei gyflawni ar y ddau ddydd olaf o'r wythnos ydyw, y cynhyrfiad sydd yn ymgodi yn meddyliau y rhai sydd yn byw ar lafur eu henaid wrth gofio fod y Sabbath yn ymyl. Y mae gwrês calon yn blaenllymu y

deall. Y mae cariad hyd yn nôd yn cydlawenhâu â'r gwirionedd. Gwyddai Mr. Richards hyn yn dda. Am hyny ni ddechreuai ei bregeth mewn brawddeg orchestol, yn cynnwys syniad pell oddiwrth ei destun, ac yna gweithio ei ffordd yn gywrain at bwnc y geiriau dan ei sylw. Ond byddai brawddegau cyntaf ei bregeth naill ai yn egluro iaith y testun, neu yn clirio'r llwybr at y pwnc, neu ynte yn amcanu i gynhesu calonau ei wrandäwyr at y gwirionedd y bwriadai ymdrin âg ef. Meistrolai iaith ei destun. Yr oedd yn bur hoff o'i Destament Groeg, beth bynag am y Bibl Hebraeg. Nid yn unig mýnai ddeall y geiriau, ond hefyd cymerai fantais o honynt, ac yr oedd ei feddwl yn barod a rhwydd yn derbyn awgrymiadau oddiwrthynt. Wedi deall y geiriau, cloddiai i lawr drwyddynt i'r dyfnder, a dygai i fyny i wyneb y tir drysorau cuddiedig a gwerthfawr y gwirionedd. Nid disgyn ar y testun y byddai, a'i farchog rywsut, gan ddyweyd rhywbeth am dano ac o'i amgylch, fel hen frawd syml o bregethwr unwaith a adwaenem, yr hwn, ar ol rhagymadroddi am ryw bum' neu ddeng mynyd; a ddywedai wrth ei gynnulleidfa, "Wel, yn awr, ni a ddisgynwn ar gefn y testun;" ac ar gefn y testun yr arosai, gan ei farchog yn bur drwsgl. Ond am y gŵr anwyl yr ydym yn ysgrifenu am dano, elai i mewn i'w destun, a dygai allan o hóno bethau newydd a hen. Yn nghyfansoddiad ei bregeth, yr ydym yn gweled ôl darllen, ac y mae y pregethwr yn gwneuthur defnydd da o'r hyn y mae wedi ei ddarllen ac yn ei wybod. Ac felly yr ydym yn cael nad ydyw mor gwbl ymddibynol ar y Mynegair, er ei fod yn bur hoff o'r cydymaith gwasanaethgar hwnw, âg oedd ei gyfaill a'i hen gymydog o Abergwaen. Yn mhregethau James Richards y mae beirniadaeth dda, ac athroniaeth bur, a gwybodaeth gyffredinol ëang, yn gwasanaethu ac yn cael eu dwyn dan dreth i'r efengyl. Felly yr oedd y pregethwr gwir fawr hwn yn efengylydd gwirioneddol a thrwyadl. Pan yn egluro teyrnas nefoedd, yr oedd yn efengylu tangnefedd; pan yn dysgu ei wrandäwyr yn *mhethau* yr efengyl—yn *y pethau,* fel y dywedai—yr ydoedd yn pregethu Crist yn Geidwad i bechadur. Mae yn amlwg mai ei brifair fel gweinidog ydoedd yr eiddo Paul, "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." I egluro y sylwadau uchod, ac i roddi i'r darllenydd flaenbrawf o'r wledd yr ydym yn hyderu sydd yn aros y genedl pan ddaw y llyfrynau ysgrifenedig allan yn gyfrolau hardd mewn argraff, ni a ddyfynwn ychydig o esiamplau o'r ysgrifau yr ydym ni wedi cael cipolwg arnynt.

Dyma ei frawddegau cyntaf yn ei bregeth ar Dad. iii. 20, "Wele yr wyf yn sefyll wrth y drws, &c.:"—

"Os cymerir y testun hwn yn ei feddwl bwriadol, ei ystyr briodol, fe welir nad oes dim rhyngddo â gweinidogaeth yr efengyl at bechadur anedifeiriol. Fe fyddai ei ddefnyddio fel gweinidogaeth at yr annuwiol yn ei ŵyrdroi ac yn dangos diffyg mawr mewn deall egŵyddorion deonglu. Nid pobpeth a rhywbeth ydyw gair Duw. Mae i bob adnod a phob cysylltiad feddwl, *un* meddwl; a rhyddid pechadurus yw rhoddi iddynt feddwl arall."

Wrth sylwi ar y geiriau yn Col. iii. 14, "Ac am ben hyn oll, gwisgwch gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd," y mae yn esbonio fel hyn:—

"A *thros hyn oll,* felly y cyfieitha Macknight. Mae yn fwy eglur, sylfaena ar y golygiad, mai cariad yw'r dilledyn uchaf yn nhrwsiad y gwir Gristion. Sonir yn

flaenorol am *wisgo* ymysgaroedd trugareddau, gostyngeiddrwydd, addfwynder, &c. Dyna *ran* o drwsiad y gwir Gristion, ond nid y cwbl; felly yn y testun ychwanegir dilledyn arall, a dywedir, 'A thros hyn oll, gwisgwch *gariad*,' neu 'ar hyn oll.'

"Mae Dr. Boothroyd yn ei roddi fel hyn, 'Ac heblaw hyn oll.' Mae'r pethau blaenorol yn bethau pwysig ac angenrheidiol, ond nid y cwbl, 'Heblaw hyn oll, gwisgwch gariad.' I mi, mae'r darlleniad yna yn *well*, yn well na'r un cyffredin, 'Ac am ben hyn oll,' ac yn well na darlleniad Macknight. Wel, fel yna y bydd i ni ei gymeryd, 'Ac heblaw hyn oll.'"

Mewn pregeth ddorus a chynnwysfawr ar Act. xxviii. 23, "Ac wedi iddynt nodi diwrnod iddo, llawer a ddaeth ato ef i'w letty, i'r rhai y tystiolaethodd ac yr eglurodd efe deyrnas Dduw, gan gynghori iddynt y pethau am yr Iesu, &c.," darllenwn y sylwadau canlynol:—

"Am ddarlith, araeth, neu bregeth fawr yr apostol yn y cyfarfod maith hwn, nid oes genym ond y testun, ac *yma* nid oes ond y *materion* y bu yn traethu arnynt, sef '*Teyrnas Duw*' a'r '*Pethau am yr Iesu*,' ynghyda'r dull gwahanol o lefaru am danynt, *egluro* 'Teyrnas Dduw,' a '*chynghori*' iddynt y pethau am yr Iesu. Gyda golwg ar deyrnas Dduw, yr oedd ei wrandäwyr yn yr *anwybodaeth* a'r *tywyllwch;* felly y peth oedd eisieu oedd *egluro*. Gyda golwg ar yr Iesu, yr oedd ei wrandäwyr yn *amheus* ac *anghredinol;* felly, y peth oedd eisieu oedd *cynghori*—darbwyllo neu berswadio. Nid yw 'cynghori' ddim yn gyfieithiad da o πειθων y gair gwreiddiol, nac yn ateb meddwl anghrediniol y bobl hyn. *Persuading* yw'r gair Seisonig. Ac yn y Corinthiaid cyfieithir ef, 'Yr ydym ni yn perswadio dynion.'"

Mewn cyfeiriad at weinidogaeth Ioan Fedyddiwr yn yr un bregeth, sylwa:—

"Yr oedd Esaïah a Malachi wedi eu dysgu i gyfeirio at y weinidogaeth hon, ac hebddi hi ni fuasai un Iuddew, ac ni *ddylem* ninnau, dderbyn yr Iesu fel Messïah Duw Golwg isel oedd gan Ioan arno ei hun, 'Myfi yw llef un yn llefain.' Nid myfi yw Crist, ac nid myfi yw'r *prophwyd*. Peidiwch meddwl yn fawr am danaf fi. Myfi yw llef. 'Does dim bywyd mewn *sŵn;* 'does dim iachawdwriaeth mewn *llef*. Wel, llef wyf fi—rhyw sŵn. 'Ar fy ol i y mae gŵr yn dyfod.' Nid rhyw lef yn darfod ar glustiau'r byd ydyw hwnw. Ond llef wyf fi—rhyw sŵn yn galw sylw at y sylwedd. Ond er mor isel yr oedd Ioan yn edrych yn gymharol arno ei hun, yr oedd ef yn dorch hanfodol yn nghadwen fawr y brophwydoliaeth, ac yn brawf eglur yn nghorff y profion.'

Ymhellach ymlaen yn yr un bregeth, pan yn sylwi ar y geiriau bythgofiadwy a lefarwyd yn Eden, "Efe a ysiga dy ben di, &c.," dywed y pregethwr:—

"Nid amcan y dywediad yw dangos dyoddefaint y Messïah, a'r lles deilliedig i ddynolryw, ond dangos beth oedd i ddiafol i'w ddysgwyl fel taliad am ei gyfrwysdra euog, a'i ymosodiad ar y teulu gwirion oedd mor fawr yn ffafr Duw. Yr ydym ni, un ar ol y llall, yn galw yr ymadrodd yn *addewid*. Gymaint o sôn sydd wedi bod, ac yn bod, am yr *addewid* yn *Eden;* ond yn wirioneddol mae'r ymadrodd Dwyfol lawer yn fwy o *fygythiad* nag ydyw o *addewid*. Gwir y mae yn arwyddo rhyw anfeidrol dda; ond fel bygythiad y rhoddwyd, a bygythiad yw ef. Bygythiad y byddai i'r *pen* mawr, goleu, a chyfrwys hwnw; y *pen* a fu'n cynllunio i ddyrysu Duw a damnio dyn; y *pen* a roes i ddiafol y fath fuddugoliaeth lawen ar Grëawdwr ffyddlawn a chrëadur dedwydd; y *pen* a aeth tu hwnt mewn golwg i wybodaeth a doethineb Duw, gael ei ysigo. O, yr oedd yr archelyn yn ymffrostio yn ei ben! 'Doedd ganddo un *galon*, ond yr oedd ganddo *ben*. Ond pen i gael ei ddarostwng i'r llwch yn uniongyrchol. 'Am wneuthur o honot hyn, melldigedicach wyt, &c. Efe a ysiga dy ben di—dattod dy weithredoedd,' dymchwelyd dy holl ddyfeision, a'th boeni byth â phen briw."

Ychwanegwn un dyfyniad arall o bregeth ar un o eiriau yr Arglwydd Iesu pan ar y groes, "O, Dad maddeu iddynt." Sylwir yma ar ddau beth, Pechod mawr, ac Eiriolaeth fawr. Gyda golwg ar yr eiriolaeth, nodir, yn gyntaf, Ei chymhwysder; ac, yn ail, Ei chyd-darawiad:—

"2. Yr eiriolaeth hon yn ei chyd-darawiad. Mae ynddi gyd-darawiad âg Ysbryd dy Mab. Nid dyweyd ei neges yn unig yr oedd ef pan ya dyweyd, 'Ni ddaethum i'r byd i ddamnio y byd,' ond dyweyd ei ysbryd haelionus, a dyweyd ei galon gig. Nid oddiar ei awdurdod yn unig y rhoes efe y gorchymyn i'w ddysgyblion am 'faddeu i ddynion eu camweddau,' ond oddiar y meddwl a deimlai efe ei hun. 'Ni waedda, ni ddyrchafa, ac ni phair glywed ei lef yn yr heol, &c.' Nid rhyw ffordd ganddo oedd hyna, ond dyna oedd ef. 'Fel dafad i'r lladdfa yr arweiniwyd ef, fel oen dan law ei gneifiwr yn fud.' Nid ei ffordd ef oedd hyna chwaith. O, na, dyna *oedd* yr anwyl Un. Cariad, trugaredd, ac ewyllys da. O! yn debyg iddo! Yn awr mewn perffaith gyd-darawiad â hyna oll, gwelwch ef ar y pren,—'O Dad, maddeu iddynt.' Mae nhw yn dy drin di yn arw, fy Mab. 'O Dad, maddeu iddynt.' Os ennynodd fy nigofaint yn erbyn Miriam ac Aaron am ddim ond llefaru yn erbyn fy ngwas Moses, pa fodd y gallaf beidio digio, a damnio dy leiddiaid di, fy Mab. 'O Dad, maddeu iddynt.' Fe fydd arbed y fath rai yn *stain* byth ar fy ngorsedd i, fy Mab. Mae fy nghalon i yn maddeu iddynt, ac yn rhoi ei gwaed i olchi y *stain* i bant. 'O Dad, maddeu iddynt.' O ysbryd! O esiampl! fel y dilynem ei ôl ef.

"Mae ynddi gyd-darawiad â gwaith presennol y Mab. Beth oedd hwnw? Dwyn ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren. Bod yn felldith drosom. Dyrchafu oddiar y ddaear i dynu pawb ato ei hun. Y gronyn gwenith yn syrthio i'r ddaear i ddwyn ffrwyth. Un yn marw dros y genedl. A chynnwys y cwbl—rhoddi i lawr bridwerth, gwerth y pryniad—yr annherfynol iawn—y rheswm dros faddeu pechodau rif y gwlith. Yn awr fe wyddai'r Messïah ei neges, fe wyddai ei waith, fe wyddai ei swydd, ac mewn hyfryd gyd-darawiad dyna fe'n gweddïo—'O Dad, maddeu iddynt.' Mi wn, O Dad, mai cyfiawn wyt; mi wn, O Dad, fod uffern fawr ei hun, dy lywodraeth ëang, a'th farnau oll, yn anfeidrol gyson â holl ogoniant dy enw. Ond, 'O Dad, maddeu iddynt.' Paid cosbi neb sydd o fewn yr amgylchiad o fy nghosbi i. Na fydded neb farw sydd â llaw na bŷs yn sylfaenu bywyd, ac na fydded agor ffordd i'r nef yn achlysur i droi neb i uffern. Na fydded damnio neb yn dwyn yr un *date* a'r Iawn. O anfeidrol gysondeb gwaith a gweddi y Messïah mawr!

"Mae yn yr eiriolaeth gyd-darawiad hefyd â swydd ddyfodol y Mab. Chwi wyddoch beth oedd hono. Fe'i ceir yn y gwahanol eiriau, 'Gweinidog y gysegrfa.'—'Ymddangos ger bron Duw drosom ni,'—'Eiriolwr gyda'r Tad,'—'Yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw, yr hwn hefyd sydd yn erfyn drosom.' Mae holl waith grasol y Mab hyd ddydd y farn fawr, a ffynnon fawr holl ffrydiau diball trugaredd, i'w cael yna, 'Eiriolwr gyda'r Tad.' Ond 'doedd yr archoffeiriad ddim yn eiriolwr nes myned i'r sancteiddiolaf; 'doedd e ddim yn eiriolwr wrth yr allor, a thra yr oedd ei fysedd yn trin yr aberth; ond mae felly yma. Yr oedd calon y Mab mor lawn o'i swydd ddyfodol fel y mae yn dechreu arni cyn myned i fan uchel ei golygfa hi. Eiriolwr gyda'r Tad, ïe, ac Eiriolwr cyn myned ato—gweinidog y gysegrfa cyn myned iddi. 'O Dad, maddeu iddynt.' Yr wyf yn derbyn dy Iawn di, fy Mab. Derbyn fy eiriolaeth hefyd; gwir, 'dwyf fi ddim yn y cysegr nid o waith llaw, ond yr wyf yma ar y pren yn marw; ond eto 'dwy'n tòri dim ar ddeddf y cysgod wrth eiriol ar y pren; mae'r gwaed wedi blaenu, mae yn dwymn yn y cawg aur.' 'O Dad, maddeu iddynt.' 'Rwyf am ddangos i'r holl rai euog fy swydd hyd ddiwedd amser. 'O Dad, maddeu iddynt.' Dangos dithau i'r holl oesau dyfodol trwy faddeu i'r lleiddiaid hyn beth all Iawn ei wneyd. O gyd-darawiad hyfryd! 'Rwyf yn darllen ei holl fywyd nefol ef yn y weddi hon—'Byw bob amser i eiriol drostynt hwy.'"

Bellach rhaid i ni gyflwyno i'n darllenwyr fraslun bur o hanes bywyd Mr. Richards. Fe ddechreuodd ar y gorchwyl hwn ei hun, "er mwyn ei deulu, &c.," fel y dywed yn ei goflyfr. Y mae yr arwyddnod, &c., yn awgrymu ei fod yn tybied y byddai yr hanes yn debyg o gael ei adrodd i liaws heblaw aelodau ei deulu. Ond fe'i symudwyd cyn gorphen, ïe, ymhell cyn gorphen y gwaith hwn; yn wir nid oedd ond wedi newydd ei ddechreu. Ganwyd ef yn Llanddarog, Sir Gaerfyrddin, ar yr 28ain o Ionawr, 1804; felly nid oedd ond 63 oed pan fu farw. Yr oedd ei daid, o du ei fam, yn Ysgotiad, a'i nain o'r un tu yn Saesones, ac yn gymaint mai Cymro oedd ei dad, yr oedd gwaed tair cenedl ynddo; "heb, fe allai, ragoriaethau un o honynt," medd efe yn ostyngedig wrth

grybwyll hyn. Nid ydym yn ddigon cyfarwydd â neillduolion arbenigol y tair cenedl, ac nid oeddem yn adnabod Mr. Richards yn ddigon da i allu dyweyd ymha beth yr oedd yn debyg i'r Ysgotyn, ymha beth yn gyffelyb i'r Sais, ac ymha beth i'w gymharu i'r Cymro; hyny yw, i un radd o fanylder. Fel yr Ysgotyn, nid ar unwaith y gellid ei adnabod, ac nid yn frysiog y byddai efe yn ymgydnabyddu â neb. Ond wedi ffurfio y gyfeillach, yr oedd yn colli *reservedness* yr Ysgotyn, ac yn llawn o symledd y Cymro—arllwysai allan ei holl fynwes i'w gyfaill. Ychydig iawn oedd nifer ei gyfeillion; a rhaid i'r rheiny feddu cyfran helaeth o'r un ysbryd âg ef ei hun cyn y gallasent fod felly. Yr ydym wedi clywed llawer o son am *honour* y Sais; wel, meddai Mr. Richards y nodwedd hwn; yr oedd yn ddyn trwyadl onest. Os anfoddlonid ef, dangosai hyny; o'r tu arall, pan yn cael ei foddhâu, gwelid hyny yn ei wyneb. Nid oedd y dyn a fynai fwynhâu difyrwch ar draul gwirionedeb neb. Yr oedd yn berffaith ddidwyll; a'r didwylledd naturiol hwn wedi ei sancteiddio ydoedd y diffuantrwydd difrifol oedd yn ei nodweddu pan gyda'i waith hoffusaf o bregethu yr efengyl. Meddai hefyd ddyfalbarhâd Ysgotaidd, ond wedi ei nawseiddio â gwres Cymreig. Fel y crybwyllwyd o'r blaen, yr oedd yn ysgrifenu ei bregethau yn fanwl, a hyny trwy y blynyddau, a pharhäodd i ysgrifenu pregethau newyddion a llafurus hyd ddiwedd ei oes. Nid dyfalbarhâd mewn gwaed oer oedd yr eiddo ef; o'r tu arall, nid oedd yn ymddibynu ar symbyliadau cynhyrfus. Fel y profa ei bregethau mai nid gweithfa oer ond ystafell gynhes oedd efrydfa Mr. Richards, ac mai nid peiriant yn gweithio wrth reol, ond dyn meddylgar a thwymngalon ydoedd efe yn ei ystafell efrydu, felly yr ydym yn barnu fod ei ddyfalbarhâd yn cyfuno penderfyniad yr Ysgotyn â gwresogrwydd y Cymro. Modd bynag, gellir dyweyd un peth gyda sicrwydd fod James Richards, Pontypridd, yn *pregethu* nid fel Ysgotyn ac nid fel Sais, ond fel Cymro. Nid ydym am fod mor fympwyol a hunanol â hòni fod pregethu a phregethwyr Cymru yn rhagori ar eiddo Lloegr a'r Alban. Ond y mae rhywbeth mae yn anhawdd ei ddarnodi fe allai, yn y pulpud Cymreig na welir yr ochr arall i'r Hafren, nac ychwaith y tu draw i'r Tweed; ac yr oedd y *rhywbeth* hwnw yn amlwg yn mhregethau Mr. Richards.

Ond i ddychwelyd at y braslun o'i hanes. Bedyddiwyd ef pan nad oedd ond ychydig dros ddeuddeg oed, a dechreuodd bregethu ymhell cyn iddo orphen tyfu. Pregethodd yn Llangefni, Sir Fôn, mewn cymanfa yn y flwyddyn 1820, pan nad oedd ond 16eg oed. Derbyniodd ei addysg athrofäol yn Bradford, o dan ofal Dr. Steadman. Pan yn cael ei dderbyn i'r sefydliad hwnw, yr oedd yn rhaid iddo barotôi pregeth i'w chyflwyno i sylw yr athraw a'r pwyllgor. Mae yn ymddangos fod ganddo gryn feddwl am y bregeth a gyfansoddodd erbyn yr achlysur; ond sylwai Dr. Steadman y gallasai fod wedi ei chyfansoddi gan Unitariad. Crëodd y sylw hwn gyfnod newydd yn hanes ei feddwl, a pharodd i'w bregethu ar unwaith fod yn fwy cadarnhäol ac efengylaidd. Cofus genym am ymddyddan pur ddorus a gymerodd le unwaith rhwng Prifathraw un o Golegau Lloegr â gŵr ieuanc o bregethwr ar ei dderbyniad i'r athrofa hono. Yr oedd yr efrydydd wedi danfon pregeth i'r pwyllgor yn ol y rheol. Dywedai yr Athraw, "Yr oedd y bregeth yn bur ddorus, ond yr oedd yn amddifad o athrawiaeth yr efengyl." Ateb-

odd y dysgybl, "Yr oeddwn i yn deall, Syr, oddiwrth y rheol, mai pregeth ymarferol a ddysgwyliech chwi a'r pwyllgor." "Gwir," meddai yr Athraw duwiol; "ond pa beth sydd mor ymarferol â chroes Iesu Grist?" hyny yw, Pa bregethu sydd mor ymarferol â phregethu Crist, a hwnw wedi ei groeshoelio? Agorwyd llygaid a thynerwyd calon y dyn ieuanc; bu yr ymddyddan yn fendith annhraethol iddo, rhoddodd gyfeiriad newydd i'w feddwl, a gadawodd effaith barhäol a sancteiddiol nid yn unig ar ei fyfyrdodau, ond hefyd ar ei fywyd. Rhyw ddylanwad felly a gynnyrchodd sylw Dr. Steadman ar feddwl Mr. Richards.

Bu am ddwy flynedd yn genadwr cartrefol yn Rhuddlan; pa un ai cyn neu ar ol yr amser y bu yn Bradford, nid ydym yn sicr. Yn y flwyddyn 1825, ymsefydlodd yn Abergwaen, Sir Benfro, lle y bu yn gweinidogaethu yn ffyddlawn am yn agos i dair blynedd ar ddeg, hyd fis Mehefin, 1838, pryd y derbyniodd alwad oddiwrth eglwys barchus y Bedyddwyr yn Mhontypridd, ac yr ymsefydlodd yn y dref hono. O'r dyddiad hwn hyd ddiwedd ei oes, cofnododd yn fanwl ei destynau, rhif ei bregethau, y lleoedd y pregethai, yr achlysur, a llïaws o ddygwyddiadau dorus a phwysig mewn cysylltiad â'i weinidogaeth.

Dyma gynllun y cofnodau:—

| *Lleoedd.* | *Achlysur.* | *Amser.* |
|---|---|---|
| Pontypridd | | 1838. Mehefin 17eg. |
| Trefforest | | " Gophenaf 1af. |
| Pontypridd | Cymundeb. Diaelodi 4 | " " 8fed. |
| Eto | Angladd plentyn S. Davies | " " 31ain. |
| Eto | Canol mis | " Tachwedd 12fed. |
| Capel Sion, Merthyr | | 1839. Mawrth 31ain. |
| Llantrisant | Cymundeb | 1841. Chwefror 21ain. |
| Pontypridd | | " Rhagfyr 27ain. |
| Eto | Cymundeb | 1842. Gorphenaf 3ydd. |
| Eto | | 1844. " 14eg. |
| Casnewydd ar wysg—Capel | | 1867. " 28ain. |
| y Methodistiaid | | " " " |

| *Testun.* | *Nifer.* | *Dygwyddiadau.* |
|---|---|---|
| Ioan x. 27. | 1 | |
| Ioan xv. 10. | 6 | Cyfarfod hytrach hwylus. |
| Dad. xxii. 14. | 9 | Cyfarfod da iawn i'r gwrandäwyr. Diolch i Dduw. |
| Anerchiad. | | Rhesymau dros gadwedigaeth babanod meirw. |
| Anerchiad ar Fedydd. | 60 | Cyfarfod hynod werthfawr wrth fedyddio. |
| Col. i. 27. | 121 | Oedfa werthfawr; teimlo llawer o rym corfforol a hwylusrwydd meddwl. |
| Hanes Bedydd. | 338 | Yr oedd gwyneb Duw heddyw. |
| Hosea xiv. 1—3. | 421 | Cyfarfod anarferol o hwylus. |
| 1 Cor. xiii. 13. | 458 | Pregethais oddiar y testun hwn heb ysgrifenu, yr hyn i mi sy'n beth anarferol. |
| Luc xxii. 31, 32. | 802 | Teimlad o wendid. Pregethu yn faich. |
| 1 Ioan v. 20. | | |
| Act. xxviii. 23. | 2867 | |

A dyna y cofnodiad olaf. Gwelir felly y nifer o weithiau y pregethodd wedi ymsefydlu yn Mhontypridd. Barnai efe ei hun ei fod wedi pregethu dwy fil o weithiau, a rhai cannoedd drosodd, cyn myned i Forganwg. Yn anffortunus, ni chadwodd gyfrif o'i lafur gweinidogaethol yn Abergwaen; dechreuodd wneyd hyny, ond trwy ryw anffawd methodd ei ddyfalbarhâd yn hyn o beth. Mae y cofnodiadau am ei lafur yn Mhontypridd yn dangos ei fod yn ddyn ffyddlawn i'w swydd fel pregethwr, ac y byddai yn *ymdrechu* i'w llanw, ac hefyd ei barodrwydd nid yn unig i weinyddu i'r praidd oedd dan ei ofal, ond hefyd i wasanaethu ei frodyr a'i gymydogion, a chynnorthwyo mewn codi achosion newyddion. Ni wnaeth y fasnach yr ymgymerodd â hi ymyryd ond ychydig iawn, os dim, â'i sefyllfa a'i waith fel gweinidog yr efengyl. Pan yn gwneuthur canwyllau i oleuo tai ei gymydogion, ni pheidiodd ei bregethau a rhoddi goleuni deallol ac ysbrydol i'w wrandäwyr. Dysgodd yn dda y wers pa fodd i wneyd y goreu o'r ddau fyd. Tra y deallai, fel yr hen efengylydd o'r Bala, nad allai Rhagluniaeth wneyd canwyllau, medrai ar yr un pryd, mor bell ag oedd ei iechyd yn caniatâu, ofalu am gydgynnulliadau ei frodyr. Heblaw ei ofal bugeiliol gartref, a'i wasanaeth achlysurol i'r enwad mewn cyfarfodydd blynyddol a'r Cyrddau Trimisol, &c., bu am dymmor yn gofalu mewn modd neillduol am yr achos yn Trefforest, a thros yr eglwys yn Llantrisant. Mae yn rhoddi hanes difyr am un o'i ymweliadau â'r lle olaf. Y dyddiad ydyw Mehefin yr 20fed, 1847, ar gyfer yr hwn mae yn ysgrifenu yn ei goflyfr:—

"Cyfarfod da. Pan yr oeddwn yn y dwfr â gŵr o Lanlaifach, tòrodd gwernen oedd yn tyfu wrth yr afon, a disgynodd hi, a phump neu saith o fechgyn oedd arni, i'r afon. Chwarddodd y dorf; ac edrychodd y bechgyn yn wirion yn yr afon hyd eu hanner. Yr unig dro o'r fath a welais i. Pe buaswn lathen nês ymlaen, buasai y wernen a'r bechgyn yn disgyn arnaf fi a'r bedyddiedig. Ni wnaeth y tro un niwed i'r achos nac i'm teimladau innau. Trwy y dydd cawsom lon'd capel i wrandaw, yr hyn na chawsom o'r blaen. Llwydd i'r achos yno! Diwrnod hir i'w gofio."

Rhoddodd i fyny ei ofal gweinidogaethol yn Carmel, Pontypridd, ar y 10fed o Gorphenaf, 1853. "Diolch," meddai, "am allu gwneyd hyn yn heddychlawn ac mewn cariad, ac nid cael fy *mwrw* ymaith, a'm *gwrthod*, fel rhai." Bu am rai blynyddau ar ol hyn heb ddal cysylltiad bugeiliol â'r un eglwys, ond parhäodd i roddi llawer o wasanaeth i Carmel, nes, ar y 3ydd o Fai, 1857, y derbyniodd alwad oddiwrth eglwys Lônyfelin, Caerffili, rhyw bedair neu bum' milldir o Bontypridd, ac yr ymgymerodd â gwasanaethu y lle hwnw. Llafuriodd yno am saith mlynedd. Am y tair blynedd olaf o'i oes, bu yn bregethwr teithiol, a gosodai ei hun yn agored i wahoddiadau oddiwrth ei frodyr yn Nghrist o bob enwad; ac felly yr ydym yn ei gael yn aml yn gwasanaethu mewn capelau ac mewn cyfarfodydd neillduol perthynol i'r gwahanol enwadau, yn enwedig y Methodistiaid Calfinaidd. Meddai Mr. Richards ysbryd catholig. Nid oedd yn hoffi neb enwadol, neillduol, a hunanol. Nid oedd cyfrinach rhwng ei enaid â na Methodist na Wesleyad, nac hyd yn nôd â Baptist; ond yr oedd yn caru pob Cristion, i ba enwad bynag y perthynai.

Mae ei sylwadau am ei frodyr yn y weinidogaeth yn bur ddorus ac yn werth eu hadrodd. Mae rhai o'r esiamplau canlynol ymhlith y "Dygwyddiadau" yn y coflyfr; yr ydym yn ddyledus am y lleill i

gyfaill iddo o lëygwr, sydd yn flaenor gyda'r Methodistiaid yn Nghaerdydd, yr hwn oedd yn ei edmygu yn fawr, yn ei garu yn anwyl, ac yn ei ddeall yn drwyadl. Yr oedd unwaith yn cydwasanaethu mewn Cyfarfod Blynyddol â'r Parchn. William Rees a D. Saunders, Liverpool, a dywed am danynt yn fyr, "Dau frawd anwyl, a phregethwyr galluog." Mewn man arall, y Parch. E. Matthews oedd yn cydweinyddu âg ef, a dywed, "Gŵr cryf a doniol yw efe." Yn Hydref, 1863, talodd ymweliad â Cwmafon, ac y mae yn cofnodi, "Cefais bleser mawr yn y lle â'r brodyr a'r eglwys yma. Mae fy anwyl frawd Rowlands yn weithiwr difefl, ac, yn llaw Duw, yn gwneyd lles mawr yma. Yr oedd cymdeithas fy hen frawd Daniel Davies, yr hwn sydd yn byw gyda Rowlands ei fab-yn-nghyfraith, yn hyfrydwch mawr i mi. * * * Mae efe wedi bod yn fwy llafurus a defnyddiol fel pregethwr efengyl Crist yn Neheubarth Cymru yn y deugain mlynedd diweddaf na neb arall." Yn agoriad Tabor, capel y Methodistiaid yn Ffynnondâf, yr oedd "Mr. Williams, Groeswen, sef Caledfryn, yn pregethu yn dda iawn gyda mi." Mewn cyfarfod blynyddol yn Merthyr, yr oedd y Parch. Mr. Williams, Hengoed, gydag ef "yn pregethu yn boblogaidd a blasus;" ac am ddau oedd yn cydbregethu âg ef mewn cyfarfod arall cyffelyb yn Nghasnewydd, dywed yn unig—"dau frawd anwyl." Wedi bod yn gwrando Dr. Edwards, Bala, yn Mhontypridd, ychydig flynyddoedd yn ôl, ac aethai o Gaerffili yno o bwrpas i hyny, dywedai wrth gyfaill—"Dyna ddyn yn byw yn y pethau, ac yn byw ar y pethau, ac yn pregethu y pethau." Pan y gofynwyd iddo unwaith beth oedd ei feddwl o Mr. Landels, Llundain, atebai, "Dyna un o brif bregethwyr Llundain; athroniaeth bob amser ganddo o dan dreth i'r efengyl." Ei air ynghylch yr hybarch dad o Dònyrefail ydoedd, "Dyna ddyn anwyl, a phregethu yr Iesu ar ei *galon*, gan gadw llawer iawn ar ei bregethau *yn* ei galon:" am y Parch. Nathaniel Thomas o Gaerdydd, "Dyna ddyn da, yn ymdrechu i wneyd da, ac yn pregethu yn dda:" am y diweddar Barch. James Rowe, Abergwaen, ei fab yn y ffydd (coffa da am enw y gŵr hwnw hefyd! mae yn dda iawn genym weled fod ei bregethau ar gael eu cyhoeddi; ond paham yn rhifynau?) "Gŵr yn *deall* yr efengyl, ac yn *deall* ei phregethu." Gofynwyd i Mr. Richards ryw dro, yn unig er mwyn clywed pa beth a ddywedai, beth feddyliai o'r hen frawd duwiol Edward Phillip, o'r Eglwys Newydd, atebodd, yn ol ei arfer, yn bwyllog a phwysleisiol, "Dyna *weddïwr mawr*, a phregethwr bach, ond yn un o'r mwyaf *am* GANMOL yr Iesu." Am un arall oedd wedi bod yn pregethu gydag ef ar un achlysur, dywedodd, "Ei fod yn ddyn galluog, o feddwl athronyddol iawn; ond nid oedd digon o Grist yn dygwydd bod yn ei bregethau y tro hwn:" ac am un arall, "Y mae yn fachgen o ysgolaig da, yn ddïau, a hynod ddiniwed; ond heb ddeall pregethu eto."

Fel yma y byddai bob amser yn siarad yn barchus am ei frodyr; ac fel prawf o ddiffuantrwydd ei ganmoliaeth i'r naill a'r llall o honynt, y mae amrywiaeth yr esiamplau uchod yn ddigonol. Pa mor isel bynag y dalent, ac er fod y cyfansoddiad yn anorphenedig, a'r traddodiad yn gyffredin ac anhapus, eto, os byddai y pregethwr yn amcanu yn dda, yn ceisio addysgu ei wrandäwyr, a gwneyd lles iddynt, ac yn ymdrechu derchafu enw yr Iesu, yr oedd Mr. Richards yn teimlo yn ddedwydd, ac yn gwrando yn dda, ac, os byddai achos, yn siarad yn barchus am y

cyfryw, ond heb wênieithu dim. Nid oedd lle i ronyn o wêniaith lochesu yn ei natur. Ac oblegid fod ei dymher yn hytrach yn gyflym, amlygai ei anfoddlonrwydd weithiau yn fwy brysiog nag ydoedd fanteisiol, ac felly, pan yn cael ei flino o dan bregeth, gwelid hyny yn rhy amlwg ar linellau ei wyneb. Yr oedd efrydydd yn gwasanaethu rhyw Sabbath yn ei le, ac yr oedd yntau gartref, ac yn gwrando. Yr oedd yn hoff o wrando efrydwyr, a chymerai bob cyfleusdra i hyny; a'r hyn fyddai yn swynol iddo ef wrth wrando efrydwr ydoedd canfod amcan meddylgar a da; nid oedd yn hoffi gweled yr hen a'r addfed yn yr ieuanc. Ond cafodd ei anfoddloni yn fawr y tro hwn; a gwnaeth y sylw awgrymiadol a ganlyn gyda golwg ar hyn,—"Yr wyf yn ofni yn fawr nad yw athrawon y colegau yn gofalu am wrando eu hefrydwyr yn gystal a'u clywed yn myned drwy eu gwersi."

Yr oedd mewn cymanfa unwaith, ac yn oedfa y "nos o'r blaen" yr oedd tri i bregethu. Gyda bod yr ail bregeth yn dechreu, gwelid Mr. Richards yn disgyn oddiar yr esgynlawr, ac yn troi o'r neilldu, ac yn cerdded ymaith oddiwrth y dorf; canfyddwyd ef gan gyfaill, yr hwn yn union a aeth ar ei ol. Wedi cyfarch, gofynodd y cyfaill iddo beth oedd yn ei feddwl am y dyn ieuanc oedd yn awr wedi pregethu? Atebodd yntau, "Y mae yn ddyn ieuanc gobeithiol, ac yn meddu cymhwysderau i fod yn bregethwr da; ond ofnwyf ei fod wedi cael cam wrth ei gymeryd o'r athrofa cyn pryd, ac yntau yn wàn i ddal derchafiad." "Beth am y bregeth sydd yn myned ymlaen yn awr?" ail ofynai y cyfaill. "Ni chawn gymaint â chernel drychfeddwl o'r dechreu i'r diwedd," oedd yr atebiad gofidus. Fel yma, yn ei berthynas â'i frodyr yn y weinidogaeth, fel, yn wir, ymhob cysylltiad, yr oedd efe yn cyfuno y parchus a'r gonest; nid elai i'r naill eithafion na'r llall; pan yn mynegu ei barch, gofalai fod yn onest; a phan yn amlygu ei onestrwydd, gwyddai y ffordd i fod yn barchus.

Nodwedd neillduol arall yn perthyn i Mr. Richards ydoedd ei hoffder arbenig o wrandäwyr da. Byddai gwyneb siriol gwradäwr, un yn mwynhâu ac yn gwerthfawrogi "y pethau," yn ei dynu allan, a hyny yn llawer mwy na chynhyrfiad cynnulliadau llïosog. Yr oedd un boregwaith yn pregethu i gynnulleidfa yn rhifo dim mwy nag un ar bymtheg o bersonau; ond yr oedd yn eu plith amryw o'r gwrandäwyr goreu ar y ddaear, a rhai o honynt yn bur adnabyddus iddo ef. Cyn dechreu pregethu dywedodd,—"Cynnulleidfa fach sydd yma yn awr; heno y bydd y dorf; ond fe ddichon fod yma gymaint o *sense* ag a fydd yma heno, ac ond i chwi geisio gwrando yn serchog, mi gâf fi bleser mawr wrth geisio pregethu." Aeth yn gyttundeb yn y man rhwng y gweinidog anwyl â'i wrandäwyr, a chafwyd un o'r oedfäon mwyaf hwylus a gwlithog a fuwyd ynddi erioed; a daeth y pregethwr allan yn ei holl nerth, ac ymhob ystyr yn ei wisgoedd goreu. Gwelir yn y sylw uchod, fel y gellid gweled yn ei lygad, ond edrych i mewn iddo yn graffus, fod yn Mr. Richards duedd at watwareg *(sarcasm)*. Mae yr hanes canlynol yn enghraifft eglurach i ddangos y nodwedd hon. Yn y cyfarfod eglwysig yn yr hwn y rhoddodd i fyny ei ofal bugeiliol yn Nghaerffili, ar ol iddo hysbysu i'r eglwys ei fwriad i symud o'r lle, cododd un o'r aelodau a dywedodd, "Chwi glywch, frodyr, beth y mae Mr. Richards yn ei ddyweyd, ei fod yn rhoddi i fyny y weinidogaeth." Atebodd yntau yn union, "O, na,

frawd, nid wyf yn rhoddi i fyny y weinidogaeth, eich rhoddi *chwi* i fyny wyf fi; ni roddaf i fyny y weinidogaeth tra byddwyf byw." Ond chware têg i Gaerffili, yr oedd yno un gwrandäwr ag y soniai Mr. Richards am dano, yr hwn oedd yn gymhelliad iddo bregethu ei oreu. Hefyd, bu Mr. Richards yno am saith mlynedd, tra mai pedair blynedd oedd hŷd y weinidogaeth hwyaf o'i flaen ef, a methodd Christmas Evans â byw yno ond ychydig dros hanner yr amser hwnw. A thra yn Caerffili y cyfansoddodd rai o'i bregethau goreu. Ond er hyny, Pontypridd bïa ei enw; yno y treuliodd y rhan oreu o'i oes; yno y magodd ei blant; yno yr ennillodd ei sefyllfa uchel mewn cymdeithas; ac yno y bu farw.

Rhyw flwyddyn a hanner cyn ei farwolaeth, breuddwydiodd y breuddwyd rhyfedd canlynol:—"Gwelais fy hun yn eistedd ar fencyn yn ymyl y diweddar W. R. Davies, o Dowlais, a bachgenyn, ar làn afon fawr. Bu ymddyddan bŷr rhyngom am y bachgenyn, yr hwn oedd yn afrywiog, ac fel yn peri gradd o ofid iddo ef. Codasom o'r man i groesi yr afon. Aeth Davies i groesi yr afon, a chanlynwyd ef gan ferch ieuanc. Ni welais Davies mwyach. Yna aethum innau a'r bachgenyn i groesi. Yr oedd gofal y bachgenyn fel arnaf fi. Yr oedd yr afon yn lydan, tua chwarter milldir; yr oedd hefyd yn ddofn, ac yn llifeirio gyda brys, y dwfr yn dònog a thywyll. Yr oedd i'w chroesi ar blencyn cul, dim mwy na throedfedd o lêd. Yr oedd braw mawr arnaf wrth feddwl croesi afon mor fawr, ar blencyn mor gul. Ond dechreuais y daith, gan gydio yn y plentyn, a'i wneyd i gamu o'r blaen. Wedi myned ychydig ymlaen, a myned yn fy mraw, teimlais fy hun yn tueddu i'r ochr ddëau, ac mewn perygl i syrthio i'r afon dònog; ond ar y foment hóno, teimlwn law Duw yn gwasgu o dan fy ysgwydd ddê, i'm cadw rhag syrthio, a pharhäodd i'm dal i fyny nes i ni ein dau deimlo ein traed ar dir yr ochr draw."

O flaen yr adroddiad o'r breuddwyd hwn, mae Mr. Richards yn sylwi fel hyn,—"Nid wyf yn gosod nemawr bwys ar deithiau a thrafferthion y meddwl pan mewn cwsg; ond yr wyf yn agos a bod yn credu fod Duw yn cymeryd y llwybr hwn weithiau i ddangos i ddyn fwriadau ei Ragluniaeth." Dywedwyd wrthym fod y breuddwyd uchod yn desgrifio yn berffaith y modd y bu farw, yr hyn a gymerodd le ar yr 22ain o Medi, 1867; ac yn yr un mis, ac o fewn ychydig ddyddiau, cymerwyd ymaith un ag oedd fel plentyn iddo ef, ac, yn wir, ydoedd yn blentyn ysbrydol iddo, sef y Parch. James Rowe, o Abergwaen.

Rhaid i ni yn awr frysio at y terfyn. Mae ein hysgrif eisoes yn faith, er y gallasem ychwanegu llawer ati, trwy adrodd dygwyddiadau ei yrfa weinidogaethol, ac yn enwedig trwy ddyfynu yn fwy helaeth o'i bregethau gwerthfawr. Yr ydym yn teimlo yn ddedwydd yn y cyfleusdra hwn a roddwyd i ni i dalu teyrnged i goffadwriaeth gŵr mor anwyl, cyfaill mor drwyadl, cymeriad mor dda a chyflawn, dyn yn meddu meddwl mor alluog, a chydymdeimlad mor ëang, a'r fath ysbryd rhyddfrydig, a phregethwr mor wir fawr, yr hwn oedd, mewn gwirionedd, yn weinidog cymhwys y testament newydd. A pha beth bynag a fernir yw rhinwedd y sylwadau blaenorol, hyderwn o leiaf y gwasanaethant swydd y "llef" i alw sylw at y Cofiant a'r Pregethau. Brysied y dydd pan y bydd y naill a'r llall o flaen y wlad, ac yn nwylaw y genedl yn gyffredinol.

O.Y.—Wedi gorphen ein hysgrif, hysbyswyd ni y bu Mr. Richards

bedair blynedd yn Athrofa Bradford, ac mai *wedi* dychwelyd oddiyno yr aeth i Ruddlan. Yr ydym hefyd wedi ein hanrhegu â'r desgrifiad canlynol o'i berson:—

"Yr oedd ymddangosiad ei berson yn drymaidd; ac o herwydd ei arfer barhäus o fyfyrio, yr oedd yn crymu wrth gerdded, a cherddai bob amser yn araf. Gwisgai yn dlws ac yn dda; 'Cysur, ac nid *display*,' oedd ei arwyddair gyda golwg ar hyn, fel ar lawer o bethau eraill. Yr oedd ei wyneb yn grwn a thrymaidd, ond meddai lygad eryr. Pan wedi ei gynhyrfu gan ddrychfeddwl, neu i lawenydd, yr oedd ei lygad yn taflu i'w wedd y dullwynebpryd o'r mwyaf swynol. Yr oedd y pen yn fach, ond y talcen yn fawr a chrwn; ac o herwydd ei foelni, arferai ddwyn i fyny ei wallt o'r ochrau i gwrdd ar y coryn, a byddai yn aml yn gwneuthur hyn yn y pulpud, cyn dechreu y gwasanaeth. Y peth mwyaf cymeriadol a tharawiadol yn perthyn i'w ymddangosiad ydoedd ei ddau lygad, y rhai oeddynt yn llochesu o dan aelian llawnion, ac yn hytrach ymhell yn y pen. Yr oedd rhywbeth yn ei lygad ag oedd yn peri i chwi ei ofni a'i garu ar yr un pryd. Yr oedd y llygad fel y dyn."

---

# GWLADWRIAETH PLATO.

## II.

YN ein hysgrif flaenorol ar y testun hwn ceisiwyd egluro y rhesymau a arweiniai Plato i dynu darlun o gymdeithas wladwriaethol mewn trefn i benderfynu natur cyfiawnder a moesoldeb. Mae yn ofynol i ni bellach ymdrechu dilyn yr athronydd pan "yn curo y twmpathau," chwedl yntau, ac yn chwilio am y man y llecha cyfiawnder yn y cyfansoddiad gwladyddol.

Mae yn eglur y gellir ystyried y wladwriaeth mewn dwy ffurf wahanol. Yn y lle cyntaf, gallem edrych arni yn ei ffurf symlaf, pan y dechreua gwawr wanaidd y bywyd cymdeithasol dòri; ac, wedi hyny, gallem ei golygu yn ei ffurf mwyaf amrywiog, pan yr ymddadblyga ei holl ymadferthoedd, ac yr ymgorfforir ynddi i raddau helaeth ddrychfeddyliau goruchel athroniaeth. Os na thycia ein cais i benderfynu natur cyfiawnder yn y naill ffurf, fe allai y llwyddwn i ddyfod o hyd iddo yn y llall.

Yn yr ymddyddan a ganlyn, desgrifia Plato y wladwriaeth symlaf a ddichon fod:—

"Daw y wladwriaeth i fod, gan hyny," meddwn, "fel y tybiwyf, o herwydd nad ydyw neb o honom yn hunanddigonol, ond fod arno angen llawer o bethau. Neu pa ddechreuad arall, dybygwch chwi, a sylfaena wladwriaeth?"—"Dim un arall," atebai yntau.—"Felly, o ganlyniad, pan gymerodd y naill ddyn un arall ato, i'r dyben o wneyd i fyny ei ddiffyg o'r naill beth, ac un arall drachefn i wneyd i fyny ei ddiffyg o beth

arall, gan fod yn rhaid iddynt wrth lawer o bethau, wedi iddynt gasglu llïaws o ddynion i un drigfan, megys cymdeithion a chynnorthwywyr, i'r cydbreswyliad hwn rhoddasant yr enw gwladwriaeth—onitê?"—"Yn hollol felly."—"Gan hyny, cyfrana y naill i'r llall, os cyfrana rywbeth, neu derbynia ganddo, am ei fod yn tybied hyny yn well iddo ef ei hun."—"Yn ddiammheu."—"Deuwch, gan hyny," meddwn innau, "gadewch i ni mewn geiriau ffurfio gwladwriaeth o'i dechreuad. Ein hangen, fel yr ymddengys, a'i ffurfia hi."—"Mae yn eglur hyny."—"Ond, ymhellach, y penaf a'r cyntaf o'n hangenion ydyw parotôi ymborth tuag at i ni fôd a byw."—"Ië, wrth reswm."—"A'r ail ydyw parotôi preswylfod, a'r trydydd ydyw parotôi gwisgoedd, a'r cyffelyb."—"Mae hyny yn bod."—"Yn awr, dywedwch i mi," meddwn innau, "pa fodd y bydd y wladwriaeth yn alluog i barotôi cynifer o bethau? Un peth, onitê, ydyw yr amaethwr, ac arall ydyw yr adeiladydd, ac arall drachefn ydyw y gwëhydd? Neu a ychwanegwn ni atynt y crydd, neu ryw un arall o'r rhai a ymgeleddant y corff?"—"Gwnawn."—"A wneir i fyny y wladwriaeth fwyaf anhebgorol o bedwar neu bump o ddynion?"—"Felly yr ymddengys."

Dyna y wladwriaeth yn ei ffurf isaf a symlaf. A Socrates ymlaen i ddangos mai manteisiol i'r dinasyddion fydd iddynt ranu eu llafur yn eu plith eu hunain, yn ol eu cymhwysder at y naill waith neu y llall. Rhaid i'r amaethwr gyfyngu ei hun at amaethyddiaeth, a'r adeiladydd at adeiladaeth. Pâr hyny fod yn anhebgorol cael ychwaneg o ddynion, megys seiri a gofaint, i wneyd aradr a chryman i'r amaethwr, ac arfau i'r adeiladydd a'r gwehydd, gweision, cludwyr, marsiandwyr, morwyr. Ac os agorir marchnad, bydd yn angenrheidiol cyttuno ar ryw "arwydd cyfnewid," megys arian. "Erbyn hyn, gan hyny," gofyna Socrates, "a gynnyddodd ein gwladwriaeth gymaint nes cyraedd perffeithrwydd?" —"Fe allai hyny," atebai Adeimantus.—"Os felly, ymha le ynddi, attolwg, y mae cyfiawnder ac anghyfiawnder? Mewn cysylltiad â pha un o'r pethau a fu dan ystyriaeth y cynnyrchir ef?" "O'm rhan i, Socrates," atebai ei gyfaill, "nis gallaf ddyfalu, os na cheir ef rywfodd mewn rhyw angen o eiddo y dynion hyn eu hunain yn eu hymdrafodaeth â'u gilydd."—"Wel," meddai Socrates, "fe allai eich bod yn siarad i'r pwrpas,—a rhaid i ni ystyried y pwnc, heb osio cilio yn ôl."

Braidd na ddychymygem glywed rhywrai, wedi taflu brâs olwg dros yr ymddyddan uchod, yn awgrymu mai awdwr hawdd iawn ei ddeall ydyw Plato, a'i fod yn tueddu ar y mwyaf i fod yn arwynebol; oblegid pa beth sydd eglurach na hyn, mai cydgyfarfyddiad llïaws o ddynion sydd yn ffurfio gwladwriaeth? Ond cymerwn bwyll. Hyd yn nôd pe buasai y gosodiadau hyn o eiddo Plato yn hawdd i ni eu hamgyffred yn drwyadl, nid mor hawdd, fe allai, oedd eu darganfod gyntaf oll. Os nad ydym yn camgymeryd, hwn oedd y cais cyntaf i olrhain cymdeithas yn ôl i'w hegwyddorion sylfaenol. Y dernyn hwn o ymddyddan ydyw dechreuad athroniaeth wladyddol. Gorchwyl dyddorol iawn a fyddai cymharu gallu beirniadol gwahanol genhedloedd; oblegid y mae llawer cenedl hyd heddyw, a llïaws mawr o ddynion ymhob cenedl, bron yn gwbl amddifad o eirwiredd eu hunain, ac o farn i bwyso tystiolaeth eraill, a gwahaniaethu rhwng gwirionedd a chwedl. Hyn oedd agwedd y Groegiaid am oesau. Herodotus oedd y beirniad cyntaf, am mai efe oedd y cyntaf i dynu llinell amlwg rhwng oes y duwiau â chyfnod dynolryw, gan adael y blaenaf i grediniaeth ffydd, tra y pwysai y tystiolaethau gwahanol ynghylch dygwyddiadau dynol yn ol fel yr ymddangosent yn debyg i wir, neu o'r hyn lleiaf yn ddichonadwy. Càn foreued â hyn gwnelid, mewn dull diniwed, y gwahaniaeth dichellddrwg rhwng yr

hyn sydd wir mewn duwinyddiaeth ac anwir ymhob man arall. Ond gallu i sylwi, ac nid yn gymaint i olrhain, oedd gallu beirniadol Herodotus. Ei amcan, fel y dywed ef ei hun, oedd cadw mewn coffadwriaeth glodfawr "weithredoedd mawrion a rhyfeddol" y-Groegiaid a chenhedloedd eraill. Yn Thucydides y canfyddwn gyntaf oll y gallu uwch i sylwi, nid yn unig ar ryfeddodau, ond hefyd ar sefydliadau, ac olrhain codiad a dymchweliad galluoedd gwladyddol, nid i'r mân gwerylon, y rhai a achlysurant, ond i'r egwyddorion dirgelaidd, y rhai a achosant gyfnewidiadau mawrion yn hanes y byd. Y mae Herodotus yn dyst cywir, ac yn adroddwr digyffelyb. Er hyny, ymestyna drosto yntau gysgodion y chwedlau am y duwiau, a mynych y geilw ar ryw dduw neu arall i ddattod y cwlwm, pan nas gŵyr pa fodd i waredu ei wroniaid heb ei gynnorthwy, a hyny, nid am ei fod yn credu nac yn anghredu yr hen draddodiadau, ond am na osododd erioed o flaen ei feddwl yn eglur y gofyniad, A ydyw y duwiau yn bod ai nid ydynt? Ond taflodd Thucydides o'r neilldu ar unwaith ac yn llwyr yr holl gelfi dychymygol hyn; a saif ei "Ragymadrodd" hyd heddyw yn gofgolofn o'i fedrusrwydd i ymresymu ar hanesyddiaeth, a phrofi mai am yr achos hwn neu yr achos arall y mae yn rhaid fod dygwyddiadau wedi cymeryd lle fel y gwnaethant. Ond eto ni wnaed un ymgais i olrhain yr egwyddorion cyffredinol sydd yn gorwedd o dan bob sefydliad gwladyddol fel eu gilydd. Un peth ydyw egluro yr egwyddorion sydd yn achosi cyfnewidiadau mewn gwladwriaethau, a pheth arall ydyw dangos yr egwyddorion sydd yn cynnyrchu y sefydliad gwladwriaethol ei hunan. Ac ni a dybygem mai Plato oedd y cyntaf i wynebu y gofyniad hwn. I olrhain y naill nid oedd eisieu ond cryfder barn a chywirdeb dyben; i ddarganfod y llall y mae yn rhaid ychwanegu at y rhagoriaethau hyn arucheledd dychymyg neu grebwyll. Yn wir, nis gwyddom pa beth ydyw nodwedd arbenigol athronydd, os nad cyfuniad o gywirdeb moesol diledryw, barn oleuedig na chymer ei thwyllo â dychymyg cryf i ddyfeisio drychfeddyliau. Pa fodd bynag am hyny, dangosiad o nerth dychymyg Plato oedd dyfeisio gyntaf oll ar ba egwyddorion y saif cymdeithas, megys ag y profai Newton dreiddgarwch dychymyg pan y dyfalodd mai yr un ddeddf a lywodraetha ysgogiadau y bydoedd ag a bâr i afal syrthio oddiar y pren i'r ddaear. Ni a feddyliem fod y dyfyniad uchod o'r "Wladwriaeth" yn rhwym o adgoffa i rai o'n darllenwyr dudalenau cyntaf llyfr Adam Smith, "*The Wealth of Nations.*" Gwelir ar unwaith fod Plato, yn agos i bedair canrif cyn Crist, wedi canfod rhai o'r prif egwyddorion a osodai yr athronydd enwog hwnw i lawr fel sylfaen ei wladyddiaeth. Y benaf o honynt ydyw fod y wladwriaeth yn seiliedig ar gyfammod rhwng dynion â'u gilydd, heb yr hwn y byddai pob math o fasnach, ac yn arbenig yr ymddadblygiadau amrywiol o fasnach ag sydd o angenrheidrwydd yn ymddibynu ar *credit*, yn annichonadwy; ond y mae yr egwyddor hon mor bwysig fel yr hawlia sylw manylach cyn i ni ddwyn ein hysgrif i'w therfyniad. Am eraill o honynt digon fydd i ni eu henwi. Er enghraifft, ni a welwn yma yr egwyddor o raniad llafur (*"the division of labour"*), sef y dylai pob dinesydd gyfyngu ei hun at un gwaith neillduol. Drachefn, egwyddor sylfaenol mewn gwladyddiaeth a ganfyddai Plato ydyw mai ar lafur yr ymddibyna pob gwerth yn y pen draw. Ymhellach, gwelai Plato y ddeddf fod angen a chyflenwad (*"demand and supply"*)

yn achosi eu gilydd, ac mai hyn sydd yn penderfynu prisiau gwahanol nwyddau. A phan ystyrir mor anhawdd ydyw cael gan y cyffredin o ddynion gredu nad ydyw aur ynddo ei hun yn fwy gwerthfawr nag arian, nac arian ynddo ei hun yn fwy gwerthfawr na chèryg, ni a gydnabyddwn graffder Plato, yr hwn oedd y cyntaf i osod i lawr mai yr un ddeddf, sef y cyfartaledd rhwng yr angen â'r cyflenwad, sydd yn penderfynu gwerth arian ac aur fel pob nwyddau eraill.

Ond, ymhellach, nid ymddengys i ni fod eglurhâd Plato o ddechreuad y wladwriaeth mor hawdd ei ddeall ag y tueddir un ar yr olwg gyntaf i dybied ei fod. A ydyw yr athronydd yn gyson âg ef ei hun? Ac, os caniatëir hyny, a ydyw ei osodiadau yn gywir ac yn unol â ffeithiau?

Y mae anghysondeb ymddangosiadol, o'r hyn lleiaf, yn yr hyn a ddywed Plato ynghylch tarddiad cymdeithas. Egwyddor sylfaenol ei athroniaeth wladyddol oedd fod y drychfeddwl o wladwriaeth yn rhagflaenu, neu yn hytrach yn llyncu i fyny y drychfeddwl o berson unigol. Ond gellid meddwl erbyn hyn, oddiwrth yr ymddyddan uchod, mai ymgynnulliad a chyttundeb amryw bersonau unigol a ffurfia y wladwriaeth. Tybiem o'r blaen mai y wladwriaeth sydd yn rhoi bod i'r person unigol, ond ymddengys yn awr i'r gwrthwyneb. Pe buasai Plato yn feddyliwr arwynebol, ymddangosasai y ddau beth iddo yn anghyson â'u gilydd, a buasai yn sicr o fabwysiadu y naill osodiad a gwrthod y llall. Ond am ei fod yn feddyliwr dwfn, credai ddwy ochr yr un gwirionedd, a chanfyddai fod y naill heb y llall yn llai na'r gwir, ac, am hyny, yn groes i'r gwir.

Yn un peth, y mae yn ddyledus arnom ystyried mai nid olrhain cymdeithas yn ôl i'w dechreuad hanesyddol ydyw amcan Plato yn y "Wladwriaeth," ond gosod i lawr yr egwyddorion sylfaenol ar ba rai y gorphwysa cymdeithas. Anghof o'r gwahaniaeth eglur hwn a bâr fod amryw yn canmawl craffder Aristotle ar draul difrïo Plato. Pe ei amcan fyddai dyweyd fod cymdeithas wedi dechreu trwy gydgynnulliad gwirfoddol dynion i'r dyben o wneyd i fyny ddiffyg eu gilydd o angenrheidiau eu natur, cyfaddefem yn rhwydd fod y golygiad hwnw yn wrthwyneb i'r hyn a wyddys am hanes boreuol dynolryw, ac yn hollol anghyson â golygiadau eraill Plato ei hun. Nis gallodd neb eto alw ymlaen dystion cywirach o'r hyn ydoedd gwir ddechreuad cymdeithas wladwriaethol nag ieithoedd cyntefig a chyfreithiau cyntefig dynolryw. Ac nid gormod fyddai dyweyd fod y naill a'r llall yn cyd-dystiolaethu fod dynion o'u dechreuad cyntaf yn perthyn i wladwriaeth fechan y teulu, o'r hon yr hânodd gwladwriaeth fawr y genedl. Ychydig a ddarganfyddwyd hyd yma o hanes crefyddau cyntefig. Ond tuedda yr hyn a wyddys am danynt hwythau i brofi mai y grefydd gyntaf ymhlith dynion oedd crefydd deuluaidd, ac mai yr offeiriad cyntaf, yn gystal a'r llywodraethwr cyntaf, oedd y penteulu. Yn wir, nid hawdd ydyw penderfynu pa un yw y drychfeddwl cyntaf, ai llywodraeth y penteulu ai ynte ei offeiriadaeth. Y mae amryw ystyriaethau, nad gwiw i ni fyned o'n llwybr ar hyn o bryd i'w dilyn, yn cadarnhâu y dybiaeth mai crefydd ydyw yr eisieu meddyliol cyntaf a deimlodd dynolryw, ac mai yn y syniad o offeiriad i gyflwyno addoliad drostynt i'w Crëawdwr, y gwreiddia y syniad o awdurdod yr offeiriad hwnw i'w llywodraethu. Neu, yn hytrach, y mae y naill syniad yn gydbleth â'r llall. Nis gall fod gwir lywodraeth deuluaidd ar wahân oddiwrth y teimlad crefyddol, ac nis gall fod crefydd deuluaidd ar

wahân oddiwrth lywodraeth. Y teulu oedd yr eglwys, a'r eglwys oedd y wladwriaeth. Nid ymgynnull yn wirfoddol, gan hyny, i'r dyben o ymffurfio yn wladwriaeth a ddarfu dynion, ond cawsant eu hunain o'r dechreuad yn ddeiliaid gwladwriaeth, am eu bod yn aelodau o'r teulu.

A phan yr olrheinia Plato y wladwriaeth i'w dechreuad hanesyddol, dywed yntau mai o'r teulu y tarddodd ar y cyntaf, fel y gall y darllenydd weled oddiwrth y dyfyniad canlynol o'i Draethawd ar "Y Deddfau:"

*Atheniad.* Gan hyny a oedd ar y dynion hyny angen am ddeddfroddwyr, ac a ydoedd yn arferiad yn yr amseroedd hyny i'r fath beth â deddfroddwr wneyd ei ymddangosiad? Canys nid oes ysgrifen eto ymhlith y dynion a aned yn y rhan hon o'r cylchdro, ond eu dull o fyw ydyw dilyn arferion a deddfau eu tadau, y rhai a drosglwyddir ar dafodleferydd.

*Cretiad.* Mae hyny yn debygol o'r hyn lleiaf.

*Atheniad.* Ond rhyw ffurf eisoes ar wladwriaeth ydyw hon hefyd.

*Cretiad.* Pa ffurf?

*Atheniad,* Ymddengys i mi fod pawb yn galw y wladwriaeth a sefydlir yn yr amser hwnw yn unbenaeth, yr hon ffurflywodraeth a welir hyd yn nôd yn ein dyddiau ninnau hefyd yn fynych yn mhlith Groegiaid, ac yn gyffredinol ymysg cenhedloedd eraill. A dywed Homer hefyd mewn rhyw fan mai y wladwriaeth hon oedd o amgylch preswylfod y Cyclopiaid. Dyma ei eiriau:

> Nid oes ganddynt gydymgynghorfa na deddfau,
> Ond trigant ar benau yr uchel fynyddau,
> Mewn ogofëydd ceuol; pob un yn ddeddfroddydd
> I'w wragedd a'i feibion, heb ofal o'u gilydd.

*Cretiad.* Mi a dybygwn mai gŵr o dymher lawen oedd y bardd hwn o'r eiddoch; canys ni a ddarllenasom rai rhanau eraill o hóno llawn o arabedd; ond nid llawer, o herwydd nid ydym ni, y Cretiaid, yn defnyddio llawer ar farddoniaeth gwledydd eraill.

*Lacedæmoniad.* Ond am danom ni, yr ydym yn eu defnyddio, a meddyliwyf ei fod éf yn rhagori ar feirdd cyffelyb, er mai nid dull y Lacedæmoniaid o fyw, ond yn hytrach rhyw fuchedd neu arall o eiddo yr Ioniaid a ddesgrifia efe ar bob achlysur. Ac ar hyn o bryd, yn sicr, ymddengys ei fod yn dwyn tystiolaeth i wirionedd eich golygiad, gan ei fod, yn ei ddull chwedleugar, yn olrhain dechreuad y bobl hyny i sefyllfa anwaraidd.

*Atheniad.* Ydyw, y mae; canys cyd-dystia â ninnau—a chredwn ef megys dewin—fod gwladwriaethau o'r fath yn dygwydd weithiau.

*Cretiad.* Da iawn.

*Atheniad.* Gan hyny, onid o blith y rhai a wasgarwyd yn deuluoedd ar wahân, ac yn llwythau ar wahân y cynnyrchir gwladwriaethau o'r fath, o herwydd y tlodi a achosir gan eu helbulon, yn y rhai y llywodraetha yr henafgwyr am fod y llywodraeth yn dyfod i'w meddiant oddiwrth y tad a'r fam, wrth ddilyn pa rai yr ymgasglant, fel adar, yn un haid, o dan lywodraeth dadol a brenhinol, yr hon yw y frenhiniaeth gyfiawnaf oll?

*Cretiad.* Yn hollol felly. (*De Legibus,* III. 360.)

Nis gallwn ddyfalu pa beth yw meddwl y geiriau hyn, os na olygant mai y teulu oedd y wladwriaeth gyntaf. Fe allai fod Aristotle yn gosod mwy o arbenigrwydd ar y teulu, ac yn dangos mwy o fedr na Plato i olrhain y drefn yn ol pa un y tarddodd y naill ffurf ar gymdeithas o'r llall. Neillduolrwydd a mawredd Aristotle oedd ei allu digymhar i gynllunio cyfundraethau. Gosodwn o flaen ein darllenwyr y sylwadau craff a ganlyn, y rhai a gymerwn o'i draethawd ar "Wladyddiaeth," fel y gallont eu cymharu drostynt eu hunain â gosodiadau Plato:—

"Gan hyny, y cymundeb a ffurfir i gyflenwi anghenion beunyddiol dynion, os golygwn hwynt yn eu cyflwr naturiol, ydyw y teulu; a'r cymundeb cyntaf a ffurfir o liaws o deuluoedd i gario ymlaen ymdrafodaeth mwy parhäus ydyw y pentref; ac os golygwn

ddynion yn eu cyflwr mwyaf naturiol, mae yn debyg mai trefedigaeth o'r teulu ydyw y pentref, sef y rhai a elwir weithiau yn blant a sugnasant yr un bronau â phlant y plant hyny. Ac, oblegid hyn, gan frenhinoedd y llywodraethid dinasoedd ar y cyntaf, ac y llywodraethir cenhedloedd eraill hyd y dydd hwn; canys o fysg dynion dan lywodraeth frenhinol y daethant ynghyd; canys llywodraethir pob teulu gan yr henafgwr megys brenin; ac, o ganlyniad, llywodraethir y trefedigaethau yn yr un modd, o herwydd fod yr holl ddeiliaid yn berthynasau. Hyn hefyd ydyw meddwl Homer pan y dywed, 'Pob un sydd ddeddfroddwr i'w blant a'i wragedd; canys y pryd hwnw safai pob teulu ar ei ben ei hun, ac yn y dull hwn ar y cyntaf y preswyliai dynion. Am y rheswm hwn, drachefn, y dywed pawb fod y duwiau dan lywodraeth brenin, sef am eu bod hwy eu hunain, naill ai yn parhâu hyd heddyw, neu ynte wedi bod yn y dechreu, dan lywodraeth frenhinol; ac fel y priodola dynion eu ffurfiau corfforol eu hunain i'r duwiau, felly hefyd priodolant iddynt eu bucheddau eu hunain. Ond y cymundeb perffaith, yr hwn a gyfansoddir o llaws o bentrefi, ydyw y ddinas (neu y wladwriaeth), yr hon a gyrhaedda derfyn cyflawn ddigonolrwydd ynddi ei hun, os caniatêir i ni y fath ymadrodd, a'r hon a gynnyrchir, gan hyny, er mwyn galluogi dynion i fyw, ond sydd yn bod er mwyn eu galluogi i fyw yn dda. O ganlyniad, y mae pob dinas yn unol â natur, os ydyw y cymundebau cyntaf felly; canys hi yw eu dyben hwynt, a dyben pobpeth ydyw natur. (*Pol.* I. 2.)

Fe wêl y darllenydd ystyriol ar unwaith fod Plato ac Aristotle yn cyttuno yn berffaith â'u gilydd yn eu golygiad ar darddiad cymdeithas. Mae yn wir na sonia Plato am y teulu yn yr ymddyddan a ddyfynwyd o'r "Wladwriaeth." Ond profi y mae hyny, yr hyn y buasem eisoes yn ei ddyfalu, mai nid amcan Plato yn y "Wladwriaeth" ydyw olrhain cymdeithas yn hanesyddol i'w dechreuad yn y teulu, ond gosod o'n blaen y ffurf symlaf ar gymdeithas a ddichon fod, ac ymofyn a ydyw yr egwyddorion ar ba rai y gorphwys y wladwriaeth symlaf, pa fodd bynag y cynnyrchir hi, yn ddigonol i'n harwain at egwyddorion sylfaenol moesoldeb. Ymddengys i ni yn eglur fod yr athronydd yn ystyried cymdeithas wladwriaethol mewn dwy ffurf wahanol, sef, yn gyntaf, yn ei ffurf isaf a symlaf, ac, wedi hyny, yn ei ffurf uchaf a mwyaf amrywiog. Yn y ffurf isaf ar gymdeithas, ni theimla neb angen uwch na thòri ei newyn, a dilladu ei gnawd; yn y ffurf uchaf, tybir fod dynion wedi cyflenwi eu hanghenion tymmorol, ac mai eu holl ddymuniad bellach ydyw digoni newyn yr enaid. Cyfaddefwn fod y naill ffurf ar gymdeithas yn gystal a'r llall yn ddychymygol. Ni fu dyn, mewn gwirionedd, ac nis gall fod, yn hollol amddifad o bob ymdeimlad o anghenion uwch eu natur nag anghenion y corff; ac, ar y llaw arall, nis gall dynion yn y fuchedd hon gyrhaedd y fath sefyllfa oruchel pan y mae pob dinesydd yn athronydd, ac yn dal cymundeb â'r drychfeddyliau tragywyddol. Darostyngid ef yn y naill gyflwr i sefyllfa yr anifail; dyrchefid ef yn y llall i gydbreswylio âg ysbrydoedd heb gyrff. Ond hynyna ydyw amcan Plato, sef ystyried dyn, i ddechreu, fel pe na bae yn ysbryd anfarwol, ac ymholi a ellir dyfod o hyd i natur cyfiawnder ar y dybiaeth hono; ac yna ystyried dyn fel pe na byddai ganddo gorff, neu, os ydyw yn y corff, fel pe bae yn garcharor ynddo yn dyheu am ryddid, ac ymofyn am egwyddorion moesoldeb ar y dybiaeth hon drachefn. Fel y gesyd y seryddwr o'r neilldu bobpeth a aflonydda ar drefn natur er mwyn astudio y deddfau a lywodraetha y bydoedd uwchben, felly hefyd yr anghofia Plato ar y pryd yr holl amrywiol amgylchiadau a ddylanwada ar gymdeithas yn ei hagwedd wirioneddol yn y byd, ac y cyfynga ei sylw at yr amgylchiadau hyny yn unig, y rhai y gobeithia gael ei arwain anddynt at egwyddorion safadwy a digyfnewid.

Y gofyniad cyntaf, gan hyny, ydyw hwn, A ellir dyfod o hyd i natur cyfiawnder wrth ystyried y ffurf isaf a ddichon fod ar wladwriaeth? Yn yr agwedd hon ar gymdeithas, tybir fod dyn yn hollol amddifad o athroniaeth. Ni theimla eto anghenion ysbrydol. Nid ennynwyd ynddo ddymuniadau am y gwir, y prydferth, a'r da. Ei unig amcan ydyw digoni angenion y corff. Mae yn wir ei fod eto mewn cyflwr o ddiniweidrwydd, heb brofi nerth y nwydau hunanol. Ond diniweidrwydd y plentyn ydyw, nid diragrithrwydd y dyn. Ac yn ei gyflwr naturiol hwn, yn lle bod mewn rhyfel yn erbyn pawb, nid oes y fath beth â rhyfel nac angen am filwyr. Y mae yn nodedig fod gan y beirdd a'r athronwyr paganaidd ryw syniad aneglur fod dyn wedi bod unwaith mewn cyflwr tra gwahanol i'r hyn ydyw ei sefyllfa bresennol. Credent, gan mwyaf, fod dynolryw yn dirywio fwyfwy o'r naill oes i'r llall, a thaflent lawer trem hiraethlawn yn ôl at yr "oes euraidd," pan yr oedd dyn yn byw gyda'r duwiau mewn dedwyddwch digymysg. Ni fynai eu calon ollwng i ebargofiant llwyr yr adgof am ardd Eden. Braidd na ddychymygem, weithiau, fod yn rhaid fod Plato wedi clywed hen draddodiad am Baradwys. Desgrifia ei ddinasyddion yn y wladwriaeth symlaf yn ymborthi ar ffrwythydd melusion ac iachus, yn cysgu ar welyau o frigau tyner, a dail gwyrddlas, yn yfed ffrwyth y winwydden mewn cymedroldeb, yn derchafu caniadau o fawl i'r duwiau, yn marw mewn henaint têg, gan adael yr unryw fuchedd i'w hiliogaeth ar eu hôl. "Dan gysgod llwyn," medd Milton am ein rhïeni cyntaf, yn y cyfieithiad diweddaf o hóno i'r Gymraeg:—

> **Dan gysgod llwyn ag oedd ar lanerch lâs**
> **Yn tyner sisial, ger y loew ffrwd,**
> **Y ddau eisteddent; ac, heb flinder mwy**
> **Ar waith eu garddu melus nag oedd raid**
> **I godi blys am dyner awel oer,**
> **A gwneyd esmwythder yn esmwythach fyth,**
> **A chwant i fwyd a syched yn fwy hoff,**
> **Ant at eu ffrwythau swper, aeron pêr,**
> **A roddid iddynt gan y cangau lleddf,**
> **Tra ar naill ystlys yr eisteddai 'r ddau**
> **Yn lledorweddian ar y faswy lân,**
> **Oedd frith o amryw flodau têg eu llun:**
> **Bwytânt y bywyn blasus, ac â'r cib**
> **Fel y sychedant, codant ddwfr y ffrwd.**

Ond tra yr edrychai y paganiaid yn ôl mewn tristwch at ddedwyddwch wedi pasio er ys oesau lawer, o herwydd eu bod yn arswydo edrych ymlaen i'r dyfodol, yn yr hwn nid oedd dim i'w ddysgwyl ond dinystr y ddynoliaeth, braidd nad anghofia prophwydi a beirdd yr Hen Destament, ac y gadawant yn ddisylw y dedwyddwch cyntefig yn Eden, gan fel y llenwid eu meddyliau â gorfoledd mewn gobaith am amser dedwydd i ddyfod, pan y trig y blaidd gyda'r oen, ac y gorwedd y llewpard gyda'r myn, ac y bydd pren y bywyd yn iachâu y cenhedloedd yn y Baradwys well.

Fe welir, gan hyny, fod rhyw fath o berffeithrwydd yn perthyn i'r ffurf isaf a symlaf o wladwriaeth a ddesgrifia Plato; hyny ydyw, y mae y wladwriaeth hon hefyd am fynydyn yn hunanddigonol a chyflawn ynddi ei hun. Ond am fynydyn yn unig y saif y gwahanol ranau o hóni wrth eu gilydd, fel y darnau bychain o wydr amryliw yn y *kaleidoscope*. Nid oes para ynddi. Dengys y rhan a ddyfynwyd o'r ymddyddan ma

masnachwyr ydyw y dinasyddion yn y wladwriaeth isaf, ac fe gofia y darllenydd mor ddirmygus oedd masnach yn nghyfrif athronwyr Groeg. Ni fêdd masnach allu i gyfuno y wladwriaeth heb athroniaeth, megys nas gall y corff gydsefyll heb yr enaid. Undeb ysbryd yw yr unig unoliaeth. Ac ar y goreu perffeithrwydd o natur llawer îs ydyw nag a ganfyddir yn y wladwriaeth athronyddol, a hyny am na ddyrchafodd y dinasyddion yn ddigon uchel i gael un cipolwg ar athroniaeth a byd y drychfeddyliau. Rywfodd—paham, ni ddywed Plato—lle nad oes ymwybyddiaeth o ddrwg, nid oes ychwaith ymwybyddiaeth o'r da. Er fod y dinasyddion yn ddiddrwg a diddichell, nis gall y diniweidrwydd hwn ei hunan barhâu; llawer llai y gall eu dyrchafu i gymundeb â gwirionedd a daioni. Buan y daw rhyfel i mewn fel afon ac y dinystria y perffeithwydd syml hwn. Ond trwy gael ei ddinystrio, ailymffurfia ac adgyfyd mewn gwêdd llawer mwy gogoneddus. Wedi'r cwbl, nid yw rhyfeloedd ond dysgyblaeth arw a chwerw ag sydd yn terfynu mewn perffeithrwydd uwch na'r hwn a ddyfethwyd ganddynt, sef yn mherffeithrwydd didranc y wladwriaeth athronyddol:

> These, even these, in mercy didst thou form,
> Teachers of Good through Evil, by brief wrong
> Making truth lovely, and her future might
> Magnetic o'er the fixed untrembling heart.
>
> * * * * *
>
> From avarice thus, from luxury and war
> Sprang heavenly science; and from science freedom.
> O'er wakened realms Philosophers and Bards
> Spread in concentric circles.

Gan nad oes athroniaeth yn y wladwriaeth yn ei ffurf symlaf, mae yn eglur mai gwaith ofer ydyw chwilio am natur cyfiawnder ynddi. Yr unig ffordd y gall cyfiawnder ddangos ei hun yn y gymdeithas ddiwybod hon ydyw mewn gonestrwydd masnachol, neu dalu i bawb yr hyn sydd ddyledus iddynt. Ond, os cofus gan y darllenydd, hwn oedd darnodiad y bardd Simonides o gyfiawnder, yr hwn a ddygwyd ymlaen yn nechreu yr ymddyddan i gynnrychioli syniadau anmhenodol a niwlog y cyffredin o ddynion. Hawdd ydyw dyweyd mai gonestrwydd ydyw cyfiawnder. Ond ai nid oes dim mwy yn gynnwysedig yn y drychfeddwl o gyfiawnder na gonestrwydd masnachol? Os nad oes, nid yw o fawr werth na phwysigrwydd. Ni threiddia o fewn cyffiniau y byd ysbrydol hyd yn nôd mewn dyn; llawer llai y gellir ei briodoli i Dduw. A phaham y mae gonestrwydd yn gyfiawnder o gwbl? Ai cynghrair rhwng dynion â'u gilydd sydd yn crëu cyfiawnder? Ac a ellir newid ei natur yn ol mympwy dynion, nes gwneyd, os dewisant hwy, anonestrwydd yn gyfiawnder, a gonestrwydd yn anghyfiawnder, ïe, nes gwneyd cyfiawnder ac anghyfiawnder yr un peth? Nid ymdröa Plato yn hŵy gyda'r wladwriaeth yn ei ffurf isaf, ond ä ymlaen i ddesgrifio dechreuad rhyfel ymhlith y dinasyddion, mewn trefn i ddangos pa fodd y deuant i deimlo angen am athroniaeth. Wedi hyny, ailymofyna am natur cyfiawnder yn y wladwriaeth athronyddol hon.

Ond fe allai nad anmhrïodol fyddai gwneyd rhai sylwadau ychydig yn fanylach yn y man hwn mewn perthynas i olygiadau Plato ar darddiad

cymdeithas a gwladwriaeth. Meddyliwn mai nid gorchwyl anhawdd a fyddai dangos fod y naill a'r llall o'r ddwy athrawiaeth a gynnygir gan wahanol athronwyr i esbonio dechreuad gwladwriaeth ymhlith dynion yn gwbl annigonol, os mabwysiedir y naill ar wahân oddiwrth y llall. Antariwn awgrymu y golygiad fod y gwirionedd cyflawn i'w gyraedd trwy gyfuniad o'r ddwy ochr, sef fod y wladwriaeth wedi hànu o'r teulu, ac ar yr un pryd ei bod yn seiliedig ar gyfammod. Er nad cyttundeb rhwng dynion â'u gilydd a gynnyrchodd y wladwriaeth ar y cyntaf, eto, ar wahân oddiwrth yr egwyddor o gyfammod, nis gall fod cymdeithas wladwriaethol o gwbl. Nid yw y wladwriaeth yn rhagflaenu y dyn unigol, na'r dyn unigol ychwaith yn rhagflaenu y wladwriaeth. Ac amcan Plato, os na chamgymerwn yn ddirfawr, ydyw dwyn i'r goleu y ddau wirionedd gwrthgyferbyniol mai dynion sydd yn rhoi bôd i'r wladwriaeth, ac mai y wladwriaeth sydd yn rhoi bôd i'r dyn, a hyny er mwyn dangos, ar y naill law, mai ofer a pheryglus ydyw chwilio am egwyddorion moesoldeb oddifewn yn y dyn unigol, fel y gwnai y Sophistiaid pan y dywedent fod pob dyn yn safon gwirionedd iddo ei hunan, ac, ar y llaw arall, mai nid peiriant difywyd ydyw cymdeithas a gwladwriaeth, ond ymddadblygiad o egwyddorion moesol ag sydd yn gorwedd yn nghûdd yn enaid pob dyn.

Gwnawd ymgais lawer gwaith i ddal i fyny y naill wirionedd ar draul darostwng y llall. Ond pa un bynag o'r ddau a goleddid, y canlyniad dïeithriad o wrthod ei gydwirionedd oedd caethiwed,—caethiwed y deiliaid dan iau y gormeswr mewn gwladyddiaeth, a chaethiwed yr ysbryd dan iau y synwyrau a'r nwydau corfforol mewn athroniaeth foesol; a dilyna y ddau gaethiwed hyn eu gilydd bob amser. Fe allai mai yr eilfed ganrif ar bymtheg ydyw un o'r oesoedd hynotaf am enghreifftiau o feddylwyr unochrog, y rhai oeddynt ar yr un pryd yn feddylwyr dwfn a gwreiddiol. Perthynai y fath bwysigrwydd ymarferol i'w syniadau, fel y cludid dynion ymaith yn yr oes hono gan y naill wirionedd, ac yr amddiffedid hwynt mewn canlyniad o'r gallu i ddal gafael o'r gwirionedd cyferbyniol. Llwyddai anwiredd i orfodi gwirioneddau i dynu y cleddyf yn erbyn eu gilydd; a mynych y gwanychir gwirionedd a fu yn foddion i lethu gwirionedd arall. Felly gyda golwg ar y mater dan sylw. Ar y naill law canfyddwn yr athrawiaeth a fabwysiadwyd gan y clerigwyr dallbleidiol dan deyrnasiad y Stuartiaid, ac a amddiffynwyd yn arbenig gan Syr Robert Filmer, yn y llyfr a elwid "*Patriarcha.*" Cnewullyn yr athrawiaeth hon ydyw mai tadau teuluoedd oedd y brenhinoedd cyntaf, y rhai a dderbyniasant awdurdod Dwyfol, nid yn unig i deyrnasu eu hunain, ond hefyd i drosglwyddo eu llywodraeth i'w meibion cyntafanedig o'r naill genhedlaeth i'r llall hyd ddiwedd y byd. Y casgliad gwenieithgar ydyw fod gan y brenin hawl i osod y deddfau a ddewiso ar ei ddeiliaid, neu yn hytrach ei gaethweision, a gofyn y gwasanaeth a fyno oddiar eu dwylaw. Mewn gwrthgyferbyniad i dduwinyddiaeth gysurlawn y patrïarchiaid hyn, saif athrawiaeth Hobbes—os nad ydyw ein darllenwyr wedi diflasu ar enw un o'r athronwyr mwyaf gwreiddiol, er cynddrwg ei olygiadau, a fu yn Mhrydain erioed—fod dynion ar y cyntaf yn byw ar wahân, mewn "cyflwr natur," heb fod un ddeddf yn rhwymo y naill ddyn i ymattal rhag niweidio ei gyd-ddyn, gan fod pob un mewn rhyfel yn erbyn pob un arall. Mewn hunanamddiffyniad

deuant i'r penderfyniad i ymuno â'u gilydd mewn cynghrair neu gymdeithas; gosodant frenin i'w llywodraethu, ac i wneyd deddfau iddynt, a thrwy hyny ymffurfiant yn wladwriaeth; a chan nad oes un ddeddf natur i lywodraethu y llywodraethwr, ewyllys y brenin ydyw yr unig ddeddf. Mae yn eglur, gan hyny, fod yr ymresymiad hwn yn dybenu, fel y llall, mewn caethiwed a gormes. Seilir yr athrawiaeth hon yn gyfangwbl ar y dybiaeth fod dynolryw yn byw mewn rhyw oes neu arall ar wahân, mewn anialdiroedd a choedwigoedd. "The people," medd Hume (*Essay* XII.), "if we trace government to its first *origin in the woods and deserts*, are the source of all power and jurisdiction, and voluntarily, for the sake of peace and order, abandoned their native liberty, and received laws from their equal and companion." Ond sicrhâ ymchwiliadau manylaf dysgedigion i ieithoedd, defodau, deddfau, a chrefyddau cyntefig, fod dyn hyd yn nôd ar y cyntaf wedi ei osod mewn teulu. Dyma gasgliad y diweddar Archesgob Whately; ac yn yr un modd y sylwa y dysgedig Max Müller: "As far as we can trace," meddai, "the footsteps of man, even on the lowest strata of history, we see that the divine gift of a sound and sober intellect belonged to him from the very first; *and the idea of a humanity emerging slowly from the depths of an animal brutality can never be maintained again.*" (*"Chips from a German Workshops,"* II., p. 8.) Yn hynyma eto y mae y dywediad yn wir fod athroniaeth arwynebol yn gwrthddyweyd y Bibl, ond fod dyfnder mewn athroniaeth yn dychwelyd dyn at grefydd, trwy gadarnhâu mynegiadau y Llyfr Dwyfol.

Ond heblaw fod y ddwy athrawiaeth a enwyd, os mabwysiedir y naill heb y llall, yn dybenu mewn caethiwed gwladyddol, dinystria pob un o honynt, pan safânt ar wahân oddiwrth eu gilydd, yr hyn oll sydd ysbrydol yn enaid dyn, a darostyngant yr ysbryd dan iau yr anianol. O herwydd gwâd amddiffynwyr y naill a'r llall fod y fath beth a deddf foesol yn gwreiddio yn ddwfn yn y natur ddynol. Ac os llwydda anffyddwyr i fyned o dan wraidd y ddeddf foesol, ysgubir ymaith ar unwaith pa beth bynag sydd Ysbrydol a Dwyfol oddiar wyneb y ddaear. Os caethweision oedd y deiliaid o'r dechreuad, a hyny trwy awdurdod Dwyfol y gormeswr, nis gall fod iawnderau moesol yn rhwymo dynion i'w gilydd. Os nad oes rhyddid, oferedd ydyw sôn am rwymedigaeth. Ar y llaw arall, os rhyddion oedd dynion ar y cyntaf, heb fod un rwymedigaeth ar y naill i'r llall, dinystria hyny hefyd bob moesoldeb a phob ysbrydolrwydd. Yn wir, ni phetrusa Hobbes ddyweyd yn ddifloesgni nad oes deddf foesol hyd nes y gwneir y fath ddeddf gan ddynion yn ol eu mympwy eu hunain. Ac os nad oes rhwymedigaeth, oferedd ydyw sôn am unrhyw ryddid, oddieithr rhyddid yr anifail neu ryddid y dynion hyny "*who license mean when they cry liberty.*" Os ydyw hyn yn wir, y mae gosodiad sylfaenol Hobbes yn hollol groes i wirionedd, ac nid yw diweddglo ei ymresymiad cyfrwys un mymryn yn nês at wirionedd. Dadleua efe fod dynion mewn cymdeithas yn gaethion o angenrheidrwydd, heb fod ganddynt ryddid o un math, a hyny am eu bod yn eu cyflwr naturiol yn rhydd oddiwrth bob rhwymau. Gorfodir ni i gredu, i'r gwrthwyneb, fod dynion o'r dechreuad yn rhwym i'w gilydd, ac mai ar y rhwymedigaethau cyntefig hyny y gorphwysa eu rhyddid hyd ddiwedd y byd. Nis gall rhyddid gynnyrchu rhwymedigaeth, ond y mae rhwymedigaeth dynion i'w gilydd yn sicr o

gynnyrchu rhyddid, neu yn hytrach yn cynnwys rhyddid. Nis gall personau unigol gynnyrchu gwladwriaeth heb fod y drychfeddwl o wladwriaeth eisoes yn cynnwys ac yn esgor ar y drychfeddwl o berson unigol.

Ond fe allai fod y darllenydd yn barod i ofyn, Onid ydyw yn ddichonadwy i ni ddal yr athrawiaeth fod y wladwriaeth wedi dechreu mewn cynghrair neu gyfammod rhwng y deiliaid â'u gilydd, a rhwng y deiliaid â'r llywodraethwr a ddewisant arnynt, heb i ni wadu fod deddf foesol yn amddiffyn rhyddid ac iawnderau y naill yn gystal a'r llall? Ië, mwy na hyny, onid ydyw y fath gynghrair rhwng dynion a'u gilydd yn gofyn bod deddf foesol eisoes, yr hon yn unig a all eu gosod dan rwymedigaeth i gadw at y cyttundeb a wnaethant, ac i gyflawni yr holl ddyledswyddau a addawsant? Ac os nad oes deddf foesol, gellid meddwl nad ydyw y cyfammod yn werth y croen yr ysgrifenir ef arno. Rhaid cydnabod fod yr ymresymiad hwn yn ymddangos yn dêg. Hwn ydyw y golygiad a fabwysiedir gan Locke, os nad ydym yn ei gamddeall, yn ei "*Two Treatises on Civil Government*," y rhai a ysgrifenodd i wrthbrofi yr athrawiaeth batriarchaidd, ac i amddiffyn, trwy hyny, hawl y deiliaid, nid yn unig i dderbyn ymddiswyddiad Iago II., ond hefyd i'w ddiorseddu, a gosod Gwilym III. ar yr orsedd yn ei le. Dywed Locke fod dynion ar y cyntaf, sef yn eu cyflwr natur, yn berffaith gydradd â'u gilydd, ac yn hollol rydd y naill oddiwrth y llall, o fewn terfynau deddf natur. Teimlwn yn wylaidd i ammheu cywirdeb golygiadau y fath feddyliwr enwog, yr hwn sydd wedi dylanwadu mwy, mae yn debyg, na neb arall ar wladyddiaeth a syniadau athronyddol y Saeson. Ac ni feiddiem awgrymu fod Locke yn camgymeryd, ond yn unig nas gallwn ni ei ddeall. O herwydd os caniatëir fod deddf natur yn rhwymo y naill ddyn i beidio niweidio y llall, ac hyd yn nôd i'w amddiffyn rhag ei elynion, onid ydyw hyny ynddo ei hun yn gyfaddefiad fod dynion eisoes yn aelodau o wladwriaeth? "All men are born free and equal," medd Locke. Ond pa fodd y gall dynion fod yn rhydd ac yn gydradd hefyd? Os ydyw y naill ddyn yn rhydd i wneyd a fyno i'w gymydog, pa fodd y mae ei gymydog yn gydradd âg ef? Gellid tybied y buasai geiriau rhagorol Hooker, y rhai hefyd a ddyfynir gan Locke ei hun, yn dangos y gwrthwyneb: "to live by one man's will became the cause of all men's misery." Heblaw hyny, y mae y gair cydraddoldeb yn arwyddo bod cyfraith, yr hon y mae dynion yn gydradd yn ei gwyneb. Ac, megys nas gall fod cydraddoldeb heb gyfraith, nis gall fod cyfraith ychwaith heb lywodraeth. Ymhellach eto, os ydyw dynion yn gydradd mewn iawnderau, cynnwysa hyny ei hun gydraddoldeb mewn dyledswyddau; o herwydd nis gall fod hawlfraint gan y naill ddyn heb fod dyledswydd yn gorphwys ar y llall; ac os oes cydraddoldeb yn hawlfreintiau y ddau, y mae yn eglur fod cydraddoldeb yn nyledswyddau y ddau. Ond pa beth yw sylfaen dyledswydd? Onid deddf a llywodraeth? Os felly, nid yn unig ni rydd hanesyddiaeth yr awgrym lleiaf fod dynion ar y cyntaf yn byw ar wahân ac yn ymuno yn wirfoddol mewn cynghrair gwladwriaethol, ond hefyd, ymddengys oddiwrth yr ystyriaethau hyn fod "athrawiaeth y cynghrair cyntefig" yn afresymol ac yn anghyson â hi ei hun.

Dengys hyn hefyd y pwys ymarferol a berthyn i'r syniad mai o'r teulu y tarddodd y wladwriaeth. Mae yn ddigon tebygol fod rhai o'n

darllenwyr yn barod i dybied mai cywreinrwydd yn unig a bâr i neb ymholi pa fath oedd sefyllfa gyntefig dynolryw. Nid felly. Os nad oedd dynion o'r dechreuad yn ddeiliaid gwladwriaeth fechan y teulu, ymddengys i ni fod ymresymiad Hobbes yn anwrthwynebol. Ofer ydyw ceisio dyfod hanner y ffordd, trwy ganiatâu fod deddf natur yn rhwymo dynion yn eu hymddygiadau tuag at eu gilydd, os gwadwn ar yr un pryd fod y ddeddf hono yn eu gosod ar unwaith mewn gwladwriaeth. Os na osodwyd dyn ar y cyntaf mewn gwladwriaeth, ni osodwyd ef dan unrhyw ddeddf yn ei berthynas â'i gyd-ddynion; ac os nad oedd efe yn ddeiliad deddf, nid oedd rhwymedigaethau moesol yn bod o gwbl. Ar y tir hwn y mae yn anmhosibl gwrthbrofi gosodiad Hobbes, yr hwn a ddywed, "Hence there can be no injury towards another in a state of nature. Injury, which is doing a thing without right, implies human laws that limit right." *(De Cive*, ch. i.) Ond ymddengys i ni fod twyllymresymiad y gosodiad hwn yn llechu yn ystyr amwys y geiriau "cyflwr natur." Weithiau defnyddir yr ymadrodd hwn am y sefyllfa berffeithiaf y gall y gwrthddrych ei gyrhaeddyd; ond yn fynych golyga y sefyllfa fwyaf anmherffaith, o'r hon y cychwyna. Yn yr ystyr blaenaf, "dyben pobpeth ydyw natur;" hyny ydyw, y mae i bob gwrthddrych ei nôd i ymestyn ato, ac ni bydd yn ei gyflwr naturiol hyd oni chyrhaedder ef. Yn yr ystyr olaf cychwyna y gwrthddrych o sefyllfa isel, yr hon a elwir ei "gyflwr naturiol," ac ymgyrhaedda yn barhäus at sefyllfa uwch nag yr ydoedd ynddi "wrth natur." Defnyddia Aristotle yr ymadrodd yn y ddau ystyr, yn eithaf têg, yn y dyfyniad a wnaethom o'i Draethawd ar "Wladyddiaeth:" yn yr ystyr olaf, mwy naturiol i ddyn ydyw bod yn aelod o deulu nag o'r wladwriaeth; yn yr ystyr blaenaf, y mae yn fwy naturiol iddo fod yn aelod o'r wladwriaeth nag o'r teulu. Ac nid ydyw y naill ystyr na'r llall yn ddyeithr i dduwinyddiaeth; oblegid yn yr ystyr olaf, dywedir fod pechod yn naturiol i ddyn, ond, yn yr ystyr cyntaf, sancteiddrwydd sydd naturiol i ddyn; ac amcan yr efengyl ydyw dyrchafu dyn, yn gyntaf, i gyflwr goruwchnaturiol mewn trefn i wneyd y cyflwr hwnw, wedi hyny, yn naturiol iddo. Ond chwareua Hobbes ar y ddau ystyr, ac ymresyma o'r naill i'r llall. "Nis gall y naill ddyn," meddai, "niweidio y llall yn eu cyflwr naturiol." Mae hyn yn wirionedd, os ydyw yn ddichonadwy i ddyn suddo i'r fath sefyllfa isel pan nad ydyw mwyach yn ddeiliad deddf, ac ar y dybiaeth hon yn unig y mae yn wirionedd. Ond wedi i Hobbes gael gan ei ddarllenwyr gydnabod gwirionedd ei osodiad yn y naill ystyr, ei amcan ydyw tynu y casgliad mai cyflwr naturiol dyn, yn yr ystyr o sefyllfa berffaith, ydyw bod yn ddiddeddf, ac mai sefyllfa annaturiol a chelfyddydol ydyw i ddyn fod o fewn rhwymau deddf ac yn aelod o wladwriaeth. Eithr nid ydyw y ffaith fod sefyllfa anmherffaith yn naturiol i ddyn yn gwneyd ei sefyllfa berffaith yn annaturiol, ond yn oruwchnaturiol, tra, ar y llaw arall, os gelwir sefyllfa berffaith yn gyflwr naturiol dyn, y gwna hyny ei sefyllfa anmherffaith yn annaturiol. Y mae tuedd mewn llawer i feddwl mai y ffordd i ystyried unrhyw wrthddrych yn ei "gyflwr naturiol" ydyw ei olygu yn ei ranau yn unig. Mae yr angenrheidrwydd o ddadansoddi mor eglur, pan yr amcenir astudio natur unrhyw beth, fel yr anghofir yn fynych mai gwybodaeth annigonol ac anmherffaith a geir o hóno trwy ei ddosranu i'w elfenau, os na chydosodir yr elfenau hyny drachefn mewn un cyfanwaith. Pwy

allai ddychymygu prydferthwch y corff dynol, pe cyfyngai ei sylw i'r rhanau ar wahân, heb gael golwg arnynt yn eu cysylltiadau priodol â'u gilydd? Yr un ffunud, er mwyn deall athroniaeth y natur ddynol, rhaid golygu dyn fel aelod o gymdeithas. Hwn ydyw ei "gyflwr naturiol," yn ystyr uchaf yr ymadrodd. Y wladwriaeth—hyny ydyw, cymdeithas seiliedig ar ddeddf—sydd yn gwneyd dyn yn ddyn, ac nid yn anifail. Yn wir, nid yw y berthynas rhwng y wladwriaeth â'r dyn unigol ddim yn amgen nag enghraifft o'r egwyddor gynnwysfawr a llawer ehangach, yr hon ydyw un o feini y gongl yn athroniaeth Plato, os nad ei sylfaen ddyfnaf, sef y berthynas rhwng y cyffredinol a'r neillduol, rhwng y drychfeddwl a'r ymddadblygiadau o hono mewn gwahanol wrthddrychau. Y drychfeddwl cyffredinol sydd yn rhoi bôd i'r gwrthddrychau neillduol; ïe, yn y drychfeddwl y mae y gwrthddrychau yn gwir hanfodi, ac ar wahân oddiwrtho nid ydynt ond ymddangosiadau twyllodrus. Felly, cynnwysa y wladwriaeth fwy o'r drychfeddwl o ddyn nag a geir un amser yn y dyn unigol; nid am fod yn y wladwriaeth lïaws o ddynion, ond am fod ynddi fwy o unoliaeth. Y wladwriaeth, yn ol syniad Plato, ydyw yr ysbryd mewn gwirionedd. Y brif elfen ag sydd yn ffurfio y person unigol ydyw rhyddid, yr ymwybodolrwydd o ewyllys rŷdd. Ond nis gall fod ymwybyddiaeth o ryddid heb yr ymwybyddiaeth o rwymedigaeth; a bod yn aelod o gymdeithas a gwladwriaeth yn unig a rŷdd iddo y naill a'r llall. Yn ei berthynas âg eraill y dyrchafa dyn agosaf at berffeithrwydd cyflawn ei natur. Po fwyaf yr ymgilia dyn iddo ei hunan, pellaf yr ä ar grwydr oddiwrth ei wir hunan. A pha beth arall ydyw y pwys a osodai Plato ar fod dyn yn ymroddi i wasanaethu y wladwriaeth mewn trefn iddo allu dadblygu yr hyn sydd dda a gwirioneddol ynddo ei hun, ac arglwyddiaethu ar a darostwng yr hyn oll sydd ynddo ei hun yn ddrygionus a rhagrithiol, ond tystiolaeth ddiarwybod pagan i athrawiaeth sylfaenol Cristionogaeth ymarferol, mai mewn hunanfarwolaethiad y mae bywyd yr enaid, ac mai hunanymwadiad ydyw ei brydferthwch a'i ogoniant penaf? Dylid gosod, mae yn wir, y drychfeddwl o grefydd wrth wraidd hyd yn nôd y drychfeddwl o wladwriaeth. Ac megys y sylfaenir perthynas dyn â'i gyd-ddyn ar ei berthynas â'i Grëawdwr, felly hefyd gwreiddia ei hawl arno ei hun a'i rwymedigaethau iddo ei hun yn ei hawl ar ei gyd-ddyn a'i rwymedigaethau iddo.

Os ydyw yr hyn a ddywedwyd yn ddigonol i brofi afresymoldeb athrawiaeth y cynghrair cyntefig, neu, mewn geiriau eraill, nas gall y person unigol fod, yn ngwir ystyr y gair, ond fel y mae efe yn aelod o wladwriaeth, dengys yr un ystyriaethau hefyd nas gall yr athrawiaeth batrïarchaidd sefyll arni ei hun, hyny ydyw, fod y drychfeddwl o wladwriaeth yn cynnwys y drychfeddwl o gyfammod rhwng personau unigol. Os oes rhwymedigaethau ar y deiliaid, y mae rhwymedigaethau hefyd ar y llywodraethwr. Y drychfeddwl o gyfammod ydyw sylfaen pob perthynas a chysylltiad naturiol ac ysbrydol rhwng y naill ddyn â'r llall, a rhwng dyn â'i Grëawdwr. Pa un bynag a ymgymer dynion yn ffurfiol â'r ammodau, ai ynte a ydynt o'u dechreuad yn rhwymyn y cyfammod, nid effeithia hyny i'r graddau lleiaf ar ei sicrwydd. Fe grëwyd dyn o fewn terfynau cyfammod, heb yr hwn ni buasai yn grëadur rhesymol a chyfeitol; ac am nas gall y crëaduriaid direswm fod yn ddeiliaid cyfammod,

nis gall fod perthynas deuluaidd na gwladwriaethol yn eu plith. Y casgliad yr arweinir ni iddo ydyw, fod y drychfeddwl o wladwriaeth a'r drychfeddwl o gyfammod yn cyd-ddechreu ac yn cynnwys eu gilydd, a bod y naill mor angenrheidiol â'r llall, cyn y gallwn weled gwir gynnwys y drychfeddwl o ddyn.

Gorchwyl dyddorol a fyddai ymofyn pa athronwyr a fabwysiada y ddau wirionedd cyferbyniol hyn gyda'u gilydd. Gwelsom eisoes fod Plato ac Aristotle yn cyttuno yn yr egwyddor sylfaenol, er eu bod yn gwahaniaethu mewn manylion, fod y wladwriaeth yn sylfaenedig ar gyfammod, ac ar yr un pryd fod dynion o'r dechreuad yn ddeiliaid gwladwriaeth. Yn wir, y mae y ffaith fod Plato yn ymgymeryd â'r gorchwyl o lunio gwladwriaeth berffaith yn profi ynddo ei hun ei fod yn dechreu gwahaniaethu, er ei fod yn credu nas gellir gwahanu, y dyn unigol a'r wladwriaeth. O herwydd pa fodd y gall y meddwl farnu pa wladwriaeth ydyw yr oreu onid oes yn y meddwl ei hun ryw safon perffeithrwydd ag sydd yn barnu pob safon oddiallan, tra y bernir yntau ganddynt? Hyd yn nôd yn yr ail Lyfr o'r "Wladwriaeth," gesyd Plato i lawr yr egwyddor o gyfammod. Ymddengys eisoes fel yn gwahaniaethu rhwng y dyn unigol a'r wladwriaeth gyda golwg ar bethau y corff ac amgylchiadau tymmorol dynion, megys masnach. Ac fel yr ymddadblyga y wladwriaeth yn ei ddwylaw, ymegyr o'i flaen yn raddol fyd newydd y meddwl dynol. Dechreua gydag athroniaeth wladyddol; ond buan y canfydda diriogaethau ëang athroniaeth feddyliol a moesoldeb yn ymestyn ar bob llaw. Er enghraifft dywed mewn un man mai yr un peth ydyw drychfeddyliau a moesau yn y wladwriaeth ag ydynt yn y dyn; "canys o ba le y gallant ddyfod i'r wladwriaeth os nad o'r dyn?" A thua'r diwedd esgyna yn uwch eto, i fyd ysbrydol, lle yr ymgolla athroniaeth mewn crefydd, ac y diflana y drychfeddwl o wladwriaeth ei hunan, megys mewn breuddwyd, yn araf a diarwybod, yn y drychfeddwl mwy gogoneddus o gymundeb ysbryd anfarwol â'r goleuni digrëedig.

Ymhlith ysgrifenwyr yr oesoedd diweddaraf, y mae amryw ag sydd yn dal y ddau wirionedd cyferbyniol fod y wladwriaeth yn tarddu o'r teulu, ac ar yr un pryd yn seiliedig ar gyfammod. Yn y modd canlynol y rhydd Hallam olygiad Bodin ar y pwnc:—

"Thus therefore the patriarchal simplicity of government was overthrown by conquest, of which Nimrod appears to have been the earliest instance; and now fathers of families, once sovereign, are become citizens. A citizen is a free man under the supreme government of another ..... It is the acknowledgement of the sovereign by his free subject, and the protection of the sovereign over him, that makes the citizen."

Drachefn, dyfynir yr hyn a ganlyn gan yr un hanesydd o waith yr enwog Suarez:—

"Adam possessed a domestic or patriarchal (œconomicam), not a political, authority; for he had power over his wife, and afterwards a paternal power over his sons till they were emancipated; and he might even in course of time have servants and a complete family, and that power in respect of them which is called patriarchal. But after families began to be multiplied, and single men who were heads of families to be seperated, they had each the same power with respect to their own families.

Nor did political power begin to exist till many families began to be collected into one entire community."*

Cynnwysa y dyfyniadau hyn y ddau wirionedd. Ond ni ddywedir ynddynt yn eglur fod yr egwyddor o gyfammod yn gorwedd wrth wraidd y wladwriaeth yn ei ffurf gyntefig o deulu. O'n rhan ni, tueddwn i feddwl mai hynyna ydyw yr atebiad mwyaf effeithiol i'r athrawiaeth fod y deiliaid yn gaethweision i'r brenin, am ei fod yn cynnrychioli y patrïarchiaid cyntefig, sef dyweyd mai ar gyfammod y sylfaenid y wladwriaeth batrïarchaidd hefyd. Ond golyga, mae yn eglur, y ddau feddyliwr gwreiddiol hyn fod y wladwriaeth mewn oes gyntefig yn y ffurf o deulu, ac yn ei ffurf bresennol, o'r hyn lleiaf, yn seiliedig ar gyfammod. A chyffelyb ydyw golygiad Hooker:—

"To fathers within their private families Nature hath given a supreme power; for which cause we see throughout the world even from the foundation thereof, all men have ever been taken as lords and lawful kings in their own houses. Howbeit over a whole grand multitude having no such dependency upon any one, and consisting of as many families as every politic society in the world doth, impossible it is that any should have complete lawful power, but by consent of men, or immediate power of God; because, not having the natural superiority of fathers, their power must needs be usurped and then unlawful; or, if lawful, then either granted and consented unto them over whom they exercise the same, or else given extraordinarily from God, unto whom all the world is subject. It is no improbable opinion therefore which the archphilosopher [Aristotle] was of, that as the chiefest person in every household was always as it were a king, so when numbers of households joined themselves in civil society together, kings were the first kinds of governors amongst them. Which is also, as it seemeth, the reason why the name of father continued still in them, who of fathers were made rulers; as also the ancient custom of governors to do as Melchisedec, and being kings to exercise the office of priests, which fathers did at the first, grew perhaps by the same occasion." (*Ecclesiastical Polity.* B. I., ch. x., § 4).

Y gwahaniaeth rhwng syniadau Hooker â golygiad Locke, yr hwn a broffesa gymeryd ei egwyddorion sylfaenol mewn gwladyddiaeth o waith y duwinydd athronyddol hwnw, ydyw fod Hooker yn cydnabod fod y teulu patrïarchaidd cyntefig yn wladwriaeth, ar gynllun yr hon y ffurfiwyd gwladwriaethau ehangach trwy gynghrair y deiliaid, tra y mŷn Locke fod dynion yn byw ar wahân ar y cyntaf, ac, er o fewn terfynau deddf natur, eto nid mewn gwladwriaeth. Ond ymddengys fod yr holl ysgrifenwyr hyn yn ddïeithriad yn dal fod dynion mewn rhyw oes neu arall wedi ymuno mewn cynghrair i ffurfio gwladwriaeth,—tybiaeth ag sydd yn gwbl amddifad o bob sail hanesyddol, ac, yn wir, yn afresymol ac annichonadwy. Gorphwysa y wladwriaeth ar gyfammod, mae yn wir; ond cyfammod ydyw hwnw ag oedd yn bod o'r dechreuad, ac a adnewyddir yn barhäus. Sylwa Max Müller, er fod ieithoedd yn newid o hyd, na wnawd iaith newydd erioed. Mae y sylw yr un mor wir gyda golwg ar gymdeithas. Cyfnewidia gwladwriaethau yn ddiddiwedd, ond ni bu eto y fath beth yn hanes dynolryw â gwladwriaeth hollol newydd. Y maent fel rhaiadrau yr Alpau—

For ever shattered and the same for ever.

* Hallam, "*Literary History*," Part II., ch. iv., § 49; Part III., ch. iv., § 47. Gan na ydym mewn cyfleusdra i ddarllen gweithiau Bodin a Suarez eu hunain, gorfodir n gymeryd eu golygiadau ar yr ail law.

Er fod y ffurf a gymer y wladwriaeth yn newydd, yr oedd yr un defnyddiau eisoes yn bod mewn ffurf arall; yn debyg fel y mae dynolryw ei hunan yn cyfnewid beunydd, ac eto yn parhâu yr un o hyd—un genhedlaeth yn myned ymaith a chenhedlaeth arall yn dyfod, ond y ddynoliaeth yn sefyll byth; neu fel y dywedir yn yr hen chwedl Roegaidd fod Zeus wedi rhoddi i Endymion, sef yr haul, ieuenctyd oesol a hûn tragywyddol, gan y sudda i'r dyfnder ar bob machludiad, ac y daw i fôd o'r newydd bob bore. Gwir a ddysgai y chwedl mai rhodd y mwyaf o'r duwiau oedd hyn. Sêl o Ddwyfoldeb ar holl weithredoedd y Crëawdwr ydyw eu bod yn dragywyddol newydd. Yn marw yn ddiddiwedd y mae holl weithredoedd dyn; ond genedigaeth barhäus ydyw holl waith Duw. A'r un modd, drychfeddwl Dwyfol ydyw y cyfammod ar ba un y gorphwys cymdeithas a gwladwriaeth. Ni fu amser pan nad ydoedd ac nid ydyw ar unrhyw adeg ond yn dechreu bod. Nis gwyddom am neb ag sydd wedi gosod y syniad hwn mewn dull mor eglur â Coleridge, yr hwn a sylwa fel y canlyn:—

"But if instead of the conception or theory of an original social contract, we say the idea of an ever originating social contract, that is so certain and indispensable, that it constitutes the whole ground of the difference between subject and serf, between a commonwealth and a slave plantation. And this, again, is evolved out of the yet higher idea of person in contradistinction to thing; all social law and justice being grounded on the principle that a person can never, but by his own fault, become a thing, or, without grievous wrong, be treated as such; and the distinction consisting in this, that a thing may be used altogether and merely as the means to an end; but the person must always be included in the end; his interest must always form a part of the object, a mean to which he, by consent, that is, by his own act, makes himself." *On the Constitution of the Church and State*, tu dal. 10.

Ond aethom, bron yn ddiarwybod, i derfyn ein hysgrif ymhell cyn gorphen ein gwaith! Wedi i ni geisio dangos golygiadau Plato ar darddiad y wladwriaeth, ymddengys y man hwn yn lle cyflëus i gymeryd ychydig seibiant, er nad ydym eto ond megys ar droed y mynydd. Yr ydym yn awyddus i gilio o'r neilldu, bellach, rhag i'r darllenydd hynaws "flino arnom a'n casâu." Ond rywfodd ymddyrchafa ac ymchwydda y pwnc o flaen ein llygaid, fel pe bae yn ddrychiolaeth, po fwyaf yr edrychwn arno:—

Tall wax'd the Spirit's altering form
Till to the roof her stature grew.

Ac fe allai fod rhai a garant ddringo gyda ni yn uwch i fyny ar lethrau bryn Anhawsder, pe na bae ond er mwyn gadael ymhell i lawr isod ddwndwr gwâg y byd, yn ei fychandra, ei bleserau ynfyd a'i hunangais, a dyrchafu i gymundeb agosach âg un o'r rhai hyny a syllant ar Wybodaeth lygad yn llygad, fel rhai wedi eu meithrin gyda hi

# ABYSSINIA.

DIAU y gall fod erthygl ar y wlad hon a'i hamgylchiadau presennol yn dderbyniol gan lawer o ddarllenwyr y TRAETHODYDD, er fod llawer o dameidiau am dani yn ymddangos yn awr ac eilwaith yn y newyddiaduron Cymreig a Saesonig. Er nad yw Abyssinia yn wlad newydd ei darganfod, y mae ynddi lawer o bethau i dýnu sylw y teithiwr, yr hanesydd, a'r henafiaethydd. Y mae yn un o wledydd boreuol yr hen fyd, ac y mae ei bodolaeth dan yr enw *Ethiopia* o henafiaeth dirfawr.

*Ei Daearyddiaeth.*—Y mae yn anhawdd nodi allan derfynau penodol a manwl y wlad hon. Y mae Abyssinia yn cynnwys y mynyddoedd hyny o ba rai y tardda yr afon Nilus. Gorwedda yn ddeheuol i Nubia yn Affrica. Y mae y Môr Coch yn derfyn dwyreiniol iddi; ac anialwch Affrica yn Orllewinol. Y mae tuag 800 o filldiroedd o hŷd, a 600 o lêd, yn ol hysbysiaeth ddaearyddol ddiweddar. Y mae yn un o'r gwledydd mwyaf mynyddig yn y byd, fel rhai parthau o Gymru neu wlad Swiss. Cynnwysa y wlad yn benaf nifer dirfawr o fryniau a mynyddoedd, yn cyfodi y naill uwchlaw y llall mewn olyniant maith o lànau y Môr Coch, yn agos i Gulfor Babelmandeb, ymron i derfynau gorllewinol y deyrnas. Yn yr esgynfa gyntaf gwna y teithiwr gyraedd gwlad y Baharnagash, yr hon a ffurfia y bwrdd-dir cyntaf, a chyraedda mor belled âg afon Mareb. Gan groesi hona, cyraeddir uchelion gwlad Tigre, yr hon a ffurfia yr ucheldir canol, ymhell ymha fynyddoedd y tardda yr afon Tacazze, un o gangenau y Nilus. Yn orllewinol i'r Tigre y mae mynyddoedd Samen, y parthau uchaf yn holl Abyssinia; yno y ceir pendir uchel La Malmen a Lasta, y rhai a wahanant ucheldir Tigre oddiwrth rai Habesch, y rhai ydynt fyth yn uwch. Oddiwrth Habesch y mae y brodorion yn galw yr holl wlad yn Amhara, ac nid Abyssinia. Y parthau uchaf ydynt ganolfan yr hen ymherodraeth, ac y mae yn cynnwys tarddiadau yr afon Bahrel Azrck, neu fraich fawr ddwyreiniol yr afon Nilus. Yr uchder cyffredin sydd tuag 8,000 o droedfeddi uwchlaw arwyneb y môr; ond tòrir y wlad, ac amgylchynir hi gan fynyddoedd, y rhai ydynt fyth yn uwch. Y taleithiau mwyaf nerthol o Abyssynia ydynt yn bresennol Amhara, Tigre, Enderta, Morjjerat, a Schoa, yn cynnwys Efat. Y mae y bobl a elwir y Gallas yn cyfanneddu rhwng y mynyddoedd â'r Môr Coch, a dywedir eu bod yn llai gwaraidd na'r Abyssiniaid. Ni wyddys fawr am y wlad yn ddeheuol i Amhara. Y mae llawer o deithwyr Ewropëaidd wedi ymweled â'r wlad hon yn ystod y 200 ml. diweddaf; a dywed Rawlinson fod 100 o gyfrolau wedi eu hysgrifenu a'u cyhoeddi am Abyssinia. Er hyny *terra incognita* yw y wlad i fesur mawr iawn. Y Nilus a'i changenau ydynt y prif afonydd. Yn Amhara y mae llŷn mawr a adwaenir wrth yr enw Dembea. Y mae llŷn mawr arall ar ochr ddwyreiniol mynyddoedd Samen.

Wrth reswm, amrywia yr hîn yn ol uchder a gogwydd y tir. Y mae y gwrês yn rhai o'r dyffrynoedd yn ddirfawr, a'r hîn yn afiachus. Y

mae ucheldir Amhara yn hyfryd, ac y mae yn wanwyn parhäus yno. Y mae hinsawdd Tigre yn gynhesach, am ei bod yn îs; ac y mae Bahernagaioh yn îs fyth. Yn dde-ddwyreiniol i Tigre, y mae gwastadedd halen mawr, a'i ymddangosiad mewn llawer man yn debyg i iâ wedi ei orchuddio âg eira wedi gododdi. Y mae yr halen yn bur a chaled, tua dwy droedfedd o ddyfnder, ond y mae yr halen isaf yn fwy garw a meddal, nes ei ledu yn yr awyr agored. Ffurfia yr halen nwydd arbenig mewn masnach yn Abyssinia, a phasia yn fynych yn lle arian. Y mae y tymmor gwlyb yma o fis Ebrill i fis Medi, pan y mae y wlad wedi ei thrwytho â dyfroedd; y casgliad o ba lif-ddyfroedd ofnadwy a achosant orlifiadau yr afon Nilus, ar ba rai y dibyna cymaint o ffrwythlondeb gwlad yr Aipht. Y mae y gwastadedd a'r dyffrynoedd yn dda a ffrwythlawn, ond yn gyffredin llwm yw y mynyddoedd. "Yn Abyssinia," ebai y tad Lobbo, "y maent yn mwynhâu gwanwyn gwastadol, mwy hyfryd a swynol nâ'r un yn ein gwlad ni" (Portugal). Dywedai y Tad Poncet, 1698, "Nid oes fawr yr un wlad fwy poblog neu fwy ffrwythlawn: mae y lili, y jonquil, a'r tulip, yn gwneuthur y wlad yn baradwys berffaith." Yn 1862 a 1863, prynodd Mr. Dufton, cenadwr, ful iddo ei hun yn Khartoum (cyfuniad y Nilus Wen â'r Lâs), a marchogodd trwy yr holl wlad, gan ymweled â'r brenin Theodorus, a chyraedd yn ddiogel a chysurus i Massowah. Aeth Syr Samuel a Lady Baker i'r wlad hon i ddysgu yr Arabaeg, ac ymddengys eu bod wedi eu mwynhâu eu hunain yn fawr yn hela efo Arabiaid Hamra. Fel hyn y dywed Mr. Dufton am y wlad a deithia ein milwyr, pan wedi ymdaith o bedwar ugain milldir o Annesley Bay, y byddant wedi cyraedd ucheldiroedd Abyssinia:—"Yr oedd y ffordd yn bur anwastad, yn awr yn esgyn llechwedd mynydd serth, yn awr yn disgyn i ddyffryn dwfn. Yr oedd y wlad yn ogoneddus, yn tra rhagori ar ddim a welsom erioed o'r blaen. Mynyddoedd uchel Ucheldiroedd Scotland wedi eu gorchuddio â ffrwythlonrwydd gwlad Rhine a fyddai debycaf iddi, ond yr oedd y llysiau yn gwbl wahanol i eiddo y Rhine, canys fe'u nodweddid â brasdyfiant y tröfegau. Unwaith yr oedd y ffordd yn ymylu ochr mynydd, copa yr hwn yn 1,000 o droedfeddi uwch ein pen, a edrychai i lawr i ddyffryn dwfn fil arall o droedfeddi islaw ein traed. Yr ochr wrthwyneb i'r dyffryn codai y tir i uchder serth arall cyffelyb, yr hwn mewn un lle a gysylltid â'r un y safem arno gan gadwen isel o dir ymdonol, fel yr oedd ffrŵd fach brydferth yn y gwaelod, fel edaf arian yn nghysgod tywyll y mynydd, yn ymddirwyn o amgylch gan ymofyn am ei gwely. Yr oedd meusydd ffrwythlawn yn crogi uwch ei phen yn dew ymhob tröad. Yr oedd bryniau o'r ail ffurfiad wedi eu tòri yma a thraw i agenau creigiog, trwy ba rai y llamai aneirif ddisgyniadau o ddwfr yn eu rhedfa i gyraedd y ffrŵd; ac yma y gwelais gyntaf y *kolquol* prydferth, cangenau tywyll addurnedig pa un, wedi eu hymylu â blodau melynion dysglaer, a wahaniaethai yn fawr oddiwrth y gwyrddlesni goleuach oedd oddiamgylch. Blodau dysglaer o bob amrywiaeth, y rhan fwyaf o ba rai oedd yn anadnabyddus i mi, ond ymysg eraill y rhosyn gwyllt cyffredin, y gwyddwydd, a'r jessamin, a fenthycient eu prydferthwch a'u perarogledd i'r olygfa. Yr oedd y cyfan yn èm perffaith o natur."

Y mae Syr Samuel Baker, yr hwn y llynedd a gyhoeddodd lyfr yn rhoddi hanes ei anturiaeth fawr yn narganfyddiad tarddellau y Nilus,

newydd gyhoeddi llyfr dyddorol iawn yn rhoddi hanes ei helynt ef a'i bried ddewrgalon ar lechweddau dwyreiniol yr Ucheldiroedd hyny y mae ein milwyr ni yn awr yn nesâu hyd eu llethrau dwyreiniol at y Môr Coch. Yn gweled os na fedrent Arabaeg, y byddent yn eu teithiau yn gwbl at drugaredd cnâf o gyfieithydd, troisant i'r mynyddoedd hyn i ymgymysgu â'r bobl, ac i ddysgu yr iaith. Ac yn sicr, y mae ganddynt chwedlau rhyfedd a dyddorol i'w hadrodd am y wlad a'r bobl y mae helyntion y dyddiau hyn wedi deffro ein cywreinrwydd i'r fath raddau yn eu cylch.

*Ffrwythau a Mildraeth.*—Cawn fod cynnyrchion y wlad hon yn llïosog. Tŷf gwenith, haidd, gwenith India, a grawniau eraill yno mewn llawnder; ond dibyna y trigolion yn benaf âm eu lluniaeth ar blanhigyn llysieuol a elwir teff, yr hwn a dŷf ymhob math o ddaear ond yr iselaf, ac o hóno y gwneir y bara sydd mewn arferiad cyffredin. Ni wyddys fawr am fŵnoedd y wlad; ond diammheu fod yr holl brif fŵnoedd a metteloedd ag oeddynt hysbys yn yr hen amseroedd, yn meddiant hen breswylwyr Ethiopia. Y mae Cus, neu Abyssinia, yn enwog yn gymaint âg fod yno deyrnasoedd grymus wedi bod, y rhai a ddangosasant arwyddion amlwg o ddeall a gwladeiddiant. Pa un ai Abyssinia yw Seba, gwlad Brenines y Dê, sydd bwnc heb ei lwyr benderfynu gan deithwyr a beirniaid hyd heddyw. Os o'r wlad hon y daeth Brenines Seba, yr oedd gogoniant henafol mawr ac arbenig yn perthyn i Abyssinia.

Y mae crëaduriaid dôf y wlad hon agos yr un fath ag eiddo Ewrop. Y gwylltfilod a gynniweiriant Abyssinia ydynt lïaws o hyenas; yr uncornfarch a'r cawrfil, yn yr iseldiroedd; yr afon-farch a'r crocodile, yn yr afonydd a'r llynoedd. Y mae y torpedo, neu y pysgodyn trydan, yno. Ceir y llew yno weithiau; ac y mae yno rywogaeth o lewpard. Y mae yr adar yno yn llïosog ac amrywiol. Y mae y difrod a gyflawna y gwylltfilod yno yn ofnadwy. Heblaw eryrod a fwlturiaid, ceir yr haddayn, yr hwn a ddaw i Abyssinia o'r Aipht yn gyson yr un amser o'r flwyddyn, ar ol peidiant y gwlawogydd trofanol. Y mae dylluanod y wlad hon yn fawr ac ardderchog. Y trychfilyn mwyaf hynod yn y tir hwn yw y *ttsalsal*, neu *tetse* Dr. Livingston, pigiad yr hwn sydd mor farwol i'r ŷch a'r ceffyl. Cyfannedda rai parthau arbenig yno. Y mae ymfudiadau mawrion yn cymeryd lle yn nechre y tymmor gwlawog i ochelyd y difrod a ofnir oddiwrth y *telse* ymysg y dâ corniog. Er fod ei bigiad mor farwol i'r ŷch a'r ceffyl, nid all ladd yr asyn, y ci, na dyn. Ar ol i ŷch gael ei frathu ganddo, dihoena am tua deg niwrnod, ac yna trenga. Y mae y pryfedyn arswydus hwn yn agos cymaint â locust mawr. Y mae y gwenyn yno yn hynod am eu mêl, a'r locustiaid yn ofnadwy am y difrod a barant ar gynnyrch y tir.

*Hanes Henafol Abyssinia.*—Mab henaf Ham oedd Cus, a thad Nimrod, Seba, Hafilah, Sabtah, Raamah, a Sabterah. Cymerodd eu hiliogaeth feddiant o'r parthau dwyreiniol a gorllewinol i'r rhan isaf o'r afon Euphrates; ymdaenasant hefyd i Arabia Ddedwydd. Y mae Cus yn enw ar rai gwledydd a breswylid gan hiliogaeth Cus, ac yn enwedig ar wlad yn Affrica a elwid Ethiopia gan y Groegiaid. Ymdaenodd eppil Ham dros agos yn oll os nad y cyfan o Affrica, ac y mae y trigolion wedi bod am filoedd o flynyddoedd dan felldith o achos trosedd eu tad Ham, yr hwn a ddynoethodd ei dad Noah yn ei feddwdod. "Ac efe a

ddywedodd, Melldigedig fyddo Canaan, gwas gweision ei frodyr fydd," Gen. ix. 25. Dilynodd melldith dymmorol hiliogaeth Ham am drosedd eu tad, ac y mae y felldith yn cynnwys darostyngiad mawr i anwybodaeth, gwarth, a gwasiaeth, ac y mae goruchwyliaeth y Nefoedd at blant Ham yn un o bennodau tywyll rhagluniaeth, er fod "amseroedd anwybodaeth" llawer o honynt yn myned heibio yn gyflym, trwy fendith Duw ar lafur cenadon diweddar. Ac y mae caethfasnach, yr hon oedd un o brif felldithion yr Affricaniaid, wedi ei diddymu bron yn hollol.

Golyga Cus weithiau wlad y Persiaid, Cuth, Cutha, Susiana, ond yn bresennol Cuzestan, neu wlad Cus y Persiaid o du y dwyrain i ran isaf yr afon Tigris; hefyd Cus neu Cusan, o du y gogledd-ddwyrain i'r Môr Coch. Yr oedd yn agos i dir Midian. Gelwir Zippora, gwraig Moses, yn Gusiad neu Ethiopiad, o herwydd mai yno y ganed hi. Cymerodd Moses Ethiopes yn wraig iddo, Num. xii. 1. Rhoddir yr enw Cus neu Ethiopia i Abyssinia yn Affrica, o du y dê-orllewin i'r Môr Coch, a deheuol i'r Aipht. Dichon fod gwahanol drigfodau plant Cus yn cael yr un enw fel yr ymsefydlent ynddynt yn olynol yn eu hymfudiadau gwasgarol. Gwada amrai ddysgedigion, megys Bochart, Wells, ac eraill, na chrybwyllir Cus Ethiopia, neu Abyssinia yn Affrica, byth yn y Bibl. Ond gellir gofyn yn naturiol, Pa Ethiopia arall a allasai fod yn derfyn ymherodraeth Persia, gan fod y ddwy Cus arall yn barthau o'r ymherodraeth hono? Esth. i. 1. Darllenwn am Ethiopiaid a allesid eu cysylltu â'r Lybiaid o du y gorllewin i'r Aipht. Yr Ethiopiaid hyn yn ddiammheu oeddynt mor hynod am eu lliw du, digyfnewid, Jer. xiii. 27. Gan i'r Assyriaid, y Caldeaid, a'r Persiaid, yn eu tro, oresgyn yr Aipht, pa beth a'u rhwystrai hwy i flino Ethiopiaid Abyssinia yn gystal a Chusan cyfandir Asia? Y mae addewidion amlwg a gogoneddus am ddychweliad trigolion Ethiopia neu Abyssinia at Dduw yn oesoedd yr efengyl, ac y mae yn llawer mwy tebyg fod bys prophwydoliaeth yn cyfeirio at drigolion gwlad fawr yn Affrica nag at barth neu ddau bron anhysbys yn nhiroedd Asia, ac yn enwedig pan gysylltir hi â gwlad yr Aipht. "Pendefigion a ddeuant o'r Aipht; Ethiopia a estyn ei dwylaw yn brysur at Dduw," Salm lxviii. 31.

Y mae lle i feddwl i'r Cusiaid groesi y Môr Coch yn eu teithiau ymdaenol tua'r Gorllewin, oddeutu O.B. 2470. Y mae iaith pobl Abyssinia yn dwyn perthynas agos â'r Bersiaeg, ac â'r Arabaeg, ac y mae llawer o arferion y wlad yn hynod debyg i eiddo trigolion Persia. Yr oedd Ethiopiaid yn myddin arswydus Xerxes brenin Persia, yn ol tystiolaeth Herodotus. Dywed Pliny, hanesydd Rhufeinig, fod Ethiopia yn deyrnas fawr iawn, ac yn cynnwys 45 o frenhiniaethau. Ei phrif ddinasoedd y pryd hwnw, O.C. 79, pan laddwyd yr hanesydd hwn, oedd Axuma a Meroe. Gallasai y deyrnas ddarparu 250,000 o filwyr, a 400,000 o grefftwyr. Yr oedd amryw o'r cyfreithiau yn debyg i'r eiddo yr Aiphtiaid. Dichon i "frenines y Dê" fyned âg amryw ddefodau Iuddewig gyda hi wrth ddychwelyd i'w gwlad, ac fe allai i Solomon roddi iddi athrawon, llyfrau sanctaidd, &c. Pa fodd bynag, y mae defodau Iuddewig amlwg ymysg yr Abyssiniaid hyd heddyw, megys yr enwaediad, cadw y seithfed dydd, &c. Sail wan sydd i dybied fod gan frenines Seba fab o Solomon, ac iddo ef ddyfod âg Iuddewiaeth i Abyssinia. Tebygol i Ethiopiaid Abyssinia gael eu gorchfygu gan Sisac,

brenin yr Aipht, yn agos i amser Solomon. Ar ol marwolaeth Sisac, gorchfygodd Zerah yr Ethiopiad yr Aipht, wedi cael mantais trwy ryfeloedd cartrefol y wlad olaf; ond adennillwyd y wlad yn ôl. Oddeutu O.B. 3,257, darostyngodd So, brenin Ethiopia, yr Aipht, yr hon y pryd hwnw a gynnwysai dair neu fwy o wahanol deyrnasoedd, ac aeth mewn cynghrair â Hosea a'r Israeliaid yn erbyn brenin Assyria. Ymhen amser wedi hyny, darfu i Ezarhadon, brenin Assyria, yspeilio yr Aipht, a darostwng rhan fawr o Ethiopia, a bu y bobl mewn caethiwed am dair blynedd. Cawsant eu blino wedi hyny gan Nebuchodonozor, Cyrus, Cambyses, gan y Rhufeiniaid, y Giagas (ai yr un â'r Gallas presennol?). Er hyny y mae yr Abyssiniaid wedi ymgynnal yn deyrnas annibynol, er y gwasgwyd yn drwm arnynt lawer gwaith gan y Saraceniaid creulawn, a'r Tyrciaid ffyrnig. Y mae eu darostyngiad i'r Rhufeiniaid yn eglur yn Dan. xi. 43: "Eithr efe a lywodraetha ar drysorau aur ac arian; ac ar holl anwyl bethau yr Aipht: y Libyaid hefyd a'r Ethiopiaid fyddant ar ei ol ef." Er fod eu lliw yn ddu, y mae rhai yn eu gwahaniaethu oddiwrth y gwir *negro*.

*Dosbarthiad Gwladyddol Abyssinia.*—Yr ydym wedi crybwyll yn barod mai y prif ddosbarthiadau gwladyddol, yn ol ymraniad naturiol y wlad, ydynt, Baharnagaoh, Tigre, Amhara, Efat, Schoa, a'r parthau a gyfaneddir gan y Gallas. Bernir fod poblogaeth Abyssinia tua 4,500,000. Y mae y llywodraeth yn unbenaeth hollol, ond fod gwrthryfel yn bresennol wedi siglo yr orsedd, a bygwth dinystr y frenhinlin. Ymddengys fod Theodorus, y brenin creulawn presennol, wedi dewis Debra Tabor fel ei brifddinas; ond yn ol teithwyr a daearyddwyr, Gondar oedd y brifddinas. Y mae eraill yn rhoddi Amhara fel y brifddinas. Dywedir fod Gondar yn 11 o filldiroedd o gwmpas, ond cymer y coed sydd yn ymyl yr eglwysi i fyny le mawr, fel y mae yr olwg ar y ddinas o bell yn fwy tebyg i goedwig nag i anneddau lliaws o ddynion Dywedir fod tua 50,000 o drigolion ynddi. Nid oes dim siopau yno, ond cèrir trafodaeth ymlaen mewn lle pedaironglog mawr, a dangosir y nwyddau ar fatiau. Aur a halen yw y pethau sydd yn pasio fel y mae arian gyda ni. Y mae pob darn o halen yn droedfedd o hŷd, a thòrir darn ymaith fel y byddo ei eisieu i ateb gwerth i'r hyn a brynir. Gorwedd Gondar o Lundain 37, 33, D. lled. 12. 34. G. Y mae 180 o filldiroedd yn ddê-ddwyreiniol o Semar; ac y mae ynddi 100 o eglwysi.

Y mae Emfras yn dref yn nghymydogaeth Gondar, yn cynnwys tua 300 o dai. Adowa yw prifddinas Tigre, ac y mae ynddi tuag 8,000 o drigolion. Y mae Antolow yn gorwedd yn ddwyreiniol i Gondar, a thybir fod 6,000 o drigolion ynddi. Bu Auxum yn brifddinas teyrnas Roegaidd a fodolai unwaith yn Ethiopia. Y mae y dref hon yn nhalaeth Tigre. Y mae dyddordeb neillduol yn perthyn i'r ddinas hon ar gyfrif ei henafiaethau; y mae yno bîgadail yn driugain troedfedd o uchder, a darnau mawrion o ronynfaen wedi eu cerfio yn brydferth. Y mae y trigolion tua 4,000. Y mae y llywodraeth yn y brenin yn hollol; ac y mae Theodorus yn cario pob peth ymlaen gyda llaw greulawn a diarbed. Y mae ganddo y fyddin at ei wasanaeth.

*Hanesiaeth Ddiweddar y Wlad.*—Y mae hanesiaeth ddiweddar Abyssinia yn ymgorfforedig â Phabyddiaeth, peth masnach, ac â llawer o deithwyr Ewropëaidd, yn ystod y dau can' mlynedd diweddaf. Y genad-

aeth gyntaf o Ewrop i Abyssinia a fu gan y Portugïaid, yn y fl. 1493. Yn y fl. 1520, aeth cenadon Pabaidd i Abyssinia, dan Alvarez; ac yn 1540, bu hwyl-hynt yno dan ei frawd Vasco de Gama, môrdeithiwr enwog a aeth gyntaf o gylch Penrhyn Gobaith Da, ac a gafodd y ffordd yn y cyfeiriad hwnw gyntaf i'r India Ddwyreiniol. Aeth allan dan nawdd Emmanuel, brenin Portugal. Wedi hyny y daeth y cenadaethau Jesuitaidd, y rhai a gychwynwyd yn y fl. 1557, ac a barhasant am 125 o flynyddoedd, gan amcanu troi y trigolion at Babyddiaeth. Y mae hanes y cenadaethau hyn yn ymestyn trwy fwy na 30 o gyfrolau, meddai Syr Henry Rawlinson, ac y mae y nifer mwyaf o honynt wedi eu cyfieithu o'r Bortugaeg i'r Ffrancaeg a'r Saesoneg. Ysgrifenwyd hanes un o'r teithiau hyn gan y tad Lobbo, oddiwrth waith yr hwn y cymerodd Dr. Johnson ei ddrychfeddyliau yn ei ffugchwedl am Rasselas, tywysog Abyssinia, neu y Dyffryn Dedwydd. Bu y tad Lobbo fyw naw mlynedd yn Abyssinia, ac y mae wedi rhoddi desgrifiad prydferth a syml o'r ymherodaeth fawr hono. Cychwynodd y Jesuitiaid eu cenhadaeth yn nechreu yr ail ganrif ar bymtheg, ac o dan amgylchiadau ffafriol. Darfu i'r ymherawdwr Susneius, ar ol buddugoliaethau hynod ar ei elynion, gymeryd yr enw Seltam Segned, mewn rhan trwy hyawdledd y cenadon, ac hefyd mewn gobaith o gymhorth oddiwrth filwyr Portugal, i gadarnhâu ei orsedd. Yn y fl. 1625, rhoddodd holl lywodraethiad materion crefyddol yn nwylaw y Jesuitiaid, wrth ben pa rai yr oedd Alphonso Mendez, cenadwr o Portugal: gwnaeth y brenin ef yn batrïarch y genedl. Dylid sylwi mai nid y Jesuitiaid oedd y cyntaf i fyned â gwybodaeth o Dduw ac o'i Fab ef, Iesu Grist, i Abyssinia; o herwydd plànwyd baner Cristionogaeth yn y wlad yma yn y bedwaredd ganrif, gan Frumentius, yr hwn a aeth o'r Aipht i Abyssinia neu Ethiopia, a bedyddiodd y brenin a llawer o'i bendefigion. Wedi dychwelyd i'r Aipht, cysegrwyd ef gan St. Athanasius i fod yn esgob cyntaf yr Auxumitea, neu drigolion Abyssinia. Oddiwrth yr amgylchiad hwn y mae yr eglwys Ethiopaidd yn dibynu ar Alexandria, ac nid ar Rufain, am esgob neu batrïarch. Yr oedd yr efengyl yn Abyssinia cyn bodolaeth brïodol y cyfeiliornad aruthrol sydd yn myned dan yr enw Pabyddiaeth, er fod "y dyn pechod" yn gweithio yn y byd oesoedd cyn hyny. Ar ol y Jesuitiaid, anfonodd y *Propaganda* genadon i'r wlad hon, a chawsant lwyddiant mwy neu lai yn eu dull hwy. Yr un yw y gyfundraeth Babaidd yn llaw y Jesuitiaid ymhob oes a gwlad; y mae y dyben yn cyfreithloni ac yn cysegru pob moddion, meddant hwy; os bydd yr amcan yn dda a chlodwiw, gellir defnyddio twyll, celwyddau, dichell, yspeiliaeth, brâd-lofruddiaeth, a phob ystryw a all ddyfod i galon dyn syrthiedig. Ymdrechodd y goruchwylwyr cyfrwys, ffyddlawn, a rhai o honynt dysgedig hefyd, i gario allan holl egwyddorion eu Cymdeithas. Un o'u prif amcanion yw cael llywodraeth wladol a chrefyddol yn eu llaw, ac ymwreiddio trwy gymdeithas yn gyffredinol, fel y gallont feddu pob gallu i ledu Pabyddiaeth, ac i ddarostwng pob gwrthwynebiad o ba le bynag y daw. Ond y mae gan anwiredd, twyll, a brâd, eu pen draw, ac yn y diwedd y mae eu llwyddiant yn dyfod yn ddinystr iddynt. Darfu i Alphonso ymhyfhâu mor fawr trwy ei ddylanwad cynnyddol, nes y meiddiodd geisio gan yr holl bobl yn gystal a'r brenin ymwrthod â chrefydd eu tadau, a chofleidio y ffurf Babaidd o grefydd; ond tŷnodd yr holl wlad yn ei ben ef a'i gydlafurwyr. Bygythiodd ryfel a phoenau, fel y Chwil-lys, ar y trigolion am eu cyndynrwydd. Dechreuodd ail

fedyddio y bobl ag oeddynt wedi eu bedyddio yn ol crefydd eu tadau; cynhyrfodd y wlad; gwasgodd ar hawliau y brenin ei hun. Mewn canlyniad i'r pethau hyn, cododd ymrysonau, gwrthryfel, a phob drwg yn y wladwriaeth. Yn y diwedd daeth y brenin allan, a thrwy ddeddf benigol yn y flwyddyn 1631, rhoddodd hawl i'w holl ddeiliaid i gofleidio y grefydd a fynent. Yn y flwyddyn 1632, codwyd Babilideo i'r orsedd ar ol marwolaeth Seltam ei dad, a gwelodd yn dda glirio y wlad o'r dyeithriaid terfysglyd a drwg. Yn y flwyddyn 1634, alltudiwyd Alphonso a'i holl frawdoliaeth o Abyssinia yn ddiseremoni ac yn ddidrugaredd. O hyny allan y mae casineb pobl Abyssinia at Babyddiaeth wedi ymreddfu ynddynt, a gwyliant eu terfynau yn fanwl yn erbyn dyfodiad Pabyddion i'w gwlad. Darfu i'r Pabau, ar y dechreu, ymdrechu llanw y bwlch yn Abyssinia trwy anfon dau fynach-Capuchiaidd o Ffrainc i'w mysg; ond llabyddiwyd hwy gan yr Abyssiniaid càn gynted ag y darganfyddwyd hwy. Yna treiwyd moddion mwy dirgelaidd; ac yn y diwedd sicrhäwyd dylanwad Louis XV., brenin Ffrainc, i agor y drws i genadau Pabaidd i Ethiopia. Ond nid llawer a wnawd ar ol hyny i ennill y bobl i'r gredo Babaidd.

Yn yr un ganrif, teimlodd rhai o'r eglwys Lutheraidd yn Germany dros gyflwr gresynol yr Abyssiniaid, ac ymwelwyd â hwy yn 1634 gan Peter Heyling, o Lubec. Wedi iddo dreulio llawer o flynyddoedd yn Abyssinia, a bod mor lwyddiannus ag i ddyfod yn brif weinidog yr ymherawdwr, ac wedi gwneyd llawer o lês i'r bobl, ar ei ddychweliad i Ewrop collodd ei fywyd mewn rhyw ffordd na wyddys. Wedi hyny aeth y dyn hynod hwnw, Job Ludelp, allan yno, dan nawdd Ernest, Duc Saxe Gotha. Ond ni ddaeth dim daioni o hon, na'r genadaeth a fu wedi hyny dan nawdd y Duc Ernest.

Yn y flwyddyn 1780, ymwelwyd âg Abyssinia gan James Bruce, teithiwr enwog o Scotland. Y gofid a ddaeth arno am farwolaeth ei wraig a barodd i'r masnachwr cyfoethog hwn fyned ar deithiau meithion trwy Affrica. Ymwelodd â holl wledydd Gogledd Affrica, a threiddiodd i Abyssinia. Ymdrechodd ddarganfod tarddiad yr afon Nilus yn y blynyddau 1768—1782. Bu yn ngholl am amser, a thybid ei fod wedi ei ladd, neu wedi syrthio mewn rhyw ffordd arall yn ysglyfaeth i beryglon ei anturiaethau; ond dychwelodd i Loegr, a chyhoeddodd hanes ei deithiau. Chwanegodd Bruce lawer at ein gwybodaeth ddaearyddol o Abyssinia. Ar ei ol ef cawn olyniant o deithwyr Ffrengig a Saesonig. Y prif rai o'n gwlad ni oeddynt Salt a Pearce; esgob Gobat, yr hwn sydd er ys blynyddoedd bellach yn esgob Jerusalem,—ymwelodd ef â'r wlad fel cenadwr perthynol i Eglwys Loegr; Kraff ac Isenberg, y rhai a fuont yno yn 1839, ac am y deng mlynedd dilynol. Aeth Dr. Kraff trwy beryglon bron anhygoel wrtho ei hun yn yr anialwch; cysgai yn agos i ac yn nghlyw udiadau gwylltfilod rheibus; byddai ar drengu o syched; byddai y wlad weithiau am ugain milldir ar dân gan y brodorion i ddifa y tyfiant mawr blynyddol, a chauid ffordd y teithiwr gan y fflamau; gorfodid ef weithiau i fwyta y pylor a feddai i gadw bywyd rhag diffodd. Eto daeth bron yn ddianaf trwy fôr o beryglon. German oedd efe. Anfonwyd Harris i Abyssinia gan y llywodraeth Indiaidd yn y flwyddyn 1841. Ymwelodd Dr. Beke â'r wlad yn y blynyddau 1841 a 1866. Bu Syr Mansfield Parkyns yno o 1843 hyd 1850. Wedi

hyny cawn Meistri Hamilton, Stern, a Rassam. Haera rhai teithwyr fod yr Abyssiniaid yn hoff iawn o gîg îr, neu heb ei drîn. Dïau fod hen genhedloedd gogledd Affrica yn dilyn arferion felly yn nyddiau Moses, a thòrent ddarn o grëadur byw i fod yn ymborth. Y mae y gyfraith Foesenaidd yn ergydio yn llwyr yn erbyn arferion barbaraidd o'r fath.

*Yr Ysgrythyrau yn Ieithoedd Abyssinia.*—Cyfieithwyd yr Hen Destament i'r Ethiopäeg, neu iaith Abyssinia, o'r *Septuagint*, neu y cyfieithiad Groegaidd o'r Hen Destament. Y mae awdwr ac amser y cyfieithiad yn anhysbys; ond dywedir ei fod yn dwyn nodau amlwg o henafiaeth mawr, a thybir iddo gael ei wneyd yn y bedwaredd ganrif. Ceir darlleniadau neillduol yn y cyfieithiad hwn; ond lle y mae yn gywir, cyfyd tystiolaeth gref oddiwrth ei henafiaeth. Dim ond ychydig lyfrau a darnau o'r cyfieithiad hwn a argraffwyd. Y Salmau oeddynt y cyntaf a argraffwyd yn iaith Ethiopia, a Chaniad Solomon, wedi eu golygu yn Rhufain gan John Patten, yn y fl. 1513. Tybir i'r cyfieithiad o'r Testament Newydd gael ei wneyd gan Frumentius, yr hwn, tua'r flwyddyn o O. C. 330, a bregethodd Gristionogaeth gyntaf yn Ethiopia. Yn y fl. 1548 argraffwyd y Testament Newydd yn Rhufain gan offeiriaid Abyssiniaidd; ac argraffwyd ef wedi hyny yn Mibl Amlieithog Llundain. Dywedir nad yw yr argraffiadau hyn o werth mawr, am fod amryw gyfieithiadau, neu ysgrifau, wedi eu cymysgu ynddynt, a gwellhäodd y cyfieithwyr rai o'r gwallau a'r bylchau o'r *Latin Vulgate.* Dygodd Mr. Bruce gopi o'r Bibl Ethiopaidd gydag ef o Abyssinia, ond nis gwyddys pa beth a ddaeth o'r ysgrifau. Dywedir fod profion mewnol cyfieithiad o'r Bibl a ddaeth i feddiant Pwyllgor Cenadol Eglwys Loegr, yn dangos ddarfod ei ysgrifenu yn Axuma, hen brifddinas Abyssinia, ac iddo gael ei anfon gan Isaac i'r Abyssiniaid a breswylient yn Jerusalem. Bernir ei fod dros 800 ml. oed. Copïwyd yr ysgrifau hyn yn ofalus, a chyhoeddwyd hwynt ar draul y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor. Hen iaith eglwysig Abyssinia yw yr Ethiopäeg. Yr Amharäeg a'r Tigreäeg yw yr ieithoedd byw presennol yn y wlad hono. Ychydig yn y wlad a wyddai am y cyfieithiad eglwysig, oddieithr yr offeiriaid yn unig. O herwydd hyny darfu i M. Asselin de Cherville, y trafnoddwr Ffrengig yn Cairo, gael ei ddarbwyllo i ymgymeryd â chyfieithiad newydd o'r holl Fibl i'r Amharäeg, y dafodiaith frenhinol a siaredid yn llŷs Gondar, pa un a ffŷnai yn y parthau dwyreiniol o Affrica, sydd yn ymylu ar linyn y cyhydedd, a'r hon sydd gyfrwng cymdeithas rhwng brodorion Abyssinia a'r Arabiaid a'r Negröaid yn nhaleithiau mewnol y wlad. Darfu i M. Asselin, am ddeng mlynedd, ddefnyddio Ethiopiad dysgedig o'r enw Abu Rwmi, —yr hwn a fuasai yn gyfieithwr i Mr. Bruce yn Abyssinia, ac yn athraw i Syr William Jones yn India,—yn y gwaith pwysig hwn, a defnyddid dau ddiwrnod bob wythnos i'r gorchwyl. Cymerwyd gofal mawr wrth fyned ymlaen i wneyd cyfiawnder â'r cyfieithiad o'r Arabäeg i'r Amharäeg. Eglurodd y Ffrancwr dysgedig yr holl eiriau anhawdd i'r cyfieithydd Ethïopaidd, trwy gymhorth yr Hebräeg gwreiddiol, y cyfieithiad Syriaidd, neu y Deg a Thriugain, ac esbonwyr. Wedi gorphen un llyfr cymharent ef unwaith eto cyn myned ymhellach. Prynwyd y cyfieithiad hwn gan y Parch. Mr. Jowett i'r Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor; a darfu iddo fyned o'r Aipht i Malta, yn fwriadol i orphen y fargen. Dechreuwyd argraffu y Pedair Efengyl yn yr Amharäeg a'r Ethiopäeg,

mewn dwy gyfrol wahanol yn y fl. 1822, dan olygiad y Parch. Samuel Lee, Proffeswr o'r Arabäeg yn mhrifysgol Caergrawnt, a gorphenwyd y gwaith yn 1823, dan olygiaeth T. P. Platt, Ysw., Llyfrgellydd Mygedol y Gymdeithas hono. Yn ystod preswyliad Mr. Jowett yn yr Aipht, yn 1819, defnyddiodd Mr. Nathaniel Pearce, yr hwn a fuasai lawer o flynyddoedd yn byw yn Ethiopia; dechreuodd gyfieithiad o'r Pedair Efengyl i'r Tigreäeg, pa iaith a siaredir yn nhalaeth helaeth Tigre. Y mae yr Ysgrythyrau Sanctaidd yn awr yn mhrif ieithoedd Abyssinia, ac y mae llawer o gopïau o Air y Bywyd wedi myned i'r wlad hono a'r Aipht ar gefn mulod, ac mewn ffyrdd eraill, cyhoeddus a chyfrinachol. Gwelir, gan hyny, beth bynag yw sefyllfa foesol, anwaraidd, a barbaraidd, lliaws o drigolion Abyssinia, nad ydynt yn gwbl amddifaid o hen ffurfiau o Gristionogaeth, ac o Air Duw mewn iaith hen a diweddar. Sicr ydyw nad yw gair yr Arglwydd wedi rhedeg trwy y wlad hon, a chael gogonedd; rhestrir hi hyd heddyw gyda thywyll leoedd y ddaear, sydd yn llawn o drigfanau trawsder.

*Achosion y Rhyfel presennol a ddygir ymlaen gan Brydain Fawr yn erbyn Abyssinia.*—Dechreuad bychan, hunanol, ac annheilwng, sydd i lawer o ryfeloedd rhwng y naill genedl â'r llall. Weithiau, taflu ychydig o dê o long i'r dwfr, a dania un bobl yn erbyn y llall; bryd arall, gwrthod masnachu mewn opium, megys yn China; bryd arall, rhyw ymryson ynghylch beddau sanctaidd; bryd arall, am fod hen ddyn, yn tynu at ei bedwar ugain oed, yn byw yn Rhufain, ac yn ymhòni i lywodraeth ysbrydol a gwladol. Mewn ymrysonau cenhedlaethol rhwng y naill bobl a'r llall, y mae beïo yn fynych bob ochr; ond yn yr hwyl-hynt o India yn erbyn brenin creulawn Abyssinia, ymddengys fod y bai yn disgyn ar Theodorus ei hun; eto, anffawd ofnadwy fydd lladd miloedd o'i bobl ef i ddarostwng un person i reswm a chyfiawnder. Trueni nad ellid dal Theodorus, brenin Abyssinia, a pheidio gosod miloedd o wŷr arfog, na welsant eu gilydd erioed o'r blaen, i ladd y naill y llall am y cyntaf. Drwgdrin a chuchdrin Hamilton, Rassam, Berg, &c., fel negeswyr Prydeinig, teithwyr, &c., a'u cadw dros rai blynyddoedd dan wyliadwriaeth ddrwgdybus, ac hefyd yn ngharchar yn y modd mwyaf dirmygus a gwarthruddol, yw achos uniongyrchol y rhyfel. Y mae y swyddogion Prydeinig mwyaf, yn India a'r Aipht, wedi treïo trwy bob moddion moesol i gael y carcharorion o balfau Theodorus, ond yn ofer. Ysgrifenodd ein brenines Victoria ddau lythyr personol at frenin Abyssinia, yn deisyf yn daer ar iddo fod cystal a rhoddi y carcharorion diniwed i fyny iddi hi, fel cymwynas bersonol a neillduol iddi hi ei hun; ond parhâ y brenin yn gyndyn ac anhyblyg. Symudid y carcharorion o fan i fan; dysgwylient eu dïenyddiad o bryd i bryd; weithiau byddai eu lluniaeth ar ddarfod, a bywyd ar ddiffodd; bryd arall tòrai rhywbeth fel gwawr gobaith arnynt; ond y carchar a'r daeardŷ yw eu lletty truenus o hyd. Yn y fl. 1860 gwnaeth yr *Indian Government* Mr. Plowden yn fasnach-noddwr yn Abyssinia, ond ni chydnabyddwyd ef fel y cyfryw erioed gan Theodorus. Yr oedd Mr. Plowden wedi ymsefydlu flynyddau cyn hyny yn y wlad, ac yn meddu dylanwad gyda'r brenin. Yn 1849 ac 1850 yr oedd Theodorus yn cyfodi mewn gallu, er iddo fod unwaith yn perthyn i garnladron. Tra yr oedd Meistri Plowden a Bell, a gwraig gyntaf y brenin, yn fyw, äi y cyfan ymlaen yn dawel. Ni chyf-

lawnai efe fawr o greulondeb. Ond yn 1860, lladdwyd Plowden a Bell mewn ymgyrch â charnleidr o'r enw Garet, yr hwn a syrthiodd yn yr ysgarmes; ac i ddïal eu llofruddiaeth, lladdodd Theodorus 1700 o ganlynwyr Garet mewn gwaed oer, ar ol eu cymeryd yn garcharorion. Y mae dylanwad Prydeinig a Ffrengig yn dyfod i mewn fel elfenau yn effeithio ar helyntion mwy diweddar. Y mae terfynau yr Aipht a Thwrci yn ymylu tiriogaeth Theodorus, ac yr oedd efe yn awyddus i ehangu ei deyrnas i'r dwyrain a'r gorllewin. Am rai blynyddoedd cawn fod mynachdŷ Abyssiniaidd yn Jerusalem, a chafodd y masnachnoddwr Prydeinig yno orchymyn i amddiffyn y mynachdŷ; ond gwelodd y llywodraeth Brydeinig yn dda dŷnu yr amddiffyniad hwnw yn ôl. Dechreuodd hyny effeithio yn ddrwg ar ymddygiad y brenin. Dychymygodd fod Ffrainc a Phrydain am dŷnu ei linyn yn dŷn. Gwenwynwyd meddwl y brenin yn erbyn Prydain gan y rhai oeddynt o'i amgylch. Ond achos uniongyrchol y rhyfel yw gwaith Theodorus yn gwrthod rhoi i fyny i Brydain ei swyddogion cynnrychiolaidd a anfonwyd i Abyssinia, a thrwy hyny tafla warthrudd ar ein llywodraeth.

Ymddengys mai nid dyn cyffredin yw Theodorus, brenin Abyssinia, beth bynag yw adwythigrwydd ei ymddygiadau presennol. Dyma sydd gan Mr. Dufton i'w ddyweyd am ei fawrhydi y brenin Theodorus: "Rhoddes y brenin orchymyn ar unwaith i mi gael fy ngollwng i fewn, yr hwn a ddygwyd i mi gan frodor; felly, gan dŷnu fy het a fy esgidiau, a gadael yr olaf wrth y gorddrws, aethum ymlaen yn hŷf i ganol y bwthyn; ond mawr oedd fy syndod pan, yn lle canfod yn unman rwysgarwyddion brenhiniaeth Ddwyreiniol, mi a welwn yr enwog Theodorus, yr ymladdwr enwog, ac arglwydd unbenaethol llywodraeth fawr, wedi ymwisgo mewn crŷs a throwsers cotton plaen, a'r rheiny heb fod yn rhy lân, yn eistedd, nid ar orseddfainc, ond ar *divan* isel wedi ei chodi tua throedfedd oddiar lawr. Gan feddwl ar y cyntaf nad oedd yn bosibl mai y brenin ei hunan a eisteddai o'm blaen, yr oedd yr ymgrymiad isel â pha un yr aethum i fewn yn cael ei gyfeirio braidd ar antur. Ei gais trwy awgrym ar i mi eistedd a'm calonogodd, a chan blygu fy nghoesau i fyny yn y dull Dwyreiniol, mi gwrcydais i lawr ymysg y lleill. Yr oedd genym yn awr ddigon o *arrack* a *tedge* (mel-win) i'w yfed, yn gystal â boreufwyd o fara *teff* a chîg wedi ei stiwio i ddiwallu anghenion mwy sylweddol natur. Yn y cyfamser, y brenin, yr hwn oedd yn llymeitian arrack yr holl amser, a chwedleuai yn gartrefol ddigon. * * * Ymddangosai fel dyn tua phump a deugain, o daldra canolig, ac yn meddu ar gyfansoddiad cydnerth, ond nid cadarn iawn, yn ymddangos yn fwy o wydn a hiranadlog, nag o ddadblygiad anianyddol nerthol. Mae ei bryd yn dywyll, yn ymylu ar fod yn ddu, ond nid oes ganddo ddim o'r negro o'i amgylch. Mae ffurf ei wynebpryd fel yr eiddo Ewropëad. Mae ei ben wedi ei ffurfio yn dda, a threfnir ei wallt yn gydynau mawrion yn cyraedd yn ol o'r talcen. Mae y talcen yn uchel, ac yn tueddu at fod yn fawr. Mae ei lygaid yn ddu, llawn o dân, llym a threiddiol. Mae ei drwyn braidd yn Rhufeinig ei olwg, ychydig yn fwaog ac yn terfynu mewn pwynt. Mae ei enau yn berffaith, ac yr oedd y wên, yr hon yn ystod yr ymddyddan a chwareuai arno yn barhäus, yn hynod o ddymunol, gallaf ddyweyd swynol. Nid oes ganddo ond ychydig fwstash neu farf. Yr oedd ei ymddygiad yn hynod o ddymunol, graslawn, ac hyd yn nôd moesgar, ac amlygiad cyff-

redinol o wynebpryd, hyd yn nôd mewn llonyddwch, yn dangos dealltwriaeth a charedigrwydd. Ar y cyfan, ni chawsai wynebddewin yr un arwydd o nwydau gwylltion oddieithr yn mellteniad y llygad. Yr oeddwn yn gwylio am y saethiad llym o oleuni a ddeuai oddiwrthynt ar amserau, a meddyliwn beth a allai wneyd, ond nid ymddangosent i mi fel llygaid bradwrus. Teimlwn y gallai ymddwyn yn greulawn pan wedi ei gynhyrfu."

Dywed Syr Henry Rawlinson, yr hwn sydd awdurdod uchel ar hanes Abyssinia, nad Theodorus yw gwir etifedd coron y wlad, ac nad oes gwir yn yr hen draddodiad fod ei brenhinoedd wedi disgyn a theyrnasu yn ddifwlch oddiwrth Meneleth, mab brenines y Dê. Cawn fod wrthryfel wedi tòri allan yn erbyn y brenin Theodorus dan benaeth hŷf, o'r enw Gobaze, yr hwn sydd yn gwbl ffafriol i'r carcharorion, ac a wnai eu rhyddhâu pe gallai. Y mae llawer o'r milwyr rheolaidd wedi encilio at Gobaze; a darfu i'r brenin yn ddiweddar ladd 730 o'i filwyr ei hun am ddrwgdybiaeth o'u ffyddlondeb iddo. Gosododd y ddinas Dabra Tabor ar dân. Y mae yn ymloddesta mewn llofruddo ei ddeiliaid ei hun. Y mae wedi peri i fenywod o urddas gael eu dynoethi, eu fflangellu, a'u lladd. Y mae ei natur wedi creuloni fel pe byddai Nebuchodonosor yn cael byw a theyrnasu eto. Y mae lle i obeithio fod ei greulondeb wedi cyraedd ei uchder mwyaf; y mae hi yn rhy ddiweddar yn oesoedd y byd i greulonderau dirfawr gael eu dyoddef i deyrnasu yn ddigerydd a maith. Tŷnant ŵg a dïal y byd gwareiddiedig ar eu penau. Nid oes ammheuaeth, a chymeryd pethau yn eu cwrs cyffredin, na orchfygir Theodorus a'i fyddin gan ein 10,000 o wŷr duon, yn benaf, sydd wedi hwylio o Bombay dan gyfarwyddyd swyddogion Prydeinig. Rhwng y gwrthryfel mewnol a'r ymosodiad allanol, dichon y cyst creulondeb y brenin ei orsedd iddo, os nad ei fywyd hefyd. Y mae newyddion diweddar yn rhoddi ar ddeall fod y brenin yn penderfynu ymladd yn hytrach na gollwng y carcharorion yn rhydd. Y mae ein gwlad yn barod i dreulio 5,000,000p i gario yr ymgyrch ymlaen; ac y mae yr Aipht, India, a Phrydain, yn ffurfio adnoddau yr ymosodiad.

Ymddengys fod Dr. Krapf, trwy ganiatâd Cymdeithas Genadol Eglwys Loegr, wedi ymgymeryd â'r gorchwyl pwysig o fod yn gyfieithydd i'r hwyl-hynt yn erbyn Abyssinia. Diammheu fod yn annichonadwy cael ei well, os ei gystal; y mae wedi bod fel cenadwr yn Abyssinia am flynyddoedd; y mae yn gyfarwydd yn yr Amharäeg, yn naearyddiaeth y wlad, ac arferion y bobl; ac y mae ynddo gyfaddasrwydd penodol i estyn cymhorth i'r swyddogion milwraidd, ar ysgwyddau pa rai y mae pwys y rhyfel yn gorphwys. Dïau ei fod yn meddu dylanwad er daioni gyda llawer yn y wlad hono. Y mae yn ddyn o brofiad mawr fel cenadwr, a diammheu y gwna efe ei oreu i gario ei genadaeth ymlaen yn llwyddiannus. Yn nechreu Rhagfyr, 1867, cawn fod y flaen-fyddin wedi cyraedd Senafe, tref yn Abyssinia Brïodol, yn gorwedd ar dir mor uchel a 5,000 o droedfeddi uwchlaw y môr. Gwael iawn yw y bythynod sydd yno; ac ymddengys mai math o bentref yn dwyn agwedd hynod o isel yw Senafe. Manau glànio y fyddin o India yw Zulla neu Zoula, a Massowah, dau fan ar lànau Nubia; nid oes un porthladd yn perthyn i Abyssinia, er fod ganddi lawer o draeth. Syr Robert Napier yw cadfridog y fyddin Frydeinig sydd ar yr hynt bresennol yn erbyn Theodorus. Y mae anhawsderau byddin, yn enwedig cyflegrau trymion, yn fawr iawn, o her-

wydd fod y wlad mor fynyddig a diffyrdd. Gorfodid y flaen-fyddin i fyned trwy welyau cornentydd mynyddig, a'r rhai hyny yn gulion ac yn llawn cèryg mawrion mewn llawer lle. Yr oedd teithio y goriwaered gyda chryn bwysau yn waeth na dringo y rhiwiau. Ymddengys fod y mân benaethiaid yn ffafriol i ddyfodiad dyeithriaid i'w gwlad; ac y mae marchnadoedd yn debyg o gael eu sefydlu i ddiwallu anghenion y fyddin càn belled ag y gwna adnoddau y gwahanol barthau ganiatâu. Y mae y brodórion yn deall, trwy ddadganiad y Cadfridog, nad yn eu herbyn hwy y mae yr ymgyrch, ond yn erbyn eu brenin, am gamgarchariad cynifer o ddynion o bwys perthynol i lywodraeth y frenines Victoria. Tybir fod amryw o'r tywysogion nerthol yn y wlad, megys Cassai ac eraill, yn barod i gynnorthwyo yn erbyn Theodorus; ond dichon mai gwylied am gyfran o'r ysglyfaeth y maent. Dïau ei bod yn drugaredd i'r ymgyrch nad yw y fyddin Aiphtaidd sydd ar derfynau Nubia yn cael ymuno â'r milwyr Prydeinig; oblegid pe deallai yr Abyssiniaid fod y Mahometaniaid yn dyfod mewn rhyfel i'w herbyn, deffröid eu holl ragfarn crefyddol, a gallai y canlyniadau fod yn alarus. Gwna yr Abyssiniaid gasâu yr Aiphtiaid o galon. Y mae y 7,000 o wŷr a ddysgwylid i wrthwynebu ein milwyr heb ddyfod i'r golwg hyd yn hyn. Dywedir fod y brenin wedi gadael Dabra Tabor, a'r carcharorion gydag ef, a'i bod yn well arnynt yn awr na chynt.

Ar y 7fed o Ragfyr, llongwyd 19eg o gawrfilod yn Bombay, i'w cludo er gwasanaeth y fyddin yn Abyssinia. Cryn waith oedd eu hongian o'r man llwytho i'r llong. Ond trwy allu peiriannau nerthol, a deheurwydd celfyddydol, cyflawnwyd y gorchwyl peryglus mewn un diwrnod heb anffawd. Mawr oedd ystumiau, dirdyniadau, a llefain yr elephantiaid pan yn gorfod gadael y ddaear, a chael eu cludo trwy yr awyr i'w gosod yn y llong. Wrth gael eu gosod i lawr i'r llong, treient â'u trwnc ymaflyd yn y trawstiau a choed eraill y llestr; ond wedi cael y llong dan eu traed, tawelent yn ddioed, a rhoddid ychydig *arrack* iddynt i'w llonyddu. Barnwyd yn ddoeth beidio llwytho yr ugeinfed gawrfil am ei fod mor aflonydd; tebyg ei fod yn perthyn i blant heddwch, a gwrthodai yn lân gymeryd ei *bressio* i ryfel. Yr oeddynt tua phedair tunell yr un o bwysau. Ymddengys fod y llywodraeth yn India wedi pwrcasu tua 9000 o anifeiliaid i gario pynau, megys mulod, ceffylau, camelod, &c. Ysgubodd clefyd lawer o geffylau a mulod ymaith wedi iddynt lanio yn Nubia; ond y mae y clefyd yn cilio. Digon tebyg y gall yr elephant oddef mordaith faith llawn cystal, os nad gwell, na'r ceffyl. Dyoddefa y ceffyl yn fawr trwy gael ei gludo ffordd bell ar y môr. Cafwyd llawer prawf galarus o hyny wrth drosglwyddo ceffylau o Brydain i Rwssia yn ystod rhyfel maith y Crimea. Y mae awyr ucheldiroedd Senafe yn hynod o adfywiol, er ei bod yn oer yn ystod y nos. Ni chymerodd dim neillduol le wedi i'r flwyddyn 1868 ddyfod i mewn, ond y darpariadau arferol mewn rhyfelgyrchoedd, megys dyfodiad pob math o longau mawr i *Annesley Bay;* dadlwytho pob math o gelfi rhyfel ac ymborth; ac hefyd dyfodiad mulod, ceffylau, pynau, &c. Gosodir y *telegraph* i lawr o Zoula i fyny i Senafe; y mae yn debygol mai y lle olaf a fydd prif safle Syr Robert Napier. Cyn Ionawr y 3ydd, darfu i *Colonel* Merewether, ac eraill, perthynol i'r flaen-fyddin ymchwiliol, fyned 37 o filldiroedd ymhellach na Senafe, i Attegerat; cafwyd mai

mewn lle neu ddau yr oedd cryn rwystrau i fyned âg olwynion trymion; ond trwy lafur a medr y *sappers and miners* o Bombay, a manau eraill, gwna attalfeydd ddiflanu megys trwy swyn. Nid oedd yn bosibl dibynu ar y chwedl hon a'r son arall a ddilynent eu gilydd bron bob dydd am y Brenin Theodorus, ei symudiadau, a'r carcharorion. Cafwyd fod tywysogion y tir, hyd yn hyn, yn ffafriol i'r dyeithriaid. Ymddengys fod dau o dywysogion Theodorus yn cario rhyfel ymlaen yn erbyn eu brenin. Y mae tiriad y Cadfridog o Bombay wedi rhoddi bywyd chwanegol yn yr holl symudiadau. Gosodir pibellau am 17eg o filldiroedd i ddyfod â digon o ddwfr iach o'r bryniau cyfagos i Zoula, a bydd hyny yn fantais fawr i ddyn ac anifail.

Gan mai y prif lywydd, Syr Robert Napier, yw y dyn penaf a phwysicaf yn yr ymgyrch yn erbyn brenin Abyssinia, nid anfuddiol fyddai gosod ychydig o hanes ei fywyd ger bron ein darllenwyr. Ganwyd ef yn Ceylon tua'r fl. 1810, ac addysgwyd ef yn y Coleg Milwraidd yn Addiscombe. Ymunodd â'r *Bengal Engineers* yn y fl. 1826. Am y 18 mlynedd cyntaf bu mewn cysylltiad â'r Gweithiau Cyhoeddus dan y llywodraeth, ac yn y fl. 1842 y dygwyd ef i sylw neillduol, pryd yr enciliwyd o safle milwraidd Kurnool, ar derfynau y Punjaub, ar gyfrif yr hinsawdd afiachus, ac y dewiswyd ef i osod i lawr safle newydd yn Umballah, ac i gynllunio ac adeiladu milwrdai ëang yno. Hyd yn hyn yr oedd y milwrdai Indiaidd yn druenus o fach, diawyr, ac anghyfleus; ond gosododd Cadben Napier hwy ar sail newydd a gwell. Cafodd ei ffordd ei hun yn y gwelliadau, a daeth yn gymwynaswr cyffredinol i'r milwyr yn y parthau hyny. Yn y fl. 1845, ar ymdòriad disymwth y *Sikh war*, cafodd Cadben Napier genad i ymryddhâu oddiwrth ei ddyledswyddau anfilwraidd *(civil duties)*; ond fel pob dyn o egni, gofynodd am ganiatâd i fyned i gynnorthwyo i'r rhyfel, a chyfeiriodd ei ffordd tua maes mawr y frwydr. Ar ol marchogaeth 60 o filldiroedd, yr oedd mewn pryd i fod yn mrwydr y Moodkee, lle y lladdwyd ei geffyl. Lladdwyd ceffyl arall dano yn mrwydr Ferozeshah. Yr oedd yn un o brif swyddogion y cadfridog yn mrwydr Sobraon. Pan feddiannwyd Lahore gan y fyddin Frydeinig, darfu i Lord Hardinge ddewis *Major Napier* i'r gorchwyl o wneyd milwrdai, dros ychydig amser, i'w byddin yno; yr oedd y gwaith yn bwysig, ond cyflawnwyd ef yn ardderchog. Gwelodd gryn wasanaeth yn rhyfel y Sutlej, a derchafwyd ef bron ymhob brwydr yr aeth trwyddi, er mai graddol a diymhongar y dringodd i binacl ei anrhydedd presennol. Yn y fl. 1848, pan dòrodd y gwrthryfel yn Mooltan, anfonwyd ef fel prif beiriannydd, gan *General* Whish, i adgymeryd y lle, a gwasanaethodd trwy y rhyfel fel *chief engineer;* a phan chwanegwyd y fyddin, efe oedd yr ail mewn llywyddiaeth. Clwyfwyd ef yn drwm y tro hwn. Yr oedd *Major* Napier yn un o brif ddynion Syr John Cheap yn mrwydr Goojerat, a chafodd ei wneyd yn *Colonel.* Ar ymgysylltiad y Punjaub yn y fl. 1849, darfu i *Lord* Dalhousie ei ethol i'r swydd o *chief civil engineer* yn y wlad hono; ac y mae ei lafur yn y dosbarth yma o waith cyhoeddus yn ddechreuad cyfnod o ddiwygiad yn India. Mewn wyth mlynedd, darfu i Napier a'i gydweithwyr ddyfod â'r Punjaub i drefn ac ufudd-dod ymhell tu hwnt i'r hen diriogaethau yn India. Ond yr oedd Syr Henry Lawrence yn ben y llywodraeth leol, a dynion fel *Major* Edwardes yn cynnorthwyo. Yr oedd

dynion goreu India yn y bwndel. Y mae clod *Colonel* Napier yn fawr ar gyfrif y prif-ffyrdd a wnaeth trwy barthau anhygyrch; ac hefyd ar gyfrif y camlasau a luniodd i ddyfrhâu a ffrwythloni y Dorah crâs. Pan dòrodd y *Sepoy Rebellion* allan yn y fl. 1857, yr oedd *Colonel* Napier yn Mhrydain er mwyn ei iechyd; ond yn ddioed dychwelodd i India, a gosodwyd ef yn *chief of the staff*, dan *General* Outram, yn gyntaf, i waredu Lucknow. Wedi gwella o glwyf a gafodd yma, penodwyd ef yn brif *engineer*, gyda chodiad i fod yn *brigadier*, neu y swydd nesaf i *Major General*, yn myddin *Lord* Clyde, a gwnaeth lawer tuag at waredu Lucknow o ddwylaw creulawn y *Sepoys*. Yn fuan wedi hyny, anfonwyd ef i gynnorthwyo, neu yn hytrach i gymeryd lle Syr Hugh Rose, yr hwn a ddarostyngwyd gan gystudd, i lywyddu byddin *Central India*, ac i ddarostwng Tantia Topec a'i ganlynwyr, a thrwy hyny i ymdrechu tawelu y parth hyny o'r wlad. Yn y fl. 1860, darfu i *Colonel* Napier lywyddu dau ddosbarth o wŷr traed dan Syr Hope Grant, pan gymerwyd y *Takoo Forts* yn China, ac y gwasgwyd math o heddwch o Ymherawdwr China, dan furiau Pekin. Gan ddychwelyd i India yn y fl. 1861, gwnaethpwyd ef yn aelod o Gynghor Cyffredinol y Llywydd, a threfnodd y dosbarth milwraidd o'r Llywodraeth hyd y fl. 1865, pryd y nodwyd ef i'r swydd o *Commander-in-chief of the Bombay Army*. Crëwyd ef yn farchog am ei wasanaeth dan *Lord* Clyde, pan waredwyd Lucknow; ac yn mis Medi, 1867, gwnaethpwyd ef yn *Knight Grand Cross of the Star of India*. Dywedir fod yn anmhosibl traethu holl lafur cyhoeddus Syr Robert. Y mae wedi ennill calon pawb yn India ag sydd yn gwerthfawrogi gwelliant, cysur, ac ysbryd cymwynasgar. Os yw dewisiad doeth o Gadfridog yn bwysig, y mae yr ymgyrch yn erbyn brenin drwg a chreulawn Abyssinia yn debyg o fod yn llwyddiannus.

Pa beth fydd effeithiau agos a phell y rhyfel hwn, y mae yn anhawdd dyfalu; ond diammheu y delir dinas neu ddwy fel gwystl, y penodir swyddogion masnach mewn gwahanol drefi yn Abyssinia, ac y bydd teithwyr, cenadon, a Biblau, yn tramwy trwy y tir. Gobeithiwn yr egyr y rhyfel y drws i fasnach gyfreithlawn, ëang, a llwyddiannus, ac y bydd cenadon Protestanaidd y gwahanol Gymdeithasau yn brysio i'r drysau mawr a deflir yn agored o'u blaen. Dichon y daw llawer o bethau newydd i'r golwg mewn ychydig amser, megys hen ysgrifau o'r Ysgrythyrau, a llyfrau eraill, henafiaethau dyddorol, oll i raddau mwy neu lai, yn taflu goleuni chwanegol ar Air Duw. Pa hyd y bydd y prophwydoliaethau am ddychweliad Ethiopia heb eu cyflawni? Gellir golchi yr Ethiop yn wŷn yn ngwaed Crist, a daw meibion duon Ham i ymdrwsio â sancteiddrwydd. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Llafur yr Aipht, a marsiandïaeth Ethiopia, a'r Sabëaid hirion a ddeuant atat ti, ac eiddo ti fyddant; ar dy ol y deuant, mewn cadwyni y deuant trosodd ac ymgrymant i ti atat y gweddïant, gan ddywedyd, Yn ddïau ynot ti y mae Duw, ac nid oes arall, nac oes Duw," Esay xlv. 14. Y mae dyddiau i ddyfod ar Ethiopia pan fydd ei thrigolion yn prysuro at Dduw. Ac oni welwn ryw wystl bendigedig am dröedigaeth pobl Abyssinia yn yr "eunuch galluog, dan Candace," brenines yr Ethiopiaid, pan ei bedyddiwyd i'r ffydd Gristionogol gan Phylip yr apostol? "Ac efe a aeth ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen," Actau x. 26—40. "Y bychan a fydd yn fil, a'r wael yn genedl gref. Myfi yr Arglwydd a brysuraf hyny yn ei amser."

# GOHEBIAETH.

## AT Y GOLYGYDD.

BARCHEDIG SYR,

Yr wyf yn anturio cyflwyno i'ch sylw yr hyn a ganlyn, gan obeithio, os caiff dderbyniad, y gall fod o fûdd i rai o'ch darllenyddion, fel eglurhâd ar yr hyn y cyfeirir ato.

Yn tu dal. 68 o'r TRAETHODYDD am Ionawr diweddaf, dywedir ddarfod llofruddio Lewis Owen, Ysw., o'r Llwyn, Dolgellau, yn "Nghoed Monthrey." Gan nad oes y fath le â *Choed Monthrey* yn Nghymru, tebygol yw mai camgymeriad y bywgraffydd Albanaidd, neu ei argraffydd, ydyw, ac mai *Coed Mawddwy* a ddylasai fod. Yr wyf yn cofio darllen yr un hanes yn mywgraffiad y Dr. Owen gan Orme, lle y camargraffwyd yr enw *Dugoed* yn *Dugsed*, trwy anwybodaeth ac anfedrusrwydd y Saeson.

Gan nad yw hanes y gyflafan yn Nghoed Mawddwy yn rhyw hysbys iawn, nid anaddas dwyn y dyfyniad canlynol i sylw, allan o grynodeb byr o hanes y Dr. Owen, yn rhagflaenu y cyfieithiad o draethawd yr awdwr a elwir "MARWEIDDIAD PECHOD MEWN CREDINWYR," gan Hugh Jones, Maesglasan; argraffedig yn y Mwythig yn 1796. Wrth olrhain llinach y Dr., dywedir fel hyn:—

"Cafodd ei achau neu ddechreuad oddiwrth Lewis Owen, o'r Llwyn, gerllaw Dolgellau, yn Sir Feirionydd, yswain, yr hwn ydoedd ŵr boneddig âg etifeddiaeth ganddo o gylch tri chant o bunnau yn y flwyddyn. Y pendefig hwn ydoedd â'i ddisgyniad, o ran gwaedoliaeth, oddiwrth fab ieuengaf Llewelyn ap Gwrgan, Tywysog Morganwg, ac Arglwydd Caerdydd. Yr ydoedd wedi ei osod mewn sefyllfa neu swydd anrhydeddus yn y wladwriaeth gan y brenin Harri yr Wythfed, pa un a gyflawnodd gyda pharch ac awdurdod tan deyrnasiad y brenin hwnw, gyda theyrnasiad Edward y Chwechfed, y frenines Mair, a rhan o deyrnasiad Elizabeth.

"Pan ydoedd yn Ben Sirydd gwlad Meirionydd, bu achosion arno i fyned i'r llys gwladol, neu sessiwn, yn Nhrefaldwyn; ac yn ei ddychweliad adref oddiyno, efe a syrthiodd, yn anhapus, i blith yspeilwyr, o ba rai yr oedd amryw frodyr, a elwid *Gwilliaid Cochion y Dugoed*, yn mhlwyf Mallwyd; lle ag oedd, y pryd hyny, yn anhawdd ac yn beryglus i'w dramwyo gan anialwch. Wedi i'r lladron sicrhâu llidiard ar y ffordd trwy ba un yr ydoedd i fyned, pan ddaeth efe i'r lle, gollyngasant saeth ato, yr hon a aeth trwy ei ben ef, ac a'i lladdodd; ac yno y gosodwyd croesbren i fyny (yn ol defod y Papistiaid) i arwyddocâu y lle y syrthiasai; ac fel yr oedd y teitl Barwn wedi ei ganiatâu iddo gan y brenin, gelwid y llidiard dywededig gerllaw iddi yn *Llidiard Croes y Barwn*, yr hwn hefyd a elwir *Llidiard y Barwn* hyd y dydd hwn."

Gan fod y cyfieithydd, Hugh Jones, yn enedigol o blwyf Mallwyd, yr oedd efe yn berffaith hysbys o draddodiad y gymydogaeth am y lle. Ceir yr un adroddiad o ran sylwedd, ond gryn dipyn yn helaethach, yn Hanes *Arglwyddiaeth Mawddwy*, gan Glasynys, yn Y BRYTHON, Cyf. V., tu dal. 456—458.

Haid o yspeilwyr anfad, yn byw ar ladrad ac yspail, oedd y *Gwilliaid Cochion;* gweddillion hen fyddinoedd gwrthryfelgar, wedi ffoi i'r cymmoedd anial hyn, a'u heppil ar eu hol am oesau yn fflangell ar y wlad, ac yn derbyn atynt ffoaduriaid cyffelyb, lladron, a llofruddion. Dywedir eu bod felly o'r flwyddyn 1114, pryd y dechreuasant ymsefydlu yn y lle, hyd 1555, pryd y penderfynodd y Llywodraeth roddi terfyn ar eu rhwysg; ac yn fuan wedi hyny, llwyr wasgarwyd a dyfethwyd hwynt o'r tir.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

M.

# NODIADAU LLENYDDOL.

*The Book of Common Prayer, and administration of Baptism and the Lord's Supper, with other services.* Prepared for use in the Evangelical Churches. By Ministers and Members of the Established and Nonconformist Churches. London: W. J. Johnson.

*Introduction to the Book of Common Prayer, &c.* London: W. J. Johnson.

Er nad yw y Llyfr Gweddi Cyffredin, na'r dadleuon sydd wedi codi o hono o fewn cylch yr Eglwys Sefydledig, ddim yn dwyn cysylltiad uniongyrchol â ni, Ymneillduwyr, eto y mae cysylltiad anuniongyrchol rhyngom, a hwnw o bwys mawr, gan mai ymdrech ydyw, mewn gwirionedd, rhwng Protestaniaeth a Phabyddiaeth. A dyma'r pam y dymunem alw sylw y darllenydd at y ddau lyfryn hardd sydd yn awr ger ein bron.

Y mae yr olaf o'r ddau wedi ei ysgrifenu gan weinidog o'r Eglwys Sefydledig —gŵr duwiol a pharchus—fel arweiniad i mewn i bwnc a dadl y Llyfr Gweddi. Y mae yn cynnwys, mewn lle bychan, holl hanes hanfodol y Llyfr Gweddi fel y mae wedi bod yn arferedig yn Eglwys Loegr. Y mae yn dechreu gyda'r un cyntaf yn amser Iorwerth y VI. (1549), a'r ailargraffiad diwygiedig gan Cranmer (1552); ac yna yn dangos y cyfnewidiadau Pabaidd a ddygwyd i mewn iddo yn nyddiau Elizabeth, ac wedi hyny. Y mae yr awdwr yn adrodd yr hanes yn onest a digêl; ac y mae y stori trwyddi yn hynod o ddorus ac addysgiadol, ond nid mewn un modd yn anrhydedd i Brotestaniaid Eglwys Loegr. Yn y rhan olaf o'i lyfryn, y mae yr awdwr yn nodi y pethau an-Mhrotestanaidd a chroes i ysbryd yr efengyl sydd yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, a'r rhesymau dros eu gadael allan. Y mae yn dyfynu y Llyfr Gweddi yn eithaf têg, ond yn eithaf diarbed: a byddai yn werth i Ymneillduwyr yn gystal ag Eglwyswyr ei ddarllen.

Am y Llyfr Gweddi ei hun, gŵyr pawb sydd wedi talu sylw i'r pwnc, nad yw ond casgliad o amryw ffwnau *(sources)*. Oddieithr y rhanau Ysgrythyrol, y mae y darnau mwyaf henafol sydd ynddo wedi eu cymeryd allan o Lyfrau Gwasanaeth yr Eglwysi Groeg a Lladin, megys y *Litany*, y *Te Deum*, &c., &c. Ond y mae amryw o'r gweddïau, &c., diweddar wedi eu cymeryd allan o Lyfrau Gwasanaeth Calvin a'r Eglwysi Lutheraidd, ond wedi eu hanurddo, fel y soniwyd, â rhanau anefengylaidd a Phabyddol. Ond yn yr argraffiad sydd yn awr ger ein bron, y mae y rhai olaf wedi eu gadael allan, a'r llyfr trwyddo yn un gwir Brotestanaidd. Yn wir, y mae ei gynnwys mor bur a dibleidiol, fel y gellir ei ddefnyddio mewn unrhyw gynnulleidfa efengylaidd fo yn dewis ffurf o wasanaeth, pa un bynag fyddo ai Sefydledig ai Ymneillduol. Gwyddom am rai Ymneillduwyr sydd yn darllen rhanau o'r Llyfr Gweddi yn breifat, er mwyn dyhewyd; ac y mae yr ysbryd crefyddol, y syniadau gwych, yn gystal a'r cyfansoddiad pryd-ferth, yn eu gwneyd yn dra manteisiol i hyny: wel, i'r cyfryw gallwn gymeradwyo yr argraffiad destlus hwn o galon. Byddai yn dda genym weled argraffiad cyffelyb yn y Gymraeg, er mwyn ein cydwladwyr sydd yn dewis gwasanaeth yr Eglwys Wladol. Y mae y Llyfr Gweddi fel y mae yn Gymraeg, rhwng aflerwch ei iaith, a Phabydd-dra rhanau o hóno, yn warth i'r genedl. Rhoddai argraffiad diwygiedig gyfle i ddwyn ei iaith i briod-ddull Cymreig, a'i athrawiaeth i gysondeb â'r efengyl; yna byddai yn deilwng o'r genedl fwyaf darllengar, yn gystal a'r fwyaf Brotestanaidd, yn y byd.—M.

*Cofiant a Phregethau y diweddar Barch.* John Griffith, *Jerusalem, Arfon.* O dan olygiad y Parch. John Owen, Tŷ'nllwyn. Hefyd y Farwnad Fuddugol gan J. Gaerwenydd Pritchard. Caernarfon: John Davies.

Llyfr sydd ymhob ystyr yn deilwng o dderbyniad croesawus gan genedl y Cymry. Hysbysir i ni y bydd yr holl elw a ddeillia oddiwrtho yn myned at

gynnorthwyo addysgiaeth plant Mr. Griffith. Pe na buasai unrhyw ystyriaeth arall yn ei argymhell ar y wlad, y mae hyn ynddo ei hun yn dadleu o'i blaid gyda grym neillduol. Y mae yn dra dyeithr meddwl fod Cyfundeb crefyddol fel yr un y cysegrodd y brawd anwyl hwnw ei nerth i'w wasanaethu, Cyfundeb mor lliosog, ac mor gyfoethog ei adnoddau, heb feddu unrhyw ddarpariaeth eto, sydd yn deilwng o'r enw, ar gyfer gweddwon ac amddifaid y dynion y mae eu llafur yn yr Efengyl mor ryfeddol o gymeradwy yn ei olwg. Nid ydyw y Methodistiaid mewn un modd yn ddiffygiol mewn meddwl yn dda o honynt eu hunain. Fel yr Americaniaid, golygant bod y *Britishers* wedi chwipio y byd, a hwythau wedi chwipio y *Britishers*. Ac ar lawer cyfrif fe addefa pawb fod ganddynt seiliau go dda i'r "fôst hyderus yma." Ond rhaid iddynt oddef i ni ddyweyd wrthynt eu bod yn hyn o beth ymhell bell ar ol enwadau crefyddol eraill y deyrnas. Y maent eto heb edrych yn ystyriol yn wyneb y ffaith fod eu gweinidogion methedig, ynghyda gweddwon ac amddifaid eu gweinidogion, yn cael eu gadael ganddynt ymron yn gwbl ddiamddiffyn. Hyderwn yn fawr na fydd i ddim lesteirio yr amcan sydd yn awr mewn golwg ganddynt o ffurfio trysorfa i gyfarfod âg amgylchiadau cyfyng pobl y mae eu teimladau goreu hwy eu hunain yn cydnabod fod ganddynt y fath hawliau cryfion ar eu caredigrwydd. Ond heb sôn am amcan arianol cyhoeddiad y llyfr hwn, y mae y llyfr ynddo ei hun yn deilwng o dderbyniad, ac ni fyddai yn hawdd i neb ei ddarllen yn ystyriol heb fod, o hyny, ar ei ennill yn fawr. Y mae Anerchiad y Cyhoeddwr yn feddylgar a chynhes, yn deilwng o'r caredigrwydd a barodd iddo, er mwyn enw ei hen weinidog, ac addysg ei blant, ymgymeryd â'r anturiaeth o gyhoeddi y gyfrol. Am y Cofiant, y mae enw ein cyfaill galluog o Dŷ'nllwyn yn ddigon o warant dros ei werth. Dyma damaid o un o hen gyfarfodydd eglwysig Cymru ag yr ydym yn ofni na cheir ei fath yn fynych y dyddiau hyn: Morris Jones, Bethesda, yn gofyn i Sioned Cefnwerthyd, nain Mr. John Griffith, pan yn cwyno o achos llygredd ei chalon, "Pa faint a gymeri di gen i am dy grefydd, gael i ti dewi cadw sŵn efo hi?" Wrth glywed y fath gwestiwn, edrychai yr hen wraig yn hanner digllawn, a hanner dychrynedig, ac atebai yn swta, "Ni chrëodd y Brenin Mawr ddim digon i brynu fy nghrefydd i!" Yr oedd ei hŵyr o'r un ysbryd, ac y mae yn dra dyddorol darllen y dyfyniadau a roddir o'i ddyddlyfr, y rhai sydd yn dangos mor onest fyddai yn ei hunanymholiad, ac mor ddifrifol yr ymestynai am ddyfnder yn ei grefydd bersonol, yn gystal ag am wir lwyddiant yn ngwaith mawr ei swydd. Y mae y profiad a ennillodd ei hunan o rym duwioldeb, fel y dangosir ef yn y llyfr hwn, yn fwy o dystiolaeth i grefydd na'r pregethau goreu a draddododd erioed. "Do," meddai, yn agos i'r cyfnewidiad, "mi fûm yn rhodio o amgylch y ddinas flynyddau lawer, yn gwahodd pechaduriaid i edrych ar ei gogoniant a'i mawredd; ond dyma'r pyrth yn agor, a minnau yn myned i mewn,—a myned i mewn a fydd ynddi dros byth. 'I lawenydd dy Arglwydd,' ac nid i'w wasanaeth heddyw." "O," meddai, yn siriol, "yr wyf yn teimlo fy hun yn ngwaelod y glŷn, ond y mae yr Haul wedi codi, a'r niwl a'r tywyllwch wedi cilio ymaith yn llwyr." "O! dyma'r nefoedd. O! dyma'r nefoedd." Y mae yn llawer o galondid i'r rhai sydd yn ceisio dilyn yn yr un gwasanaeth gael gweled nad ydyw y Meistr mawr yn gadael ei weision yn awr eu cyfyngder.

Am y Pregethau y mae yma bymtheg o honynt; ac ni raid i ni ddyweyd wrth y rhai a gafodd y fraint o wrando Mr. Griffith eu bod yn arddangos llafur, meddylgarwch, naturioldeb, a difrifwch ysbryd pregethu, i raddau mawr iawn. Fe allai y byddai yn well i ni, er mwyn y rhai na chawsant y fraint o fwynhâu ei weinidogaeth, roddi ychydig enghreifftiau. Dyma ei grynhöad o sylwadau a wnaethai ar Ailenedigaeth:

"Yn awr, y mae y cyfnewidiad hwn, a elwir yn eni drachefn, yn cynnwys y tri pheth hyn. (1) Cyfnewidiad yn y syniad am bethau ysbrydol. (2) Cyfnewidiad yn y teimlad at bethau ysbrydol. (3) Cyfnewidiad yn yr ymddygiadau tuag at y pethau hyny. Y cyntaf yn tarddu o gyfnewidiad yn y deall; yr ail yn tarddu o gyfnewidiad yn y serch; a'r trydydd yn codi o gyfnewidiad yn yr ewyllys. Mewn

gair, dyna yw ailenedigaeth: bod yr holl ddyn wedi ei ddwyn i gydymffurfiad â gwirioneddau yr efengyl, neu â ffeithiau mawrion teyrnas Dduw. Yr un fath yn hollol ag y mae dyn yn cael ei hun yn gymhwys i'r byd naturiol, felly y mae y cyfnewidiad hwn yn cymhwyso dyn i'r byd ysbrydol, &c."

Mewn pregeth ar "Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant, &c.," cawn sylw fel yma:

"Y mae pob peth yn y meddwl Dwyfol ag oedd yn erbyn y dyn fel pechadur, yn y drefn yma yn cydgyfarfod yn eu hawydd am ei achubiaeth. Dywedir am y gàreg mai yn ffurf *arch* neu bont y deil fwyaf o bwysau, ac yno y mae fwyaf nerthol, ond i'r sylfaen fod yn gadarn, a'r maen clô fod yn ei le. Er i'r cèryg eraill gael eu gosod ar bob ochr yn gwbl reolaidd, os na bydd y maen clo yn ei le, nid oes rhyw lawer o ymddiried i'w roddi ar yr *arch* hono. *Arch* ydyw trefn yr efengyl er dy achubiaeth; ac nid oes arnaf ddim ofn i neb o honoch roddi gormod o bwysau arni. Ar un llaw y mae cyfiawnder, sancteiddrwydd, &c.; ar y llaw arall y mae trugaredd, gras, &c. Y sail yw cyfryngdod yr Arglwydd Iesu; y maen clô ei Iawn difai i Dduw. Mae un pen i'r bont yn eich ymyl; y canol gyferbyn ag uffern; a'r pen arall gyda Duw yn y nefoedd. * * *

Wrth son am gysondeb gyda'r gwaith o weddïo, mewn pregeth ar Salm lv. 16, 17, dywed:

"Dyna un gwahaniaeth mawr rhwng y dyn duwiol a'r rhagrithiwr. Y mae y rhagrithiwr yn galw ar yr Arglwydd yn ei gyfyngder; 'Pan laddai efe hwynt, hwy a'i ceisient ef, ac a ddychwelent, ac a geisient Dduw yn fore. Er hyny rhagrithio yr oeddynt iddo ef â'u genau, a dywedyd celwydd wrtho â'u tafod,' Salm lxxviii. 34, 36. Y gwirionedd am y rhagrithiwr ydyw, nad ymlawenycha efe yn yr Hollalluog, ac na eilw efe ar Dduw bob amser (Job xxvii. 10); ond am y dyn duwiol, wedi dechreu o hóno yntau alw ar yr Arglwydd mewn cyfyngder yr un fath a'r llall, y mae efe yn parhâu i alw ar Dduw wedi i'r cyfyngder fyned heibio. Y mae y pwll ar ochr y ffordd yn llifo yn anghyffredin pan fyddo yn gwlawio; ond am y ffynnon, y mae gofer hono yn rhedeg wedi i'r gwlaw beidio, ac wedi i'r sychder mawr dd'od i mewn; ac yn wir, ar flwyddyn sychder nid yw y ffynnon fach yn gofalu dim. Y mae yn gysur mawr iawn i ni y cawn fyned at yr Arglwydd yn ein cyfyngder, yn ol yr adnod gyntaf yn y testun; ond y mae cysondeb Dafydd, yn ol yr ail adnod, yn taflu cywilydd mawr iawn arnom."

Ac yn yr un bregeth:

"Os bydd arnoch eisieu gair gyda gwŷr mawr y ddaear, y mae yn rhaid aros wrth eu hadeg hwy; ond am y nefoedd, y mae ei drws hi yn agored bob amser; waeth yn y byd pa adeg y gwnewch alw. Fe ddarfu i Paul a Silas guro wrth y porth tua hanner nos, ac fe gawsant dderbyniad yn y fan; ni fu yn rhaid iddynt aros *moment* am dderbyniad. Yr oedd drws y nefoedd yn agored yr adeg hono o'r nos; a'r gwirionedd ydyw, nad yw drws y nefoedd un amser yn gauad—ei phyrth ni chauir na dydd na nos. Na, y mae croesaw i chwi alw yr amser a fynoch. Y mae wedi ei baentio ar ambell ddrws mai o naw yn y boreu hyd dri yn y prydnawn y ceir derbyniad. 'Does dim oriau fel yna wedi eu penodi i fyned at orsedd gras,—'gan weddïo bob amser.'

"Y mae ambell i ŵr boneddig a chanddo *flag* i fyny wrth ei dŷ i ddangos y bydd ef gartref, a'i thỳnu i lawr pan yn myned oddi cartref. Felly y mae Duw wedi codi *flag* yr Efengyl i ddangos ei fod ef gartref yn Nghrist—yn barod i roddi derbyniad i bwy bynag a glyw ar ei galon i alw gydag ef. A gwrando, bechadur, y mae yr hen *flag* i fyny heddyw, yr hyn sydd yn dangos fod y gŵr heb fyned oddicartref Gelwch gydag ef, fy nghyfeillion, yn bur aml.

"Ac am wŷr mawr y ddaear, nid rhyw hir iawn y maent hwy yn aros gyda'r tlawd, wedi iddo gael mynediad i fewn atynt; ond am yr Arglwydd, fe erys gyda thi cyhyd ag yr ewyllysia dy galon. Y mae genym hanes am rai dynion duwiol a fyddent am oriau meithion bob dydd yn nghymdeithas Duw. Baxter a fyddai felly—David Brainerd, a Jonathan Edwards—a dywedir y byddai rhai o honynt yn colli pob ymwybyddiaeth o honynt eu hunain yn gwbl. Pa fodd bynag am danynt hwy, y mae genym hanes am un neu ychwaneg a fu yn cymdeithasu gymaint gyda Duw nes y darfu iddynt hwy a Duw rhyw golli arnynt eu hunain agos. Yr oedd Duw ac un o honynt yn y fath agosrwydd mewn cymdeithas, nes y tỳnodd Duw ef ato ei hun i'r nefoedd fel heb feddwl yn iawn. * * A'r olwg yma ar weddi rŷdd esboniad

cyfiawn i ni pa fodd yr oedd Iesu Grist yn weddïwr mor fawr. Nid am fod arno angen am bethau ei hun yr oedd efe yn myned mor aml i'r mynydd, ac yn aros yno mor hir, ond am mai trwy weddïo y byddai yn cael cyfle i gymdeithasu â'i Dad."

Y fendith o gael nesâu at Dduw hollbresennol:

"Y mae Solomon yn dyweyd am Dduw nad allai y nefoedd a nefoedd y nefoedd mo'i gynnwys. (1 Bren. viii. 27.) Y mae yna lawer iawn o bethau sydd yn llawer mwy nag a allwn ni ddirnad. Y môr, y mae hwna yn llenwi lle mawr iawn, ond y mae terfyn iddo. Yr awyrgylch sydd yn perthyn i'r ddaear hon, y mae yn rhaid ei fod yn bur fawr; ond y mae terfyn i hwn. Y mae yn cyraedd, meddynt, ychydig filldiroedd oddiwrth y ddaear, ond y mae yna awyrgylch rhyw fyd arall y tu allan i awyrgylch y ddaear. Y mae goleuni yr haul yn llenwi lle mawr iawn; ond y mae yn ddïau fod terfyn i hwn, a bod yn bosibl i chwi feddwl am greadur yn cychwyn o'r haul ar adenydd pelydrau y goleuni; ac y mae yn bosibl i chwi feddwl am dano yn pasio y byd hwn, yn pasio byd wedi hyny, a byd ar ol hyny, ond o'r diwedd dacw fe wedi myned mor bell oddiwrth yr haul nes y mae wedi colli pob pelydr o oleuni oedd yn ei ddilyn, canys y mae terfyn i hwnw. Ond am Dduw, pe tybiech eich bod yn cymeryd taith i ryw gyfeiriad, ac yn gadael y naill fyd ar ol y llall, nes y byddech yn nherfynau eithaf y greadigaeth fawr—a phe teimlet ar dy galon i fyned gam ymhellach, pe byddai hyny yn bosibl, caet dy hunan yn nghanol Duwdod wed'yn; oblegid y mae ei fesur ef yn hŵy na'r ddaear, ac yn lletach na'r môr; yn uwch na'r nefoedd, ac yn ddyfnach nag uffern (Job xi. 8, 9). * * Yn awr, Gristion, ai nid yw y Duw hwn yn un teilwng a chymhwys iawn i ti obeithio ynddo? oblegid lle bynag y rhaid i ti fyned, raid i ti ddim myned dy hunan: 'Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd fel na lifont drosot: pan rodiech trwy y tân ni'th losgir, ac ni ennyn y fflam arnat.' (Esaiah xliii. 2). Ni chaiff na thân na dwfr wneyd dim niwed i ti; a dyna y rheswm—fe fydd Duw gyda thi. * * Diolch am Dduw hollbresennol!

Hyderwn yn fawr y bydd galwad yn fuan am ailargraffiad o'r llyfr yma, ac y par fod y pregethwr teilwng hwn, a alwyd ymaith pan oedd mor anhawdd ei hebgor, i filoedd o'n cydwladwyr, "wedi marw, yn llefaru eto." Dylesid cymeryd mwy o ofal wrth gywiro y prawfleni.

*Caniadau Islwyn.* Wrexham: Hughes & Son.

"Edrych ar hwn; dyma beth newydd." Yn nghanol y cyffredinedd sydd mor nodweddiadol o doraeth ein barddoniaeth, y mae darllen y llyfr hwn yn peri i ddyn deimlo fel y teithiwr pan, ar ol hir grwydro yn y diffaethwch, y gorphwysa ei lygaid ar lesni adfywiol yr *oasis*. Nid rhyw lawer y mae Islwyn wedi ymboeni gyda'r mesurau caethion. Ac ymddengys i ni fod y bardd trwy hyny wedi ennill mantais ddyblyg: yn un peth, y mae ei athrylith wrth ymysgwyd oddiwrth yr hualau hyny wedi gallu ymysgwyd oddiwrth yr hualau eraill hefyd oedd yn cadw ysbryd barddoniaeth yn gymaint yn y llwch a'r tlodi, ac mewn canlyniad wedi gallu esgyn i'r mynydd a chynnal cymundeb drosto ei hun â dirgelwch y mawr, y prydferth, a'r da; ac yn ail wrth ganu yn y mesurau rhyddion, y mae yn gochel profedigaeth y rhai sydd yn gorfod "canu iddynt eu hunain ac i'r awenau," neu o leiaf iddynt eu hunain ac i gylch bychan y rhai sydd wedi meistroli cyfrinion "cerdd-dafawd," ac y mae yn cael canu i'w gydwladwyr yn gyffredin. Y mae ymysg ein darllenwyr lïaws sydd yn hoff o farddoniaeth pan ymddengys o'u blaen mewn ffurf y gallant ei hadnabod, ond na wyddant yn iawn beth i'w feddwl o'r holl gymhlethyddiaeth a'r clogyrnwch sydd yn gorwedd rhyngddynt â'i thegwch â'i gogoniant pan wedi ei chuddio yn y mesurau caethion. Y mae y *Caniadau* gwerthfawr hyn yn ddealladwy i'r dosbarth lliosog yma, a diammheu y byddant yn eu mwynhâu yn fawr; ac nid allant lai na bod yn dderbyniol iawn hefyd gan hoffwyr y mesurau caethion, o leiaf y dosbarth hwnw o honynt ag y mae ganddynt "enaid uwchlaw botymau." Nid oes un bardd Cymreig sydd yn fwy hoff o natur nag yw Islwyn, ac nid oes yr un sydd mor lwyddiannus mewn darllen ei chyfrinion ysbrydol, a dehongli ei hawgrymiadau. Pa mor swynol bynag yw golygfeydd anian iddo, y mae eu swyn penaf yn gynnwysedig yn eu hystyr arwyddluniol, pan y gwasanaethant fel *hieroglyphics* i awgrymu i'w feddwl

bethau mwy. Nid oes bardd yn fyw sydd wedi llwyddo yn fwy i sylweddoli y gwirionedd mawr mai dammeg yw y grëadigaeth, ac mai gogoniant penaf y nefoedd a'r ddaear ydyw eu cyfaddasrwydd i arwain ein meddwl at y "nefoedd newydd a'r ddaear newydd lle y mae cyfiawnder yn cartrefu." Fe allai y tarawa y dernyn canlynol ambell i feddwl yn dra dyeithriol, ond nid oes dim yn y llyfr sydd yn fwy tebyg i Islwyn,—dim sydd ar unwaith yn dangos yn fwy clir fewnolrwydd ei ysbryd, a chydymdeimlad dwfn ei awen â chyfrinion y byd ysbrydol. Byddai cymdeithasu â'i farddoniaeth yn llawer o ddiogelwch rhag daearoldeb a materoliaeth ein hamseroedd.

"TYBIAETH.

"Nid ym yn sicr fod yr enaid mawr
Yn cyfeiliorni pan y cwyd uwchlaw
Holl brofiad dyn o'r cawell hyd y bedd,
Gan sisial pethau annhraethadwy, gyru
Pob ffigwr dros y terfyn, ymbellâu
Fel seren i'r tragwyddol.

"Onid oes
Gan enaid hanes ynddo 'i hun? Rhyw drai
O dywyll bethau 'n murmur o'r tu ol
Ar bell, anghysbell draethau—traethau lle
Y collwyd Adgof gyda gorfawr ddrylliau
Rhyw fyd neu fydoedd?

"A yw 'r ser uwchben
Mor ddwyfol ac ardderchog ag y myn
Barddoniaeth ganu? Onid *mewnol* swyn,
Adgofion am ddwyfolach golygfeydd
A phethau yn dysgleirio oll gan Dduw,
Sy'n rhoddi iddynt hwy eu hysbryd—nerth
A'u harucheledd? *Ynom* mae y sêr!
A phob barddoniaeth, onid adgof yw
O rywbeth mwy a fu, neu ragwelediad
O rywbeth mwy i ddyfod?

"Pwy nad yw
Yn teimlo weithiau fel pe byddai byd
Hir-anghofiedig, trwy ryw ongl bell
O'i gynfod yn chwyrn hedeg, neu yn cyffwrdd
Rhyw benrhyn o adgofion?

"*Dychymygion*,—
Pwy brofa nad gweddillion bywyd uwch
Mil ardderchocach ynt, yn nyfnaf fôr
Yr enaid mawr yn gorwedd hyd nes dêl
Oll-chwiliol anadl barddoniaeth heibio?

O! henffych awr pan ymddangosa Duw
Fel nerthol haul uwch holl gyfnodau bod,
A ffordd yr ysbryd trwyddynt oll yn olau
*O'r* Dwyfol—*trwy*'r parthedig fod—*yn ol*
*I'r* Dwyfol mawr drachefn!"

Mae yn anhawdd iawn gwybod beth i'w ddyfynu lle y mae yr oll mor dda; ac y mae yn ddïau y bydd ein darllenwyr yn fuan yn mynu y llyfr iddynt eu hunain.

***Yr Allor Deuluaidd; neu Weddïau Boreuol a Hwyrol ac Achlysurol, at Wasanaeth Teuluaidd.*** Dan olygiad HENRY PARRY. Bangor: Mendus Jones.

NID ydym ni yn teimlo yn bleidiol i ffurf-weddïau; yr ydym yn credu mai llawer gwell ydyw gadael i'r galon ddifrifol "ferwi allan beth da" ger bron Duw yn ei ffordd gartrefol ei hun nag ymddyrysu yn yr arferiad o ffurfiau, ac

felly ddyoddef y colledion pwysig sydd ymron yn anocheladwy yn dyfod o waith dynion yn "esgeuluso y dawn sydd ynddynt" hwy eu hunain, pa mor gyfaddas a gwerthfawr bynag a fyddo y cynnorthwyon yr ymddiriedant ynddynt. Mae y rhai sydd yn rhy weiniaid i ymddiried dim iddynt eu hunain am wasanaeth a defnyddioldeb, yn fynych yn gorfod talu y gôst, ac yn myned yn rhy dlawd i fod yn werth i neb arall ymddiried ynddynt, tra y mae talentau y Brenin yn dyblu yn llaw y gwas sydd, o ffyddlondeb iddo Ef, yn marchnata gyda hwynt. Nid ydyw hyn yn fwy gwir gyda dim na chyda yr hyn a olygwn wrth ddawn gweddi, y gallu rhyfedd hwnw mewn meddwl a theimlad sydd yn nerthu dyn "ymhob peth mewn gweddi ac ymbil gyda diolchgarwch, i wneuthur ei ddeisyfiadau yn hysbys ger bron Duw." Pwy o honom sydd heb adwaen neu gofio am lawer o ddynion, digon cyffredin mewn ystyriaethau eraill, mor gyffredin yn wir fel na fuasai yn werth gan lawer o'u cymydogion ddysgwyl dim oddiwrthynt, ac y buasai y crybwylliad am iddynt, heb lyfr, weddïo gyda'u teulu, neu arwain defosiwn cynnulleidfa, yn eu taro fel peth anorchfygol ledchwith, ond eto a glywyd gannoedd o weithiau yn cyfarch gorsedd gras gyda y fath weddeidd-dra, prïodoldeb, difrifwch, ac eneiniad, nes peri i'r rhai mwyaf anystyriol deimlo eu bod mewn gwirionedd yn gweddïo, a pheri i'w brodyr a'u chwïorydd deimlo eu bod yn cael nerth gyda hwynt i orchfygu gyda Duw? Fe ofnir fod y gallu bendigedig hwn yn prinhâu yn ein plith y dyddiau presennol. Nis gallwn feddwl am golled drymach i Gymru nag iddi gael ei thlodi mewn dawn ac ysbryd gweddi, ac felly orfod syrthio yn ddiymadferth eto ar gynnorthwy ffurfweddïau. Ac ar yr un pryd, gallwn yn hawdd feddwl am amgylchiadau lle y byddai llyfr fel hwn o wasanaeth tra gwerthfawr yn yr addoliad teuluaidd. Fel y dywed y Parch. Henry Parry ei hunan, yr hwn sydd weinidog llafurus a defnyddiol ymhlith y Wesleyaid,—"Y mae yr ysgrifenydd yn coleddu y meddyliau uchaf am y weddi ddifyfyr neu ddiffurf. Perthyna i'r weddi hon fanteision amlwg: tardda hon yn ffres a newydd o'r meddwl, a gellir ei chyfaddasu at amgylchiadau neillduol pob diwrnod. Ond eto cofia y dylid gweddïo bob amser 'â phob rhyw weddi;' ac y ceir llawer nad ydynt wedi eu cynnysgaethu â chymhwysderau i weddïo mewn modd cysurus iddynt eu hunain, nac adeiladol i eraill, heb gynnorthwyon. Fy nymuniad yw cyfarfod âg amgylchiad y penauteuluoedd hyny na allant neu na fynant weddïo heb gyfryngau cyffelyb i'r rhai sydd yn y llyfr hwn; dynion ag ydynt ewyllysgar i gyfodi allor i Dduw yn eu tai, ïe, lawer o honynt yn awyddus i addoli Duw yn deuluaidd, ond cael cynnorthwyon i'r dybeu hwnw. Felly parotöwyd y ffurfweddïau hyn er cyfarfod âg amgylchiad y cyfryw rai, ac er symud ymaith esgus neu reswm a ddygir, nid yn anfynych, dros esgeuluso gweddi deuluaidd. A chreda yr ysgrifenydd y gallai pawb gael budd o ddefnyddio y ffurfiau hyn neu rai cyffelyb, yn achlysurol yn yr addoliadau teuluaidd, neu y defosiynau dirgelaidd. Tybia y gallai hyny fod yn foddion i fagu ysbryd defosiynol, i ehangu deisyfiadau, a lliosogi dadleuon yr enaid ymbilgar, ac i sicrhâu mwy o amrywiaeth iaith, a phriodoldeb ymadroddion mewn anerchiadau at orseddfainc y gras. Nid oes eiriau mor addas i ni gyflëu ein heirchion at Dduw ynddynt â'r geiriau a nodwyd trwy ysbrydoliaeth yr Ysbryd Glân. Ac y mae y gweddïau hyn yn ddiddadl yn gyfoethog iawn mewn ymadroddion ysbrydoledig. A hyderaf fod yr holl syniadau a'r athrawiaethau a geir ynddynt yn hollol gyson â dysgeidiaeth llyfr Duw, ac felly yn gyfryw ag y gall pobl dduwiol, er yn perthyn i wahanol ganghenau o'r eglwys Gristionogol, eu harfer er cysur ac adeiladaeth iddynt eu hunain a'u teuluoedd yn eu haddoliadau cartrefol." Yr ydym ni wedi darllen y gweddïau hyn yn teimlo hefyd y gallent ateb dyben mawr, yn ychwanegol at y pethau a grybwyllir yn y dyfyniad uchod, fel *cynlluniau* o weddïau teuluaidd. Nid oes neb sydd yn arfer addoli Duw yn ei deulu nad ydyw yn dra ymwybodol o'r demtasiwn i adael i'r addoliad lithro i ryw un ffurf benodol, ac yn gofidio yn fynych wrth ymdeimlo â thlodi ei feddwl mewn erfyniadau. Ond gynifer o bethau a ddygir i fewn yn y gweddïau rhagorol hyn na chofir am danynt ond

yn dra anfynych gan ddynion da, ac eto y teimlir ar unwaith eu bod yn ol gair yr Arglwydd, ac yn hynod o gyfaddas fel deisyfiadau teuluaidd! Ac am y pethau sydd yn cael eu crybwyll yn fynych, ond yn yr un dull, ac ymron yn ddïeithriad yn yr un geiriau, gyda y fath amrywiaeth cyfoethog o ymadroddion gweddus y maent yn y gweddïau hyn yn cael eu gosod ger bron! Byddai yn anhawdd iawn, yn sicr, i neb penteulu, yn enwedig, eu darllen yn ystyriol heb fod ar ei ennill, ac, er peidio eu defnyddio fel y maent, heb fod ei addoliad teuluaidd yn fwy cydwybodol ac effro mewn canlyniad i'w ymgydnabyddiaeth â hwynt. Byddai eu darllen a'u hystyried hefyd yn gymhorth mawr i bobl ieuainc sydd eto heb ddechreu addoli Duw yn y teulu; canys er iddynt fod yn dra chynefin âg addoliad teuluaidd, hwy gaent yn y gwaith hwn y fantais o ymgydnabyddu â gweddïau argraffedig, a'r rhai hyny, o bosibl, yn fwy cyflawn, ac fe allai hefyd, yn fwy crefyddol eu hysbryd, na'r rhai y maent hwy yn gyffredin wedi ymgynefino â hwynt. Dywedir eu bod wedi eu "dethol o amrai gyfrolau Seisonig, a ysgrifenwyd gan amrai weinidogion duwiol perthynol i'r Eglwys Sefydledig, ac i'r gwahanol enwadau ymneillduol." Gallasent o ran hyny godi oddiar ddaear Gymreig, ac o feddwl ac ysbryd Mr. Parry ei hunan. Pa fodd bynag, y maent yn rhagorol o dda, ac mewn arddull mor gyfaddas, o ran cyfansoddiad ac iaith, â phe buasent wedi dyfod allan, fel dwfr yn tarddu, o galon sanct Cymreig.

*Athrofa y Bala; ei Sylfaeniad a'i Hagoriad: yn cynnwys hefyd y Pregethau a draddodwyd ar adeg ei Hagoriad gan y Parchn.* D. CHARLES ac E. MORGAN. Bala: Edward Jones.

Y MAE Athrofa y Methodistiaid yn y Bala erbyn hyn wedi ei sefydlu, ac nis gall lliaws ei chyfeillion lai na llawenychu yn fawr wrth feddwl fel y mae o ran ei Chronfa a'i Chartref wedi ei chymhwyso i fyned i lawr i'r oesoedd yn fendith barhäus. Hi ddechreuodd yn fechan a dinôd, gan amcanu yn ddifrifol at gynnyrchu effeithiau daionus, ond yn eithaf diofal am bob rhwysg ac ymddangosiad. Ac wrth feddwl am anwybodaeth y wlad ar y pryd, ynghyda'r rhagfarn dwfn a goleddid yn mynwesau llawer yn erbyn dysgeidiaeth fel peth oedd nid yn unig yn afreidiol, ond yn tueddu at feithrin balchder, ac yn ddinystriol i ysbryd crefydd, y mae yn anmhosibl peidio gwerthfawrogi y ddoethineb a ddangoswyd wrth ymdrechu yn ddystaw a dirodres i sicrhâu i'r Methodistiaid ffrwythau goreu dysg, cyn galw arnynt i ddyfod allan i waddoli yr Athrofa, ac i ddarpar adeilad iddi a fyddai yn cyfateb i'w theilyngdod. Ond wedi cael prawf boddhäol o fuddioldeb yr Athrofa, a dyfod i ddeall ei bod bellach yn anhebgorol angenrheidiol er addysgu "meibion y prophwydi" a'u cymhwyso at waith mawr eu bywyd, ac wedi y cynnydd mawr oedd wedi cymeryd lle ar gyfoeth a manteision addysgawl y bobl yn gyffredin, nid ydoedd yn anhawdd dwyn llawer i deimlo y dylid gosod yr Athrofa mewn sefyllfa fwy diogel, a mwy manteisiol i'w defnyddioldeb. Ac yn enwedig erbyn cael gafael ar y *dyn* cymhwys i wynebu ar y fath orchwyl,—dyn ag yr oedd ei argyhoeddiad gyda golwg ar y pwnc yn rhywbeth annhraethol gryfach nag opiniwn neu deimlad, a dyn nad oedd yn ormod ganddo, er gweled mynyddoedd o anhawsderau yn ymgau o'i amgylch, ymdaflu â'i holl egni i'r ymdrech, gan benderfynu gwneyd ffordd iddo ei hun trwy eu holl drwch,—erbyn hyny yr oedd y bobl yn dyfod allan mewn dull ag oedd yn syndod iddynt hwy eu hunain, ac mewn dull ag sydd mewn lliaws o'n hardaloedd wedi bod yn ddechreuad cyfnod newydd mewn haelioni crefyddol. Mae y Gronfa erbyn hyn mewn diogelwch, ac nid ydyw y ddyled sydd yn aros ar yr Adeilad ond peth fydd wedi diflanu yn dra buan Am effeithiolrwydd y Sefydliad yn y dyfodol, y mae enwau yr Athrawon galluog yn ddigon o warant. Bydded iddynt gael hir oes mewn nerth a chysur i barhâu i wneuthur i'w cenedl y gwasanaeth pwysig y maent wedi ei gyflawni hyd yma a chael yr hyfrydwch o weled Cymru yn ymfendithio fwyfwy yn ffrwyth eu llafur. Hyderwn hefyd y bydd yr efrydwyr, yn nghanol manteision sydd yn llawer mwy, yn arddangos yr un

yni ac ymroddiad ag oedd, yn nghanol tlodi a llawer o anghyflëusderau, yn gymaint clod i'w brodyr yn yr amser gynt. Y mae yn dda iawn genym weled y llyfr hwn wedi ei gyhoeddi. Y mae yn gywilyddus o râd, dim ond chwe' cheiniog. Ac eto y mae yn cynnwys llawer o hanes yr Athrofa, ynghyda'r areithiau a draddodwyd ar yr achlysuron o Sylfaeniad ac Agoriad yr Adeilad newydd, heblaw pregethau Mr. Charles a Mr. Morgan, rhestr o'r Efrydwyr, &c. Byddai yn llawen iawn genym ddeall fod lledaniad helaeth iddo yn y wlad. Ar ryw olwg y mae yn resyn na fuasai allan ymhen rhyw bythefnos neu dair wythnos ar ol yr Agoriad; buasai y wlad yn gyffredin y pryd hyny yn fwy awchus am dano. Ond y mae ei werth gwirioneddol yr un heddyw a phe buasai wedi dyfod allan pan oedd meddwl cynifer o filoedd wedi ei lanw âg achos yr Athrofa. Hyderwn yn fawr y câ dderbyniad croesawus.

*Hynafiaethau Llandegai a Llanllechid.* Gan HUGH DERFEL HUGHES, Pendinas, Llandegai.

*Blodeu'r Gân.* Wedi ei ddiwygio a'i helaethu. Gan HUGH DERFEL HUGHES, Pendinas, Llandegai.

ER fod y llyfrau hyn wedi eu cyhoeddi er ys peth amser, ni ddygwyddodd iddynt hyd yn ddiweddar ddyfod dan ein sylw ni. Yr ydym wedi eu darllen gyda phleser neillduol. Ni fyddai yn anmhosibl, mae yn wir, nodi anmherffeithderau ynddynt; ond fel y maent nis gallwn lai nag edrych arnynt nid yn unig yn anrhydedd mawr i un o weithwyr Cymru, ond hefyd yn gyfraniad gwerthfawr i drysorfa ein llênyddiaeth. Darllenasom *Hynafiaethau Llandegai a Llanllechid* gyda llawer o ddyddordeb, a hyderwn fod pobl dda y plwyfydd hyny yn gwneyd defnydd awchus o'r cyflëusdra rhagorol hwn sydd o fewn eu cyraedd i ymgydnabyddu â hen hanesiaeth eu hardaloedd. Y mae cryn nifer o feirdd yn y plwyfydd hyny; ai tybed nad oes yn yr hen draddodiadau a geir yn y gwaith hwn wythïen gyfoethog o farddoniaeth y gallent, o'i gweithio yn ddeheuig, gloddio o hóni drysorau anmhrisiadwy? Heb sôn am chwaryddiaethau anfarwol Shakespeare, mae yr hyn a wnaeth Macaulay â hen chwedloniaeth Rhufain yn awgrymu i feirdd Cymreig fod o fewn eu cyraedd hwythau, ac yn enwedig yn eu traddodiadau cenedlaethol, fwngloddiau nad ydynt eto wedi eu hagor, ond sydd yn annhraethol gyfoethog mewn defnyddiau cân. Ac nid i bobl yr ardaloedd hyny yn unig y mae y gwaith hwn yn ddyddorol; ond byddai ei ddarllen i unrhyw ddyn sydd yn cydymdeimlo â dynolryw, ac yn enwenig yn caru ei genedl, yn rhwym o beri adeiladaeth a mwynhâd. Heb sôn am ei ffeithiau, &c., y mae gwerinolrwydd ei arddull yn ein boddhâu ni yn anghyffredin. Y mae rhai o'n hysgolheigion wrth geisio ysgrifenu yn gywir yn myned i ysgrifenu yn sych; y mae eu brawddegau mor ddi-naws âg ysglodion; ac o'r ochr arall y mae y bechgynos sydd yn ceisio ysgrifenu yn iaith y werin, heb ddim athrylith i lanw yr ymadroddion isel âg urddas, yn peri i ni lwyr ddiflasu ar eu mursendod. Ond nid yw Derfel yn euog o'r naill na'r llall o'r camgymeriadau hyn. Ysgrifena fel dyn yn teimlo mai y cwbl sydd arno ef eisieu ydyw gosod ei bethau ger bron meddwl y darllenydd; ond fel gweithiwr meddylgar ac annibynol, gwna hyny mewn iaith sydd yn fynych yn ein swyno gan ei symledd Cymreig, ac yn peri i ni deimlo fod ei harogl "fel arogl maes, yr hwn a fendithiodd yr Arglwydd." Nid ydyw yn amddifad o radd o graffder athronyddol wrth esbonio ei ffeithiau, ac mae ei ysbryd yn y cyfan yn iachus, rhyddfrydig, a defosiynol. Dylai ei lyfr gael derbyniad calonog.

Am *Flodeu'r Gân* mae yn dda genym ddeall fod yr alwad am danynt wedi gwneyd yn angenrheidiol cael ailargraffiad. Y mae gan awdwr *Y Cyfammod Disigl* lawer o bethau nad allai ei gydgenedl lai na bod ar ei hennill o ymgydnabyddu â hwynt.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

# Y TRAETHODYDD.

---

## Y BWCH DIANGOL.

"A gosoded Aaron ei ddwylaw ar ben y bŵch byw, a chyffesed arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau; a rhodded hwynt ar ben y bŵch; ac anfoned ef *ymaith* yn llaw gŵr cymhwys i'r anialwch. A'r bŵch a ddŵg eu holl anwiredd hwynt arno i dir neillduaeth; am hyny hebrynged efe y bŵch i'r anialwch."—LEFITICUS xvi. 21, 22.

YR ydym yma yn cael ein cyfeirio at un o seremonïau pwysig gŵyl y cymmod; y dydd mawr blynyddol yn Israel ar ba un y byddai yr archoffeiriad yn gwneuthur cymmod neu ddyhuddiant, yn yr ystyr arwyddocäol a chysgodol, dros bechodau y genedl am y flwyddyn. Ymysg pethau eraill oedd i gymeryd lle ar y diwrnod arbenig hwn, yr oedd dau fŵch i gael eu gosod wrth ddrws pabell y cyfarfod, un i'w ladd, a'r llall, fel y darllenwn yma, i'w anfon i'r anialwch. Ond er fod yno ddau fŵch, nid oeddynt i'w hystyried ond yn un aberth. "A chymered," meddir am Aaron, "gan gynnulleidfa meibion Israel ddau lwdn gafr yn bech-aberth;" nid yn bech-ebyrth, ond yn bech-aberth. Un pech-aberth y golygid y ddau fŵch. Yr oedd y ddau gyda eu gilydd i wneyd i fyny un aberth, am nad oedd yn bosibl i un bŵch allu gwasanaethu fel arddangosiad cyflawn o'r hyn oll oedd ofynol i'w wneuthur er maddeuant; ac felly yr oedd yr hyn a wneid gyda y bŵch byw yn barhâd, yn gwblhâd, ac yn eglurhâd pellach, o'r hyn a wnaethpwyd gyda y bŵch a laddwyd. Yr oedd y cymmod trwy waed y bŵch lladdedig wedi ei wneuthur yn ddirgel, oddifewn i'r wahanlen, yn y cysegr sancteiddiolaf, lle nad ydoedd neb ond Duw a'r archoffeiriad. Ond yr oedd o bwys i feibion Israel gael gwybod fod y drafodaeth drostynt, yn nirgelfa y babell gyda Duw, yn dderbyniol a llwyddiannus; a chan hyny wele iddynt yn nghyffesiad yr anwiredd ar y bŵch dïangol, ac yn ei ollyngiad ymaith yn llaw gŵr cymhwys, arddangosiad gweledig o wir natur a phwysigrwydd ac effeithioldeb y cyfryngiad dirgel drostynt o'r tu fewn i'r wahanlen.

Y mae yn amlwg fod ordinhâd y bŵch byw, yr un modd âg ordinhadau eraill dydd y cymmod, yn edrych ymlaen at y Messïah fel y cyfeirnôd gorphenol—fel y sylwedd mawr a chyflawn; ac y mae y ddefod osodedig yma yn ymddangos mor eglur a chynnwysfawr yn ei chyfeiriad at yr Arglwydd Iesu Grist, fel y gallwn edrych ar hyn yn ysgrifenedig o bwrpas i eglurhâu i ni yn awr, yn gystal ag i ragddarlunio i'r Hebrëaid gynt, athrawiaeth maddeuant pechodau trwy waed ei groes ef.

Gallwn edrych ar dair golygfa yn cael yma eu cyflëu o flaen ein sylw:—y bobl yn eu hanwiredd—yr anwiredd wedi ei roddi ar aberth yn lle y bobl—a phellhâd yr anwiredd oddiwrth y bobl yn y canlyniad.

I. Y BOBL YN EU HANWIREDD, neu, mewn geiriau eraill, yr Israel dan euogrwydd pechod yn rhwym i gosbedigaeth.

Crybwyllir am "holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau." Ac yr oedd baich yr holl anwiredd hwn i'w ddwyn ganddynt hwy eu hunain oni buasai am y drefn ryfedd i'r bŵch ei ddwyn arno i dir neillduaeth. Ni a welwn yma, yn

1. *Fod y bobl yn euog o anwiredd, a hwnw yn anwiredd mawr, ac yn anwiredd lawer.* Er mor dda oedd Duw i Israel, ac er y berthynas wladol oedd rhyngddynt âg ef yn uniongyrchol, yr oedd achos i wasgu atynt hwy yn barhäus, "Onid oes gyda chwi, ïe, gyda chwi, bechodau yn erbyn yr Arglwydd eich Duw?" Mae y llïosogiad a'r amrywiad geiriau am bechadurusrwydd y genedl yn llawn ystyr a meddwl: "eu holl anwiredd, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau." Golygir yma anwiredd o bob math a maint, troseddau o bob natur, yr anwiredd yn ei holl raddau a'i effeithiau, ac ymhob peth oedd yn ei fwyhâu, yr holl aneirif feïau trwy ba rai yr oedd y bobl yn digio Sanct Israel. Nid digon oedd dywedyd, "Eu holl bechodau," ond yr oedd yn rhaid ychwanegu, "Eu holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau;" ac fe all llawer o gamweddau fod ynglŷn âg un weithred o bechod.

Wrth edrych ar yr Israel fel "pobl lwythog o anwiredd," cofiwn ein bod ynddynt hwy yn cael drych o honom ni ein hunain. Pwy sydd barod i haeru nad oes ynddo bechod, ac nad yw yn euog o feïau dirifedi? "Pwy a ddichon ddywedyd, Mi a lanhëais fy nghalon, glân wyf oddiwrth fy mhechod?" Pwy a feiddia dystiolaethu iddo erioed fyw un dydd, ïe, un awr, fel y dylasai? Beth am yr esgeuluso dyledswyddau, a'r holl gamymddygiadau? Beth am bob meddwl ansanctaidd, am bob gŵyrni mewn teimlad a chalon? Beth am bob coll a bai a welodd llygad Hollwybodaeth ynom ymhob man? Cymhwys, yn ddïau, yw i ni arfer taer-weddi y Salmydd, "Er mwyn dy enw, Arglwydd, maddeu fy anwiredd, canys mawr yw." Gwelwn, yn

2. *Fod y bobl, fel rhai euog, yn rhwym i ddyoddef cosbedigaeth yr anwiredd, oddigerth eu rhyddhâu gan gyfryngiad goruwchnaturiol.* Gan fod Duw mewn modd neillduol yn Farnwr, Deddfwr, a Brenin Israel, yr oedd holl gamweddau yr Israeliaid yn wrthryfel llythyrenol yn erbyn eu huniawn Lywydd—yn deyrnfradwriaeth uniongyrchol, ac felly yn haeddu marwolaeth, ac yn rhwym *i* farwolaeth.

Nid oes eisieu profi mai dyna ein cyflwr ysbrydol ninnau fel pechaduriaid yn erbyn Duw. Bygythiad crogedig, nid uwch ben yr Iuddew yn unig, ond uwch ben y Cymro heddyw, yw hwnw,—"Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Geiriau a ddefnyddir yn fynych yn yr Hen Destament am weinyddiad cosbedigaeth pechod ar bechadur ydynt, "Efe a ddŵg ei anwiredd," ac, "Efe a fydd marw yn ei anwiredd." Yr oedd y pechadur i ddwyn yr anwiredd yn y gosb am dano, ei ddwyn fel baich arno ef ei hun; ac wedi i gyfiawnder osod y fath faich arno, er ei fod yn analluog i ymuniawni odditano, nid oedd maddeuant i ddyfod yn dragywydd i dynu y baich i lawr. Marw yn yr anwiredd oedd marw yn euog—marw dan ddwylaw cyfiawnder Dwyfol—marw heb le i edifeirwch, ac heb obaith am drugaredd. Cawn yr Iachawdwr ei hun yn dywedyd wrth ei wrandäwyr anghrediniol, "Dywedais wrthych y byddech chwi feirw yn eich pechodau; oblegid oni chredwch chwi mai myfi yw Efe, chwi a fyddwch feirw

yn eich pechodau." Er i'r pechadur fyw yn ei bechodau yn ddiofal, nis gall farw yn ei bechodau yn ddigyffro. Gall euogrwydd pechod fod yn gorwedd yn ddigynhwrf ar y gydwybod yn bresennol, fel pylor yn gorwedd yn ddystaw wrtho ei hun yn y graig a dyllwyd gan y chwarelwr; ond yn awr angeu, dyna ddigofaint Duw yn tànio; ac O! yr ymrwygiad a fydd yn canlyn! holl gysur yr enaid wedi ei chwalu ymaith, ei obaith wedi myned yn chwilfriw, ac yntau ei hun wedi ei ddryllio mor drwyadl fel na byddo meddyginiaeth! Wedi i bechadur farw yn ei anwiredd, bydd ei gorff a'i enaid yn ngafael yr anwiredd dros byth. Nis gâd pechod mohóno yn farw mwy nag yn fyw; ceir ef yn gorwedd gyda ei esgyrn yn y pridd; ac yn nystryw, bydd fel sarph wenwynig yn brathu ac yn bwyta'r galon yn ddiorphwys. Ystyriwn ein ffyrdd; o herwydd wedi i ni ddarfod â'r byd hwn, nis darfyddwn â'n gweithredoedd. Ar ol i'r duwiol farw, bydd ei weithredoedd da yn fyw, a hwy a'i canlynant ef i ogoniant. "Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." Ond rhaid mynegu yn hollol i'r gwrthwyneb am ddiwedd yr annuwiol: "Gwae y meirw y rhai sydd yn marw allan o Grist, o hyn allan ac yn dragywydd, canys ni orphwysant oddiwrth eu llafur, a'u holl weithredoedd drwg sydd yn eu canlyn hwynt!" Os yw gwneuthur pechod yn orchwyl melus yr awrhon i bechadur, nid mor felus fydd ymdeimlo dan lwyth euogrwydd pechod yn y fro lle nas gelwir i edifeirwch ac na bydd trefn i gadw. Diolchwn am mai nid yn dwyn yr anwiredd yn y fangre ddiobaith hono y gwelir ni eto, ac yn enwedig am ddadguddiad o drefn i'n gwaredu rhag cyfarfod yn oesoesoedd â'r fath dynged!

II. Yr anwiredd yn cael ei roddi ar aberth yn lle y bobl.

Yr oedd Aaron i osod ei ddwylaw ar ben y bŵch byw, gan gyffesu arno, neu uwch ei ben, holl anwiredd meibion Israel, a thrwy hyny wneyd math o drosglwyddiad o'r anwiredd arno ef. Bellach, dyma euogrwydd pechodau y bobl am flwyddyn eto, càn belled ag yr oedd yn eu rhwymo i gosb, yn gorphwys, nid arnynt hwy y rhai a bechasant, eithr ar y bŵch neillduedig yr oedd dwylaw yr archoffeiriad wedi eu gosod arno. Wedi gwneuthur y cyfryw drosglwyddiad o'r anwiredd, yr oedd y bŵch yn cael ei anfon ymaith yn llaw gŵr cymhwys, un wedi ei ddewis i'r perwyl, ac yn y cyfamser yn sefyll yn barod at y gwaith, yr hwn oedd i fyned âg ef i'r anialwch, ac i'w ollwng yn y cŵr mwyaf anial, tybygid, o'r anialwch hwnw. "A'r bŵch," meddir, "a ddŵg eu holl anwiredd hwynt arno i dir neillduaeth." Dywedir fod traddodiad ymysg yr Iuddewon y byddai y gŵr cymhwys yn taflu y bŵch i lawr bendramwnwgl dros glogwyn craig uchel, serth, lle y byddai efe wedi myned yn ddrylliau ymhell cyn disgyn i'r gwaelod. Ond nid oes un sail am yr adroddiad traddodiadol hwn mwy nag am amryw draddodiadau eraill a goffhëir ynghylch defodau gŵyl y cymmod. Ond mae yr ymadroddion, "i'r anialwch," ac "i dir neillduaeth," ynddynt eu hunain, yn rhai cryfion iawn, ac yn arddangos anghyfannedd-dra erchyll y lle yr hebryngid y bŵch diangol iddo: tir pell oddiwrth breswylfëydd a phreswylwyr; tir anghysbell, diffaeth, ac anhygyrch; tir lle yr oedd pob "marwolaeth yn byw, a phob bywyd yn marw,"—dyna pa fath le yr oedd y bŵch hwn, fel pech-aberth dros y bobl, yn cael ei anfon iddo, a'i adael ynddo.

Ond nid gwiw i ni aros yn hir gyda'r cysgod, canys ni a wyddom nad yw cysgod o neb nac unpeth yn ddim i afaelyd ynddo; y corff y mae yn gysgod iddo neu o hóno, hwnw yw y sylwedd teimladwy. Ac nid oes un aneglurdeb am hwnw; o herwydd "y corff sydd o Grist." Y mae rhoddiad holl anwiredd yr Israeliaid ar ben y bŵch, a'u dygiad ymaith ganddo, yn sefydlu ein meddwl ar y gwirionedd mawr sydd yn esboniad rhyfedd, a'r unig esboniad cywir, ar aberth Crist. "Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." "Efe a gyfrifwyd gyda'r troseddwyr, ac efe a ddŷg bechodau llaweroedd." "Yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni, fel ein gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." "Crist â'n llwyr-brynodd ni oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith drosom." "Yr hwn ei hun a ddŷg ein pechodau ni yn ei gorff ar y pren." "Crist hefyd, wedi ei offrymu unwaith i ddwyn ymaith bechodau llawer heb bechod, i'r rhai sydd yn ei ddysgwyl, er iachawdwriaeth."

Cyfeiriwn, gan hyny, at rai pethau penodol a welir yn ordinhâd y bŵch byw, ac a sylweddir yn ogoneddus yn yr Hwn, yn niwedd byd yr oruchwyliaeth Iuddewig, a ymddangosodd i ddilëu pechod trwy ei aberthu ei hun.

1. *Duw ei hun, yr hwn y pechwyd i'w erbyn, a awdurdododd, ïe, ac a luniodd y drefn i gyfrif pechod ar aberth yn lle y pechadur.* Fel y nodwyd, yr oedd Duw mewn modd uniongyrchol yn Frenin ar Israel; a chanddo ef yn unig fel Brenin Israel yr oedd hawl a gallu i faddeu gwrthryfel yn erbyn ei lywodraeth; ac yr oedd yn weddus iddo wneuthur hyny yn y drefn a ddewisai. Nid oedd Aaron at ei ryddid i gymeryd yn aberth unrhyw anifail a fŷnai, ac i wneuthur â hwnw fel y barnai efe oreu, ar ddydd mawr y cymmod. Gorchymynir yn bendant iddo gymeryd dau lwdn gafr, ac i un bŵch gael ei ladd, a'r llall ei hebrwng i'r anialwch; ac felly yr oedd anwiredd meibion Israel i gael ei faddeu. Nis gallwn egluro paham yn neillduol y penodwyd y cyfryw anifeiliaid; eithr mae yn amlwg mai nid ar gyfrif un rhinwedd na gwerth oedd ynddynt hwy eu hunain y maddeuid i'r bobl. "Canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dŷnu ymaith bechodau." Pe na buasai y Duw goruchaf wedi gorchymyn y fath seremonïau, gwrthryfel newydd yn ei erbyn a fuasai eu cynnyg iddo. Pe buasai Aaron o hóno ei hun yn dwyn i'r cysegr waed bŵch, ac yn anfon un arall i'r anialwch, iaith y Jehofah a fuasai, "Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw?" nid y crëaduriaid hŷna a bechasant i'm herbyn; "yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Ond calondid y bobl i ddysgwyl maddeuant yn y ffordd hon ydoedd, mai fel hyn yr oedd yr Arglwydd Dduw wedi peri iddynt ddysgwyl maddeuant ganddo; a thrwy y moddion seremonïol hyn yr oedd efe, gan edrych ymlaen at aberth ei brïod-Fab, fel y sylweddiad cyflawn, yn gweled yn dda roddi maddeuant iddynt.

Beth yw yr athrawiaeth oddiyma i ni? Ein sail i ddysgwyl maddeuant trwy Grist, yr aberth dros ein pechodau, ydyw, mai Duw ei hunan a'i gosododd yn bech-aberth, er dwyn i ni, droseddwyr, dragywyddol ryddhâd. Mae yn wir, gan fod yn Iesu Grist holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol, fod gwerth anfeidrol ynddo ef ei hun fel aberth. Eto buasai yr hyn oll a wnaeth ac a ddyoddefodd efe, yn ddirym ac aneffeithiol, heb ei ordeinio a'i osod gan Dduw Dad. Gan mai rhwymo yr enaid a bechodd i farw yr oedd y ddeddf, gallasai Barnwr

pawb yn gyfiawn roddi dyn euog i farwolaeth, heb ganiatâu i unpeth na neb fod yn aberth drosto. Ond, rhyfedd yw! nid yn unig yr oedd Brenin nefoedd a daear yn ewyllysgar i dderbyn aberth yn lle'r troseddwr, ond yr oedd efe ei hun wedi darpar yr aberth; ac yn nyfnderoedd ei gynghor, yn anfeidroldeb ei gariad, yn ei fynwes ei hun, y cafodd efe yr unig aberth a wnaethai y tro. "Crist Iesu—hwn a osododd Duw yn iawn." Dichon mai y syniad hwn a osodir allan yn y geiriau arbenig hyny a ddywedodd Crist wrth ei Dad yn ngweddi fendigaid Ioan xvii., "Eiddo ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi." Yr oedd efe yna yn cyfeirio at ei ddysgyblion oedd o'i amgylch, ond atynt hwy fel cynnrychiolwyr holl deulu y ffydd drwy yr oesau—y "pwy bynag a gredo" hyd ddiwedd amser. "Eiddot ti," O Dad, "oeddynt, a thi a'u rhoddaist hwynt i mi." A'u hystyried yn unig fel crëaduriaid a deiliaid llywodraeth y Tri yn Un Jehofah, yr oeddynt o'r dechre yn gymaint eiddo i'r Mab ag yr oeddynt i'r Tad; ond fel pechaduriaid, yr oeddynt yn meddiant cyfraith a chyfiawnder; a chan fod y gweinyddiad o gyfiawnder yn perthyn i'r Tad, yn y cymeriad o Ddeddfroddwr a Barnwr, dyna hwy yn eiddo ef fel carcharorion euog. I'r Duwdod yn Mherson y Tad fel hyn y perthynai benderfynu pa beth a wneid iddynt; pa un a draddodai efe hwynt i gosbedigaeth dragywyddol fel yr oedd haeddiant pechod yn gofyn, ai ynte a roddai efe hwynt i Fachnïydd oedd yn foddlawn i sefyll yn eu lle. Ac wele, O ryfedd ras! ei benderfyniad yn troi o du arbed yr euog. "Eiddot ti oeddynt," medd y Cyfryngwr grasusol; yr oeddynt fel troseddwyr yn dy feddiant barnol; ond pan y gallesit yn gyfiawn eu bwrw ymaith i drueni diddiwedd, "ti a'u rhoddaist hwynt i mi;" i mi yn eu holl anwiredd—i mi, i ddwyn yr anwiredd hwnw arnaf fy hun—i mi, er mwyn i ti, y Tad cyfiawn, gael yr hyfrydwch a'r gogoniant o faddeu yn gyfiawn iddynt.

Oddiyma ni a allwn weled na raid i'r pechadur mwyaf, sydd yn bryderus am fater ei enaid, betruso mynyd ynghylch ymddiried am ei fywyd ar aberth y groes. Os darparwyd yr aberth dros bechod gan y Bôd Anfeidrol y pechasom i'w erbyn, a'r hwn "sydd berffeithgwbl o wybodaeth," rhaid ydyw ei fod yn aberth cymhwys, yn Iawn digonol, yn un sydd yn cyflawni oll yn oll, heb adael i Dduw cyfiawn ddim i'w ofyn, nac i enaid euog ddim i'w ofni. Gan fod y Duw unig ddoeth wedi gweled Iesu yn gymhwys Geidwad i'r colledig, mae pob synwyr yn gofyn i ni, grëaduriaid bychain, cibddall, foddloni i'w farn ef, ac ymorwedd gyda ein holl feichiau ar ei drefn, heb gwestiyna dim am addasrwydd a digonolrwydd. Cofiwn yn wastadol nad yw y ddarpariaeth am gadwedigaeth ein heneidiau yn ddim llai na dyfais calon Duw.

2. *Yr oedd yr aberth y cyfrifid pechod arno, ei hunan yn ddibechod.* Dyma un rheswm paham y trefnodd yr Arglwydd aberthau anifeilaidd, ac nid ebyrth dynol; ychain, defaid, a geifr, ac nid meibion a merched dynion, i'w haberthu dan y gyfraith seremonïol; oblegid ymysg dynolryw, nid oedd neb dieuog, neb dibechod, nac oedd un. Ni thalasai ddim i ddrwgweithredwr ddyoddef dros eraill ddrwgweithredwyr, o herwydd yr oedd y ddeddf eisoes yn gofyn hwnw, ac yn cyhoeddi ei melldith arno, ar ei ran ef ei hun. Yr oedd yr holl grëaduriaid a aberthid yn rhai nad oedd gan y ddeddf un gafael blaenorol arnynt—yn rhai nad oedd dim tebyg i anwiredd ynddynt—onidê ni wnaethent y tro i'w haberthu dros anwiredd

Israel bechadurus. Felly am y bŵch diangol, yr hwn gyda'r bŵch a leddid, oedd yn cyfansoddi pech-aberth ar ŵyl y cymmod; yr oedd yn grëadur glân seremonïol, ac yn ddiniwed lythyrenol, heb ddim oedd yn gyffelyb i bechod ynglŷn âg ef, pe amgen ni roddasid beïau y genedl ar ei ben fel aberth.

Ond mae yn rhaid i ni yma ddywedyd mai mewn ystyr nacäol yr oedd yr aberthau seremonïol yn ddibechod. Yn wir, nid oeddynt hwy yn alluog i fod yn bechadurus. Yr oeddynt o naturiaeth yn sefyll islaw cylch pechod. Nid oedd ynddynt enaid rhesymol, ni wyddent am deimlad moesol, nid oedd dim cyfrifoldeb yn perthyn iddynt; yr oeddynt yn grëaduriaid rhy fychain i fedru pechu. Ac fel hyn am y bŵch o dan sylw: yr oedd efe yn ol deddf ei natur fel crëadur direswm mor analluog i fod yn bechadur âg ydoedd i fod yn sant. Yr oedd hyn, gyda phethau eraill, yn dangos mai amserol ac arwyddluniol, ac nid gorphenol a gwirioneddol, oedd yr ebyrth gynt: yr oeddynt yn bethau rhy fychain a diddym i wneuthur iawn dros grëadur oedd yn berchen enaid anfarwol —yn meddu rheswm, a meddwl, a chydwybod.

Eithr am aberth mawr y testament newydd—yr Oen a fu ar ben Calfaria,—yr oedd efe yn berffaith ddibechod, am ei fod yn Berson oedd yn anfesurol uwchlaw pechod. Os oedd yr aberthau cysgodol yn rhy fychain i bechu, yr oedd sylwedd yr holl ebyrth yn un rhy fawr i bechu. Nid allasai'r bŵch bechu, am ei fod yn sefyll i lawr yn safle crëaduriaid, yn llawer îs a llai na dyn: nid allasai yr Iesu bechu, am ei fod yn sefyll i fyny yn safle Crëawdwr, yn ei berffeithiau moesol, yn gystal â naturiol, yn anfeidrol uwch a mwy na dyn. Efe a ddaeth yn ddyn, ni a wyddom; ac efe a ddaeth felly o bwrpas i ddyoddef a marw fel aberth drosom; ond dylid cofio bob amser mai "dyn â'r Duwdod ynddo yn trigo" oedd "y dyn Crist Iesu." Am hyny y dywedodd yr angel Gabriel am ei ddynoliaeth ef, wrth ei fam cyn ei eni, "Y peth sanctaidd a aner o honot ti a elwir yn Fab Duw." Fel aberth, yn gystal âg fel Archoffeiriad, yr oedd yn "Sanctaidd, Diddrwg, a Dihalog." Wedi dyfod i ganol pechaduriaid, yr oedd efe eto yn ddidoledig oddiwrthynt, canys dyn yn "Sanct Duw" ydoedd.

3. *Er fod yr aberth ei hun yn ddifeius, eto wedi rhoddi anwiredd y bobl arno, yr oedd raid iddo fyned dan felldith yn eu lle.* Y mae dau beth yn gynnwysedig yn y felldith y mae pechaduriaid fel y cyfryw yn rhwym iddi: ysgariad oddiwrth Dduw ac oddiwrth bob peth sanctaidd a dedwydd, a marwolaeth neu ddinystr oddi ger ei fron. Felly yn gysgodol ar ddydd y cymmod: yr oedd y bŵch byw dan felldith ysgariad yn cael ei anfon i dir neillduaeth, tra yr oedd y bŵch arall wedi myned dan felldith diofrydiad i ddinystr. Dadguddiad yr efengyl a ddengys y gwnaed Iesu Grist yn felldith drosom yn y ddau beth ofnadwy hwn. Esgymunwyd ef i anialwch neillduaeth oddiwrth Dduw a phob cysur, ac "efe a dòrwyd o dir y rhai byw," ac yn y modd hwn, "rhoddwyd pla arno ef am gamwedd fy mhobl."

Y mae rhai yn dywedyd y dylid cyfyngu y bŵch diangol fel cysgod at Grist yn ei adgyfodiad a chanlyniadau ei angeu. Mynant hwy mai'r bŵch a laddwyd yn unig oedd yn gosod allan wneuthuriad y cymmod yn angeu Crist, a bod y bŵch byw yn dangos yn unig effaith neu ffrwyth y cymmod a wnaethpwyd. Ond beth y mae yr Ysgrythyr yn ei ddy-

wedyd? "A'r bŵch y syrthiodd y coelbren arno i fod yn fŵch diangol, a roddir i sefyll ger bron yr Arglwydd i wneuthur cymmod âg ef, ac i'w ollwng i'r anialwch yn fŵch diangol" (Lef. xvi. 10). Ac y mae yr ymadrodd "dwyn yr anwiredd," yr hyn y dywedir fod y bŵch byw yn ei wneuthur, yn arwyddo yn wastad dwyn cosbedigaeth yr anwiredd. Mae yn amlwg fod y ddau fŵch yn arddangos y cymmod yn ei wneuthuriad a'i effeithiau, y naill yn cyflawni y diffyg oedd yn y llall, a chyda'u gilydd yn cyfansoddi un offrwm aberthol.

Golwg ryfedd yw hon a welid ar ddydd y cymmod! y crëadur a gyhoeddwyd yn lân a difai, wedi yr ymchwiliad manylaf arno gan offeiriaid Duw,—hwnw yn cael ymddwyn ato fel pe buasai yn bechadur, ïe, yn unig bechadur y genedl; mae'r ddeddf heddyw yn gadael i'r Israel a bechodd aros ynghyd mewn heddwch, tra y mae yn alltudio'r bŵch diniwed i anialwch diffaeth. Pa fodd y mae hyn? Holl bechodau y genedl a roddwyd ar ben y bŵch, a chan hyny y mae'r felldith yn dyfod arno ef er mwyn i'r fendith ddyfod i ran meibion Israel. Gallem dybied fod rhyw deimladau hynod yn meddiannu pawb ystyriol ymhlith y genedl wrth weled y crëadur diniwed fel hyn, dan yr anwiredd yn eu lle hwynt, yn dechre cychwyn oddiwrth babell y cyfarfod ar ei daith tua'r anialwch. Ddoe neu echdoe, fe allai, yr oedd y bŵch hwn yn chware a llamu yn ysgafndroed yn nghanol deadell o eifr ar lethr y bryn; a phe buasai gŵr o Israeliad yn myned yn ddamweiniol heibio, ni buasai yn cymeryd un sylw o hóno ef mwy na'r bychod eraill. Ond erbyn heddyw mae'r sylw mwyaf ar y bŵch yma; mae pob un meddylgar a difrifol a'i gwelo yn rhwym yn llaw'r gŵr cymhwys yn edrych yn graffus arno, o herwydd y mae i'r genedl yr *interest* mwyaf ynddo. O gysegredig fŵch! meddynt; dyna di dan faich ein beïau yn gorfod myned ymaith i dir neillduaeth, ymhell oddiwrth bawb a phobpeth, er mwyn i ni gael bod yn wŷr rhyddion cynnulleidfa yr Arglwydd. Deuwch, cânwn i Arglwydd Dduw Israel am ei drefn rasol a rhyfedd!

Pwy nad ydyw oddiyma yn gweled Calfaria yn amlwg? "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith," neu fel y gellir darllen, "yn cario ymaith bechodau'r byd." Ac yr oedd raid iddo yntau, wrth gario'r pechodau, fyned gyda'i lwyth i'r anialwch anghyfannedd. Y mae yn natur pechod anfon pechadur i dir neillduaeth; gwahanu, gwasgaru, a dinystrio, yw ei weithrediad naturiol. Mae y dychymyg balch, chwyddedig, o hunan-ddigonolrwydd, o annibyniaeth ar Dduw ac ar bawb eraill, yn llywodraethu yn nghalon pob dyn wrth natur. Mae yn ei garu ei hunan yn fwy na charu Duw, yn ei geisio ei hun ar draws llesiant ei gymydog, ac yn ymddiried yn ei ddeall a'i nerth ei hun fel un heb arno eisieu cymhorth oddiwrth ei Grëawdwr nac oddiwrth gydgrëadur. A chan fod melldith Duw yn gwneuthur pechod yn gosb iddo ei hun, y ddedfryd ddinystriol ar bechadur a fydd, Dos o'r neilldu i fod gyda thi dy hun yn unig; gan mai dy hunan oedd dy dduw, ti a adewir mwyach i ti dy hun; wedi ti roddi dy grêd ar dy hunan-ddigonedd, ti a geidragywyddoldeb yn mhydew colledigaeth i bwyso arnat dy hun, heb unfraich odditanat i'th gynnal, nac oddiarnat i afael ynot! Beth dybygem ni? Pa fodd y bydd ar yr enaid euog wedi gweinyddu arno y felldith hon? Dacw efe yn nghanol ysbrydion cythreulig ac eneidiau damnedig, ond heb iddo gymdeithas â neb o honynt; y mae wedi ei adael

yn y dyfnder, dan lwyth ei holl anwiredd a'i holl gamweddau yn ei holl bechodau, a'r llwyth yn myned drymach drymach arno byth; dacw efe yn suddo, yn suddo, ac heb obaith yn oesoesoedd am gyrhaedd y gwaelod yn y Gehenna danllyd, canys Duw a'i dyfnhäodd hi, ac a'i ehangodd. Duw â'n cymero ni yn eiddo iddo ei hun, fel ein gwareder byth oddiwrthym ni ein hunain! Oddiar yr olwg yma ar bechod, heb i ni nodi ystyriaethau eraill, ni a welwn am Grist, gan iddo gymeryd yr anwiredd arno ei hun, fel ag i ddwyn y gosb yn lle pechadur, fod melldith pechod yn peri iddo ef, dan y fath faich, gael ei adael iddo ei hun. Edrychwn arno yn nyoddefaint ei oriau olaf. Er mai Iesu Grist y cyfiawn ydyw, wele efe heddyw wedi ei esgymuno o gynnulleidfa Israel, a'i farnu nid yn unig yn annheilwng o fyw, ond yn annheilwng o farw o fewn terfynau'r ddinas sanctaidd; ymaith âg ef o Jerusalem, dinas Duw, i Golgotha, lle'r benglog; a dacw efe yno yn nghrôg ar y pren melldigedig, mewn neillduaeth ar unwaith oddiwrth nefoedd a daear. Beth am ei ddysgyblion oedd gydag ef neithiwyr yn yr oruwchystafell, yn ymgyfammodi wrth ei fwrdd i fod yn ffyddlawn iddo? "Hwynt-hwy oll a'i gadawsant ef, ac a ffoisant." Eithr, onid yw ei Dduw a'i Dad gydag ef eto, yr hwn yr oedd efe er y dechreuad, a chyn pob peth, yn hyfrydwch iddo beunydd, ac yn ymlawenhâu ger ei fron ef bob amser? Na, na! mae efe fel heb Dduw na Thad ganddo yn yr oriau tywyll hyn. Gŵg a chleddyf Barnwr, yn lle gwên a mynwes Tad, yw ei ran heddyw. Dyna y lle pellaf y gallwn ni ei olrhain i dir neillduaeth. Mae ei enaid yn awr, yn ngeiriau hen Dadau yr Eglwys, wedi disgyn i uffern; canys pa beth yw uffern ond neillduaeth oddiwrth Dduw? Hyn a barodd iddo y fath ing meddwl fel nas gallodd ymattal rhag dolefain, "Fy Nuw, fy Nuw! paham y'm gadewaist?" Fel y cânodd hen ganiadydd Pant-y-celyn,

"Y baich oedd annyoddefol i'r cryfa' o ddynolryw,
Gâs orwedd yn ofnadwy ar ysgwydd grêf fy Nuw."

Iawn y dywedodd, "ar ysgwydd *grêf;*" canys cafwyd fod Iesu yn ddigon cryf i sefyll dan faich aruthrol ddirfawr yr anwiredd heb suddo ac heb lithro er trymed oedd, ac er yr holl gorwyntoedd oedd yr un pryd yn chwythu arno. Do! fe'i cariodd yn alluog nes cael lle i'w daflu i lawr a'i guddio byth o'r golwg yn ei haeddiant anfeidrol ef ei hun.—Y mae genym yn awr y drydedd olygfa i edrych arni, a hyfryd ydyw,—

III. Yr anwiredd, mewn canlyniad, wedi ei bellau oddiwrth y bobl.

Wedi i'r bŵch diangol gael ei arwain ymaith yn llaw'r gŵr cymhwys i'r anialwch, gallasai meibion Israel fod yn hyderus nad oedd un perygl i faich eu holl anwiredd am y flwyddyn, wedi ei gludo ymaith, ddychwelyd yn ôl atynt eto i ddirymu y maddeuant a gawsent gan eu Brenin nefol. Yr oedd y pech-aberth byw wedi ei hebrwng yn ddigon diogel i le anghyfannedd, lle nas gwelid ef, ac na chlywid am dano mwyach.

Arwyddocâd athrawiaethol hyn i ni ydyw, fod maddeuant Duw yn Nghrist yn faddeuant trwyadl ac am byth. Beth, yn iaith y Bibl, y mae yr Arglwydd yn ei wneuthur wrth faddeu pechod? Anghofio pechod—ei ddileu, fel cwmwl ac fel niwl—ei bellâu oddiwrthym cân belled ag yw'r dwyrain oddiwrth y gorllewin—ei daflu i ddyfnderoedd y môr, neu ei daflu i'r tu ôl i'w gefn. Dyna ymadroddion mor fawrion ac mor hynod ar y mater hwn fel y buasaem ni yn barod i dybio yn beth nesaf i gabledd eu harfer, oni bae mai Ysbryd Duw ei hun yw eu

hawdwr. Nid oediad cosb am dymmor sydd yma; ond gweithred sydd yn rhyddhâu y pechadur edifeiriol a chrediniol yn dragywydd oddiwrth ddigofaint Duw, ac yn ei gysylltu yn dragywydd â'i heddwch ef.

Mae yn deilwng o sylw am y gair a gyfieithir yn "fŵch diangol," pa enw a geir yn adn. 8, 10, a'r 26 o Lefiticus xvi., mai y gair gwreiddiol, fel y gall Cymro weled yn y Biblau Cymraeg lle mae darlleniadau ar ymyl y ddalen, yw Azazel. Ac y mae y rhan fwyaf o'r esbonwyr diweddar yn barnu mai nid mor brïodol oedd cyfieithu y gair hwn yn "fŵch diangol." Beth ynte a olygir wrth Azazel? "A'r bŵch y syrthiodd arno y coelbren i Azazel, a roddir i sefyll yn fyw ger bron yr Arglwydd, i wneuthur cymmod âg ef, ac i'w ollwng i'r anialwch i Azazel." Yr oedd yr hen dduwinydd da, Witsius, ac y mae llawer o'r prif esbonwyr yn awr, yn barnu mai enw yw Azazel—"y tröwr ymaith"—ar Ddiafol a Satan, yr hwn a osodir allan yma, fel mewn manau eraill o'r Ysgrythyr, yn un â'i drigfa yn y diffeithwch, fel arlun arwyddol o anghysur a dystryw. Yn ol y golygiad yna, yr ydym yn cael meddylddrych tlws ac effeithiol iawn am rym maddeuant trwy aberth. Nis golygir fod y bŵch byw yn cael ei anfon yn aberth i ddiafol; ond, fel yr oedd pechodau Israel yn eu dwyn hwy i berthynas â'r diafol, yr hwn sydd yn dad pechod, yn demtiwr i bechod, yn dal ei allu ar ddynion trwy bechod, ac yn gyhuddwr o bechod, golygir fod y bŵch, ar ol rhoddi arno feïau'r bobl, ac i Dduw yn y drefn hon eu rhyddhâu hwy oddiwrthynt, yn cael ei anfon gyda'r anwiredd i diriogaeth y diafol, i'w ddangos o flaen ei wyneb, ac yn hyny fel yn ymorfoleddu arno, a dywedyd, "Ni chei di mo Israel Duw eto, ddiafol! Os oeddit yn meddwl fod eu hanwiredd hwy yn rhoddi i ti hawl ynddynt, ha, elyn, gwel! dyma yr anwiredd a meibion Israel yn ddigon pell oddiwrth eu gilydd; gwna di a fynech â'r hen anwiredd; ceidw Duw ei bobl iddo ei hun. Ni wêl efe anwiredd yn Jacob, ac ni wêl drawsedd yn Israel; canys wele y pechaberth wedi dwyn y camwedd ymaith o'i olwg!" Y mae ein meddwl yn rhedeg oddiyma at eiriau Paul pan y mae yn llon-gyfarch y Colossiaid: "A chwithau, pan oeddych feirw mewn camweddau,—a gyd-fywhäodd efe gydag ef, gan faddeu i chwi yr holl gamweddau." Pa fodd y caed trefn i wneuthur hyny? "Gan ddilëu ysgrifen-law yr ordeiniadau, yr hon oedd i'n herbyn ni, yr hon oedd yn ngwrthwyneb i ni, ac a'i cymerodd hi oddiar y ffordd, gan ei hoelio wrth y groes; gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, efe a'i harddangosodd hwy ar gyhoedd, gan ymorfoleddu arnynt arni hi," sef ar y groes. Gellir dywedyd am y penaf o bechaduriaid a gredodd yn Mab Duw, a thrwy hyny a ymgysylltodd â'r "Iawn a dalwyd ar y groes," Ni chei di byth mo hwna, uffern! gan fod ysgrifnodyn ei ddyled i'r nefoedd, yr hon nad allasai efe ei hun ei thalu byth, wedi ei hoelio wrth y groes, yr wyt wedi colli pob gafael ynddo fel dy garcharor di; mae maddeuant trwy aberth pen Calfaria wedi ei wneuthur yn ŵr rhydd yn oesoesoedd mwy! Ydyw, y mae gwaed yr Oen eto yn allu digon cryf i orchfygu cyhuddwr y brodyr.

Gweddus yw i ni sylwi nad oedd defodau'r bychod ar ŵyl y cymmod, wedi y cwbl, ond math o chwareu cysgodol; rhyw ddangosiad yn unig ydoedd i gadw y ddyled mewn cof gan Ofynwr a dyledwyr,—dim ond *renewio*'r bil—ac felly, dan y ddeddf, yr oedd eisieu dau fŵch yn bechaberth o'r newydd bob blwyddyn. Ond y cyfryw oedd mawredd haedd-

iant a gras Archoffeiriad y testament newydd, fel yr oedd yn ddigon iddo ef "offrymu un aberth dros bechodau." Yr oedd Christmas Evans, â llygad ei ddychymyg bywiog, yn edrych ar yr Iesu, fel yr aberth mawr dros bechod, yn cael ei arwain o lŷs Pilat tua Chalfaria, â'i groes ar ei gefn; a phan yr oedd yn myned allan drwy un o byrth Jerusalem, er mwyn iddo ddyoddef y gwaradwydd a'r felldith y tu allan i'r porth, wele ddwy fil o fychod yn ei gyfarfod wrth y porth, a phwn blwyddyn o bechodau yr Israel ar gefn pob un o honynt, sef bŵch perthynol i bob un o'r ddwy fil o ŵyliau oedd wedi cymeryd lle o'r dechre hyd y pryd hwnw. Dyna hwy oll wedi eu codi o feirw, a dyfod o dir neillduaeth hyd at Jerusalem, ac yno yn llefain, yn eu hiaith hwy, Methodd genym gladdu yr anwiredd; wedi i ni farw, yr oedd y pechod yn fyw; a dyma ni yn llu mawr wedi dyfod yn fyw eto, ac wedi ein pynio â'r pechodau drachefn. Beth a wneir yn awr? ebe yr edrychydd crebwyllys mewn dychryn; wedi dadlwytho yr holl anwireddau hyn, a'u gollwng yn rhydd ar y dref a'r wlad, dyna ddigon o allu dinystriol i droi, nid yn unig Caersalem a Phalestina, ond yr holl ddaear, yn uffern o losgfeydd tragywyddol. Ond dyma yr Iesu dyoddefus yn dywedyd gyda phwyll a nerth, O'r goreu, fychod; ymogwyddwch, a theflwch i lawr eich beichiau; cewch fyned yn ôl i gysgu eich trymgwsg tragywyddol, heb eich aflonyddu byth eto; cymeraf fi yr holl bynieidiau trymion hyn, gyda llawer mwy, arnaf fy hun; ac erbyn y nawfed awr, mi a fyddaf wedi dybenu camwedd, selio pechodau, gwneuthur cymmod dros anwiredd, a dwyn cyfiawnder tragywyddol. Fore y trydydd dydd, dyma Iesu, Oen Duw, yn dyfod yn ôl o dir neillduaeth, yn amlder ei rym, eithr heb un anwiredd gydag ef; y mae efe yn fyw, a'r pechod yn farw; efe ar y làn yn orfoleddus, a phechod yn y dyfnder o'r golwg. Credwn ninnau ynddo. Efe yw yr Iawn, nid dros bechodau yr Israeliaid yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd. Gwnaeth efe unwaith am byth gymmod llawn dros anwiredd, fel na ddemnir yr euocaf a grêd ynddo. Yn nydd aruthr Golgotha, yr oedd Duw Dad wedi pentyru ein hanwireddau ni arno ef, "yr hwn nid adnabu bechod," nes, yn yr ystyr o gyfrifiad, fod Machnïydd pechadur wedi ei orchuddio â phechod, fel nad oedd llygad cyfiawnder Duw, wrth edrych ar y Sanct a'r Cyfiawn ei hun, yn cael dim ond pechod yn y golwg. Na ddyweder mai gormodiaith yw hyn; oblegid y mae ysbrydoliaeth Duw yn dywedyd y gwnaethpwyd ef "yn bechod drosom ni." Yn awr y mae cyfiawnder Crist yn gorchuddio yr enaid euog a ymlapiodd ynddo trwy ffydd, fel, yn llygad Duw, nad yw yr hen bechadur yn ymddangos heddyw yn ddim ond cyfiawnder o flaen yr orseddfainc, canys y mae wedi ei wneyd "yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Pwy na ddymunai, gyda yr apostol, "Ac y'm cair ynddo ef!"

Gallwn nodi ymhellach, mewn modd cymhwysiadol, mai nid dydd ysgafn i'r Israeliaid oedd dydd y cymmod. Er fod y bŵch yn eu lle hwynt yn dwyn yr anwiredd ymaith, mynai yr Arglwydd i'r anwiredd gostio rhywbeth iddynt hwythau. Heblaw cyffesu eu hanwiredd trwy eu harchoffeiriad, yr oeddynt i'w gyffesu bob un yn bersonol, a hyny yn ddifrifol trwy "gystuddio eu heneidiau," sef ymprydio, gweddïo, a galaru yn edifeiriol am eu hanwiredd, fel y byddent mewn agwedd gymhwys i werthfawrogi a derbyn y cymmod. Daw pechod yn chwerw i bob dyn, naill ai mewn edifeirwch yn y byd hwn, neu mewn cosbedigaeth yn y

# YR OES APOSTOLAIDD.

MAE y cyfnod a gymerir yma dan sylw yn un tra arbenig mewn amryw ystyriaethau. Yr ydys trwy ei astudio yn cael mantais i weled egwyddorion mawrion sylfaenwyr Cristionogaeth, yn cael cyfleusdra i gydnabod llaw Duw mewn llwyddo yr efengyl yn wyneb y rhwystrau mwyaf, ac yn cael achlysur i edmygu purdeb, dewrder, a hunanymwadiad, y ffyddloniaid, pa rai oeddynt esiamplau i Gristionogion trwy yr oesau dilynol.

Yn ol y cyfrif ehangaf y mae y cyfnod yn cynnwys yr yspaid o amser o ddydd y Pentecost hyd farwolaeth Ioan, sef yn agos hyd ddiwedd y ganrif gyntaf o'r cyfrif Cristionogol. Wrth wneyd rhai sylwadau arno, priodol yw cymeryd golwg ar y pethau canlynol:—

I. RHAI O'R HELYNTION A'R PRIF DDYGWYDDIADAU MEWN YSTYR WLADOL.

Pe bwriadai rhywun ddangos ar lèn fawr gwrs rhyw afon nodedig, byddai yn angenrheidiol iddo, tuag at roddi golygfa gywir, nid yn unig roddi llûn yr afon ei hunan, ond hefyd roddi arwyddluniau o'r prif wastadoedd a'r mynyddoedd yn y cyffiniau. Felly hefyd, tuag at gael iawn olwg ar hanes Cristionogaeth yn y cyfnod hwn, angenrheidiol ydyw fod rhai hynodion cyffredinol yn cael eu cyflwyno i'n sylw. Ac yn gymaint a bod Rhufain, y pryd hwn, wedi lledu ei llywodraeth dros y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus, nid anmhriodol a fyddai cymeryd cipolwg ar gymeriad yr ymherawdwyr.

Perchid Augustus yn fawr oblegid llawer o rinweddau perthynol iddo. Ac fe ddywedir i Tiberius gael ei foddloni gymaint yn yr hanes am weithredoedd Crist fel yr amlygodd ddymuniad am ei restru ymysg duwiau Rhufain. Ac mae'n debyg ddarfod i Claudius, ac hyd yn nôd Nero, amlygu tiriondeb mewn amddiffyn yr Iuddewon ar rai achlysuron. Ond er hyny darfu i benrhyddid Tiberius, ynfydrwydd Caligula, meddalwch Claudius, ynghyd âg ynfydrwydd a chreulonder Nero, osod gwarthnôd wrth eu henwau sydd wedi glŷnu wrthynt trwy yr oesau. Gyda bod Galba ac Otho, y naill ar ol y llall, yn eistedd ar y deyrngadair, hyrddiwyd hwynt ymaith trwy ddygwyddiadau anffodus. Dilynwyd hwy gan Vitellius, yr hwn oedd yn nodedig am ei oferedd a'i lythineb. Mae yn hyfryd cael golygfa wahanol yn hanes Vespasian, a Titus ei fab a'i olynwr. Yr oedd y naill yn nodedig am ei gallineb a'i fedrusrwydd i lywodraethu, a'r llall yn rhagorol oblegid ei hynawsedd a'i haelfrydigrwydd. Galwyd y diweddaf, oblegid ei ragoriaethau, "Hyfrydwch Dynolryw." Er hyny, nid oedd y llywodraeth Rufeinig yn yr yspaid hwn yn annhebyg, ar ryw gyfrifon, i'r mynydd tanllyd Vesuvius, cyfagos i'r ddinas. Ar ol i hwnw fod yn ddystaw a llonydd dros dymmor, eto ymgynhyrfa drachefn, gan fwrw allan ei losgnwy er difrod a dinystr i bawb a phob peth cyfagos. Felly, ar ol ychydig weddeidd-dra a ddangoswyd yn nghymeriadau yr ymherawdwyr blaenorol, wele yr hen ystrywiau yn dyfod drachefn i'r golwg yn malais a chreulonder Domitian, yr hwn a yrodd o'i ddinas y rhai rhagorol mewn llênyddiaeth, ac a erlidiodd yn ffyrnig y Cristionogion.

Yr oedd Judea dros ran fawr o'r cyfnod hwn yn dalaeth Rufeinig. Dyna oedd ei sefyllfa ar ol alltudiaeth Archelaus, mab Herod fawr. Mae yn wir i Caligula gydnabod Herod Agrippa, ŵyr i Herod fawr, yn frenin, ac iddo yntau barhâu felly am yr yspaid o dair blynedd. Ond ar ol ei farwolaeth ef, llywodraethid y wlad gan Raglawiaid Rhufeinig, o ba rai yr oedd Ffelix a Porcius Ffestus. Eto, nid hir y parhäodd pethau yn y ffurf yma: oblegid mewn canlyniad i wrthryfel yr Iuddewon, goddiweddwyd hwy gan y "gorthrymder mawr yr hwn ni bu ei fath o ddechreuad y byd." Cyfeirir yma at lwyr ddinystr Jerusalem, yn y flwyddyn A. D. 70, trwy ryfelgyrch Titus Vespasian. Mewn canlyniad i'r dinystr hwn gwasgarwyd yr Iuddewon dros wyneb yr holl ddaear.

Yn nheyrnasiad Titus y bu yr arllwysfa fwyaf dychrynllyd o fynydd Vesuvius ag a grybwyllir mewn hanesiaeth. Distrywiodd y tir am gryn nifer o filldiroedd o amgylch, a gorchuddiwyd amryw ddinasoedd gan y lludw llosgedig; ac ymysg y penaf o honynt yr oedd Pompeii a Herculaneum.

Tystia amryw haneswyr ddarfod i'r oraclau paganaidd ddechreu adfeilio ar ol dyfodiad Crist i'r byd, ac iddynt ddystewi yn hollol cyn diwedd yr oes apostolaidd.

II. Cynnydd a Lledaniad rhyfeddol Cristionogaeth.

Mae tòriad y wawr yn ymddangos yn beth bychan, a digon hawdd á fyddai i un ei adael dros ychydig yn ddisylw, eto y mae profiad wedi ein dysgu ei fod yn ddechreuad peth sydd i gynnyddu yn ddirfawr, ac i effeithio ar y ddaear yn y modd mwyaf daionus. Dechreuad bychan oedd y goleuni a dderbyniodd yr apostolion oddiwrth Grist, Haul mawr y byd, ond hynod fel y cryfhäodd ac yr ymledodd, a mawr mor fendithiol oedd ei effeithiau ar drigolion y ddaear.

Dechreuodd y llwyddiant ymysg yr Iuddewon, ac yn benaf yn Jerusalem. Trwy y pethau rhyfedd a gymerodd le ar ddydd y Pentecost, "ychwanegwyd atynt y dwthwn hwnw ynghylch tair mil o eneidiau," Actau ii. 41. Ychydig yn nês ymlaen, dywedir, "Llawer o'r rhai a glywsant y gair, a gredasant; a rhifedi y gwŷr a wnaed ynghylch pum' mil," pen. iv. 4. Yr oedd yr esiamplau o lwyddiant yn gyffelyb i dònau y môr pan yn llanw, y naill yn dilyn y llall, ac yn dyfod yn uwch, uwch i fyny. A dyma dòn ychwanegol o lwyddiant, "A gair Duw a gynnyddodd; a rhifedi y dysgyblion yn Jerusalem a amlhäodd yn ddirfawr, a thyrfa fawr o'r offeiriaid a ufuddhasant i'r ffydd," Actau vi. 7. Adroddir hefyd amryw weithiau am ychwanegiadau eraill cyffelyb, pa rai a gymerasant le mewn yspaid llai na blwyddyn a hanner ar ol esgyniad Crist. A hyd yma y mae yr hanes wedi ei gyfyngu at yr hyn a gymerodd le yn Jerusalem.

Yr ydym yn darllen yn nesaf ddarfod i'r Cristionogion gael eu gwasgaru fel effaith erlidigaeth lem a gyfododd oddiwrth yr Iuddewon; Actau viii. 1. Ond goruwchrëolwyd yr hyn oedd yn ddrwg o ran ei natur a'i amcan i fod yn achlysur o ddaioni a bendith. Megys ag y mae awelon cryfion yn foddion i wasgaru hadau llysiau a phlanigion dros yr ardaloedd cyfagos, felly y bu y blinder hwn yn achlysur i ledanu egwyddorion Cristionogaeth dros y gwledydd cymydogaethol. "A phawb a wasgarwyd ar hŷd gwledydd Judea a Samaria." "A'r rhai a wasgaresid a dramwyasant gan bregethu y gair." Ond er mor gref ydoedd yr ystorm

hon, mae yn ymddangos i'r apostolion gadw eu lle yn Jerusalem; oblegid dywedir, "Pawb a wasgarasid ond yr apostolion." A dywed traddodiad eu bod yn hyn yn ymddwyn yn ol y cyfarwyddyd a dderbyniasant gan Iesu Grist, sef am iddynt beidio ymadael yn hollol â Jerusalem cyn pen tua deuddeg mlynedd ar ol ei esgyniad ef i'r nefoedd. Er hyny y mae yn amlwg y bendithiwyd yn helaeth lafur yr athrawon a'r Cristionogion cyffredin yn y gwasgariad hwn; oblegid yr ydym yn darllen yn fuan ar ol hyn fod eglwysi wedi eu sefydlu yn Judea, Galilea, a Samaria; Act. ix. 31.

Gellid meddwl fod annhueddrwydd ar y cyntaf yn meddyliau yr apostolion a'r efengylwyr i fyned y tu allan i derfynau gwlad Canaan. Ond mewn canlyniad i'r hyn a gymerodd le yn nhŷ Cornelius, argyhoeddwyd hwy fod gwledydd y byd i fod iddynt yn faes llafur.

Un o'r eglwysi cyntaf a sefydlwyd y tu allan i gylch eu gwlad eu hunain ydoedd hono yn Antiochia. Hon ydoedd brifddinas Syria, ac yr oedd yn sefyll tua thri chan' milldir i'r gogledd o Jerusalem. Mae y ddinas hon yn nodedig yn y cyfnod hwn ar amryw gyfrifon. Yma y galwyd y dysgyblion gyntaf yn Gristionogion, Actau xi. 26. Yma y bu Paul yn llafurio am flwyddyn gyfan ar ol cael ei alw yno gan Barnabas. A hon ydoedd canolbwynt cyrchfa yr apostolion wrth wneyd eu gwibdeithiau ymysg y Cenedloedd.

Pregethwyd yr efengyl gan Paul o Jerusalem hyd Ilyricum; Rhuf. xv. 19. Hysbysa hefyd fod yn ei fwriad ymweled â'r Yspaen; Rhuf. xv. 24. Mae yr hanes yn llyfr yr Actau yn ei adael yn Rhufain. Ac fe dybir iddo ar ol hyn, nid yn unig gyflawni ei amcan blaenorol trwy ymweled âg Yspaen, ond hefyd iddo deithio drosodd, a phregethu yr efengyl mewn rhanau o Brydain.

Arwydda epistol Pedr fod Cristionogion yn wasgaredig dros Asia Leiaf; oblegid y mae efe yn ei gyfeirio "at y dyeithriaid oedd ar wasgar ar hyd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a Bithynia," 1 Pedr i. 1. Cawn hanes am eglwysi cryfion yn Corinth, Philippi, a Rhufain. Ar ol i Ioan dreulio llawer o flynyddoedd yn Judea, ymsefydlodd yn Ephesus, lle y gorphenodd ei yrfa tua diwedd y ganrif gyntaf. Dywed hanesiaeth ddarfod i Marc deithio i'r Aipht, a sefydlu eglwys gref yn Alexandrïa. Yn ol rhai traddodiadau, hefyd, aeth Andrëas i Scythia a Thracia, Matthew i Persia, Phylip i Phrygia, a Thomas i Parthia, Media, Persia, ac India.

Mae y rheswm mawr dros y fath gynnydd mewn amser mor fŷr i'w weled mewn un dystiolaeth: "I Dduw y byddo y diolch, yr hwn sydd yn wastad yn peri i ni oruchafiaeth yn Nghrist, ac sydd yn eglurhâu arogledd ei wybodaeth trwom ni ymhob lle."

III. Y Blinderau a'r Erlidiau a Ddyoddefwyd gan y Cristionogion.

Pan ddelo elfenau croes i'w gilydd mewn ystyr naturiol i gyfarfyddiad, mae llawer o dwrf a chyffro yn cael eu hachlysuro, hyd oni byddo y naill neu y llall o honynt wedi cael yr oruchafiaeth. Felly, nid cynt y darfu i Gristionogaeth ddadlenu ei natur ysbrydol a sanctaidd, nag y dechreuwyd ymosod arni mewn erlidiau oddiwrth dywyllwch a choelgrefydd y byd hwn.

Y mae rhai ffeithiau teilwng o sylw mewn cysylltiad â'r blinderau a ddyoddefwyd yn yr oes apostolaidd. Un ffaith ydyw hyn, sef bod y blinderau yma ar y cyntaf yn cael eu hachosi yn benaf gan yr Iuddewon.

Yr oedd ysbryd y rhan fwyaf o honynt yn gynhyrfus a dialgar, ac am hyny yr oeddynt yn barod i ymosod ar genadau yr efengyl, pa le bynag y cawsent gyfleusdra. Wele y desgrifiad a rydd Paul o'u cymeriad: "Y rhai a laddasant yr Arglwydd Iesu, a'u prophwydi eu hunain, ac a'n herlidiasant ninnau ymaith; ac ydynt heb ryngu bodd Duw, ac yn erbyn pob dyn," 1 Thes. ii. 15. Wrth sylwi ar eu hanes, fe welir y nodweddiad hwn yn dyfod i'r golwg ar lawer o achlysuron. Darllenwn am eu hymddygiad yn Thessalonica: "Eithr yr Iuddewon y rhai oedd heb gredu, gan genfigenu, a gymerasant atynt ryw ddynion drwg o grwydriaid; ac wedi casglu tyrfa, hwy a wnaethant gyffro yn y ddinas, ac a osodasant ar dŷ Jason, ac a geisiasant eu dwyn hwynt allan at y bobl," Act. xvii. 5. Ac hyd yn nôd mewn ardaloedd y tu allan i wlad Canaan, os byddai yno lawer o Iuddewon, hwy oeddynt y gelynion gwaethaf i'r apostolion. Pan oeddynt yn Lystra, lle y cyflawnwyd y wyrth hynod hono ar y dyn cloff, dywedir, "Daeth yno Iuddewon o Antiochia ac Iconium, a hwy a berswadiasant y bobl; ac wedi llabyddio Paul, a'i llusgasant ef allan o'r ddinas, gan dybied ei fod ef wedi marw," Actau xiv. 19.

Er fod yr Iuddewon y pryd hwn yn ddarostyngedig i'r Rhufeiniaid, eto yr oeddynt mewn amrywiol ffyrdd yn gallu blino a phoenydio y dysgyblion. Yr oeddynt yn gallu eu bwrw allan o'r synagog, eu fflangellu, a dwyn cyhuddiadau maleisus yn eu herbyn o flaen y swyddogion. Yn y modd hwn y dygwyd ymlaen dros rai blynyddoedd yr erlidigaeth gyntaf yn Judea, yn yr hon y llabyddiwyd Stephan, y merthyr cyntaf.

Yn Actau ix. 31, dywedir, "Yna yr eglwysi trwy holl Judea, a Galilea, a Samaria, a gawsant heddwch." Tybir gan rai mai yr achlysur o'r seibiant hwn ydoedd fod Caligula, yr ymherawdwr, wedi danfon Petronius i Judea, er mwyn gosod i fyny ddelw yr ymherawdwr yn Jerusalem, ac i hyn gyffrôi yr Iuddewon gymaint, fel nad oedd ganddynt hamdden i ddim arall, ac felly ddarfod i'r Cristionogion, dros yspaid, gael llonydd.

Un achos fod yr Iuddewon yn amlygu y fath chwerwder yn erbyn y Cristionogion ydoedd, fod egwyddorion yr efengyl yn gwbl groes i'w hen syniadau, yn dadsylfaenu hen ffurfiau seremonïol eu crefydd, ac yn distrywio eu gobeithion am fawredd daearol. Yr oeddynt hwy wedi arfer edrych arnynt eu hunain fel rhai ar safle uwch na chenhedloedd eraill, ac yr oeddynt yn dysgwyl y buasent trwy y Messïah yn ymddyrchafu mewn rhwysg a mawredd tymmorol. Ond pan gyhoeddid iddynt mai yr hwn a groeshoeliwyd oedd y Messïah, a bod y gwahaniaeth crefyddol rhwng yr Iuddew a'r Cenedl-ddyn wedi ei ddilëu, yr oedd eu dysgwyliadau yn cael eu siomi, a'u hymddygiadau blaenorol yn cael, i'r graddau eithaf, eu condemnio.

Ond y mae yn deilwng o sylw, ymhellach, tra y byddai yr Iuddewon yn amlygu yr elyniaeth hon, fod y swyddwyr Rhufeinig yn cael eu tueddu, dros yspaid, i ddangos llawer o diriondeb at ledanwyr Cristionogaeth. Cawn esiampl o hyn yn Galio, yr hwn a ddarfu amddiffyn Paul yn Corinth, a gyru yr Iuddewon maleisus oddiwrth y frawdle; Act. xviii. 11—16. Yn Ephesus hefyd darfu i ysgolhaig y ddinas, sef yr ysgrifenydd cyffredinol, sefyll o blaid yr apostolion, gan ddywedyd wrth eu gwrthwynebwyr, "Rhaid i chwi fod yn llonydd, ac na wneloch ddim mewn byrbwyll," Actau xix. 36. Dyma a ddywedir hefyd am Julius y canwriad, dan ofal yr hwn yr ymddiriedwyd Paul yn y fordaith i Rufain: "A Julius a ym-

ddŷg yn garedigol tuag at Paul, ac a roddes iddo genad i fyned at ei gyfeillion i gael ymgeledd," Actau xxvii. 3.

Cyffelyb i hyn ydoedd ymddygiad cyffredin y swyddogion dros yr yspaid a gynnwysa yr hanes yn llyfr yr Actau. Ac yr oedd hyn yn berffaith gydunol âg egwyddorion yr ymherodraeth Rufeinig. Nid oedd y llywodraeth yn dewis aflonyddu y cenhedloedd gorchfygedig oblegid eu crefydd. Gadawent i'r bobl lŷnu wrth eu hen dduwiau, ac addoli yn ol eu hen drefniadau. Caniatäwyd rhyddid crefyddol i'r Iuddewon, a chadarnhäwyd ef amryw weithiau. Ac y mae yn ymddangos yr ystyriai y swyddwyr hyn nad oedd gwahaniaeth neillduol rhwng yr Iuddewon a'r Cristionogion, a bod yr holl ddadwrdd rhyngddynt yn unig oblegid geiriau a defodau; Actau xviii. 15. Felly yr oeddynt yn ymddwyn yn llariaidd at y Cristionogion, yn enwedig gan nad oeddynt yn cael dim neillduol ynddynt allan o le fel gwladwyr.

Er hyny y mae ffaith arall yn anwadadwy, sef, y bu Cristionogion yn wrthddrychau dwy erlidigaeth ofnadwy oddiwrth yr ymherawdwyr Rhufeinig, cyn diwedd yr oes apostolaidd.

Y gyntaf o'r rhai hyn a gymerodd le yn nheyrnasiad Nero, A.D. 64. Torodd tân dychrynllyd allan yn Rhufain. Drwgdybid Nero o'r ymddygiad ellyllaidd o osod y ddinas ar dân yn wirfoddol. Bu hyn yn achlysur o ddadguddio y llid a'r malais ag oedd erbyn hyn yn cael eu coleddu yn erbyn y Cristionogion. Rhoddodd yr ymherawdwr y chwedl allan mai hwy a osododd y ddinas ar dân, a dechreuwyd eu herlid yn y modd mwyaf creulawn. Gwisgwyd rhai o honynt mewn crwyn creaduriaid gwylltion, er mwyn iddynt gael eu llarpio gan y cŵn. Cafodd eraill eu croeshoelio. Dwbiwyd eraill â defnyddiau hylosg, ac yna gosodwyd tân wrthynt fel y byddai i'r ffaglau oleuo y ddinas yn y nos. Yn yr erlidigaeth hon y dyoddefodd Paul a Pedr ferthyrdod.

Yr erlidigaeth nesaf ydoedd dan yr ymherawdwr Domitian, ymhen tua 30 mlynedd ar ol yr un flaenorol. Achlysurwyd hon gan ddrwgdybiaeth yn meddwl yr ymherawdwr fod rhyw un o olynwyr y brenin Dafydd ac o berthynasau Crist, yn bwriadu peri chwyldröad, a dyfod i feddiant o'r llywodraeth. Yn yr erlidigaeth hon yr alltudiwyd Ioan i ynys Patmos. A dywed traddodiad iddo yn flaenorol gael ei daflu i bair o olew berwedig, a dyfod allan heb gael dim niwed. Naturiol yw gofyn, Paham y darfu i'r ymherodraeth Rhufeinig, yr hon oedd yn arfer dangos cymaint o oddefgarwch at bob math o grefyddau, droi mor elynol i Gristionogaeth? Un rheswm, mae yn ddiammheu, ydoedd hyn, sef, nad oes dim tuedd mewn Cristionogaeth i ddygymmod neu i gydfodoli â gau grefyddau, ond ei helfen yn hytrach ydyw eu dymchwelyd oll yn ddiwahaniaeth. Pe buasai hi o duedd lonydd, gallasai gael llonydd fel y crefyddau eraill; ond gan mai ei hamcan ydoedd dymchwelyd yr allorau, a chau y temlau paganaidd, yr oedd hyn yn cynnyrchu dygasedd yn erbyn ei phleidwyr. Heblaw hyn, yr oedd crefydd y Rhufeiniaid yn gydweuedig â'u sefydliadau gwladol. Ac am hyny ystyrid y rhai a fyddai yn sefyll yn erbyn y defodau paganaidd yn wrthwynebwyr i'r llywodraeth. Ar ryw achlysuron arbenig, megys coroniad yr ymherawdwr, neu wyliau er cof am fuddugoliaeth, byddai y defodau eilunaddolgar mewn bri anarferol; a chan na wnai y Cristionogion gydffurfio â'r werin, yr oeddynt yn cael eu hystyried yn derfysgwyr a gwrthryfel-

wyr, ac felly yn dyfod yn wrthddrychau dygasedd a chreulonder yr awdurdodau.

IV. RHAI O NODWEDDIADAU ARBENIG Y CRISTIONOGION.

Bu y blinderau a'r erlidiau y cyfeiriwyd atynt yn achlysur o ddwyn i'r golwg mewn modd tra hynod rai o ragoriaethau crefydd Iesu Grist. Yn gyffelyb fel y mae rhediad crychiog y dwfr yn foddion i'w loewi a'i buro, neu fel y mae gwrês tanbeidiol y ffwrn yn foddion i ysgaru y sorod oddiwrth y metel, felly y bu yr erlidiau a ddyoddefwyd gan rai yn achlysur i beri iddynt ddwyn i ymarferiad mewn modd tra amlwg rai o rinweddau Cristionogaeth.

Un peth nodedig ynddynt oedd eu cariad angerddol at eu gilydd. Yr oedd hyn yn tynu sylw eu gwrthwynebwyr. Yr oeddynt yn methu deall paham yr oedd pobl ag oeddynt o'r blaen yn hollol estronol i'w gilydd, a phobl ag oeddynt yn gwahaniaethu cymaint o ran eu dulliau a'u harferion cyntefig, yn amlygu y fath ymlyniad y naill wrth y llall. Ymddengys eu bod hwy yn meddu y teimlad hapus o'u bod yn blant i Dduw, ac mewn undeb â Christ, fel y cyntafanedig ymhlith brodyr lawer; ac am hyny yr oeddynt yn meddu serchiadau cryfion at eu gilydd. Yr oeddynt gan hyny yn teimlo prïodoldeb tystiolaeth Ioan: "Nyni a wyddom ddarfod ein symud ni o farwolaeth i fywyd am ein bod yn caru y brodyr."

Yn gysylltiedig â hyn yr oeddynt yn mwynhâu mesur helaeth o gysur a llawenydd yn mhethau yr efengyl. Darllenwn am y miloedd a argyhoeddwyd ar ddydd y Pentecost: "Hwy a gymerasant eu lluniaeth mewn llawenydd a symledd calon, gan foli Duw." Ac am y gŵr o Ethiopia, wedi iddo gredu, dywedir, "Efe a aeth ar hŷd ei ffordd ei hun yn llawen." Felly hefyd ceidwad y carchar: "Efe a fu lawen, gan gredu i Dduw a'i holl deulu." Gellid meddwl fod y goleuni ag oeddynt yn dderbyn mor glir ag i chwalu o'u meddwl niwl ammheuaeth, a bod "Duw y gobaith yn eu cyflawni o bob llawenydd a thangnefedd gan gredu." Diammheu fod mesur helaeth o ddyddanwch yn cael ei roddi iddynt er mwyn rhoddi prawf i'r byd o nerth yr efengyl, ac er mwyn eu cyfaddasu hwythau ar gyfer eu profedigaethau.

Tebygol hefyd fod yr eglwysi cyntaf a sefydlwyd yn dra digymysg o ran cymeriad eu haelodau. Yr oedd yr awelon cryfion a fyddai yn chwythu arnynt yn eu puro i fesur mawr oddiwrth yr ûs o ragrith, gan adael ar ol wenith gwirionedd. Dichon fod hyn yn un rheswm paham y cyferchir yr eglwysi yn yr Epistolau mewn modd mor ffafriol a hyderus, gan eu galw yn saint, ffyddloniaid, a galwedigion. Er hyny, daeth drygau i'w plith hwythau, a phrofwyd fod rhai yn eu mysg nad oeddynt ond Cristionogion mewn enw. Mae hyn yn eglur oddiwrth y desgrifiad a gawn o eglwys Corinth, a'r cyhuddiadau a ddygir yn erbyn rhai o'r eglwysi yn llyfr y Dadguddiad.

Y peth arbenig ag oedd yn gwahaniaethu y Cristionogion ydoedd eu ffydd yn Iesu Grist fel Mab Duw, a Gwaredwr pechaduriaid. "Pob un a'r sydd yn credu mai Iesu yw y Crist, o Dduw y ganed ef." Mae hyn i'w weled yn y gyffes foreuol a elwir, "Credo yr Apostolion." Gŵyr y rhan fwyaf fod hono yn ei ffurf gyntefig yn llawer bŷrach nag y mae fel y mae yn cael ei harfer yn gyffredin,—"Credaf yn Nuw Dad Hollalluog; ac yn Iesu Grist, ei uniganedig Fab ef, a'n Harglwydd ni, yr

hwn a aned o Fair y forwyn, a groeshoeliwyd dan Pontius Pilat, a gladdwyd, ac ar y trydydd dydd a gyfododd oddiwrth y meirw, a esgynodd i'r nefoedd, ac a eisteddodd ar ddeheulaw y Tad, ac oddiyno y daw i farnu y byw a'r meirw; ac yn yr Ysbryd Glân; yr Eglwys sanctaidd, maddeuant pechodau, ac adgyfodiad y corff." Dywed traddodiad ddarfod i'r apostolion gyttuno ar y ffurf hon cyn iddynt ymwahanu oddiwrth eu gilydd i fyned ar hyd y gwledydd. Mae yn wir nad oes sicrwydd am hyn, eto mae sail i gredu fod ganddynt ryw ffurf yn arferedig ag oedd yn arwyddo crediniaeth yn Iesu Grist, ac y byddai hon yn cael ei dysgu ganddynt i'r dychweledigion; 2 Tim. i. 13.

Yn yr ordinhadau o fedydd a swper yr Arglwydd, yr oedd eu cyffes, neu y gwirioneddau a gredent yn cael eu gosod allan mewn arwyddion. Yr oedd y dychweledigion, wrth gymeryd eu bedyddio, yn gwneyd proffes eu bod yn eiddo Duw, a bod Duw yn eiddo iddynt hwythau, ac yr oeddynt yn arwyddo eu bod yn dyfod yn gyfranog o'r holl ras cynnwysedig yn enw y Drindod bendigedig. Mae hyn yn gynnwysedig mewn bedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Yn yr un ordinhâd hefyd yr oeddynt yn arwyddo eu bod yn gwneyd defnydd o Grist fel y cyfrwng mawr trwy yr hwn y mae i ddynion gael eu hadferu i berthynas ddedwydd â Duw, a dyfod yn gyfranog o fendithion ei ras: "Canys chwi oll ydych blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu. Canys cynifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist a wisgasoch Grist," Gal. iii. 26, 27.

Mae yn amlwg hefyd fod yr un ordinhâd yn arwyddo cydffurfiad calon â'r egwyddorion mawrion cynnwysedig yn marwolaeth ac adgyfodiad Crist, ac felly dangosai y rhai a fedyddid eu bod yn marw i bechod, ac yn cyfodi i fuchedd newydd; Rhuf. vi. 3—5. Mae yn ymddangos hefyd fod yr ordinhâd wedi ei bwriadu i fod yn arwyddlun o'r adgyfodiad cyffredinol, gan yr awgrymir ei bod, i fesur, yn colli ei hystyr, os na bydd i'r meirw gael eu cyfodi: "Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir dros y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? paham ynte y bedyddir hwy dros y meirw?" 1 Cor. xv. 29.

Er mai rhai mewn oed oedd yn cael eu bedyddio fel hyn ar gyffes eu ffydd, eto y mae ymddygiad yr apostolion yn profi eu bod yn golygu fod plant credinwyr i fod yn aelodau o'r eglwys Gristionogol, ac felly eu bod hwy, yn gystal â'u rhïeni, i fod yn gyfranog o'r ordinhâd ag sydd yn arwyddo cyfammod â Duw. Ac am hyny, pan ofynodd rhai dan ddylanwad argyhoeddiad dwfn, "Beth a wnawn ni?" dyna y cyfarwyddyd a roddwyd iddynt gan Pedr, "Edifarhëwch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist er maddeuant pechodau." A rhag i'r Iuddewon oedd yn gwrando feddwl fod eu plant yn colli y rhagorfraint oedd yn perthyn iddynt yn yr eglwys Iuddewig, y mae yn brysio i hysbysu iddynt eu bod i gael lle yn yr eglwys Gristionogol: "Canys," medd efe, "i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant." Ac yn gyttunol â hyn, pan fyddent yn bedyddio penau teuluoedd dychweledig, byddent hefyd yn bedyddio eu "heiddo oll yn y man."

Mae yr hanes yn y Testament Newydd yn gadael dynion i fesur mawr i gasglu beth oedd y dull cyffredin o fedyddio mewn ymarferiad. Ac o ran dim sydd yn ymddangos yn y gwrthwyneb, gallasai fod gwahanol ddulliau yn cael eu defnyddio. Bedyddiwyd ceidwad y carchar a'i

deulu yn y nos yn y man. Cyttunodd Phylip a'r eunuch i ddefnyddio y cyfleusdra cyntaf i fedyddio, ac felly aethant i waered i'r dwfr oedd yn ymyl y ffordd. A phan ddychwelwyd y bobl oedd wedi ymgasglu yn nhŷ Cornelius, amlygodd Pedr ei ewyllys am iddynt gael eu bedyddio yn ddioed; ac y mae y geiriau a ddefnyddiodd yn rhoddi awgrym am y dull oedd yn olygu,—"A all neb *luddias dwfr*, fel na fedyddier y rhai hyn?" Actau x. 47.

Megys ag yr oedd bedydd yn arwydd o undeb â Christ a derbyniad i'w eglwys, ac am hyny i gael ei weinyddu ond unwaith ar yr un person, felly yr oedd swper yr Arglwydd yn gyfrwng cymundeb parhäus â Christ ac â'i bobl, ac am hyny i gael ei arfer yn feunyddiol.

Dysgir ni yn helaeth yn 1 Cor. xi. am osodiad yr ordinhâd a'i dybenion, a'r modd y mae i gael ei harferyd.

Peth cyffredin yn y cyfnod hwn ydoedd fod Cristionogion yn cynnal cariadwleddoedd yn flaenorol i weinyddiad swper yr Arglwydd; Judas 12. I'r rhai hyn dygai y cyfoethogion eu cyfraniadau, y rhai a renid i'r gweddwon, yr amddifaid, a'r tlodion; ac yna byddent yn cydwledda â'u gilydd, gan ddechreu a diweddu mewn gweddi. Er mor rhagorol oedd yr arferiad hwn, eto aeth yn raddol yn achlysur o lygredigaeth.

Amlygai yr apostolion lawer o ddoethineb yn y dull y dygent ymlaen gyfnewidiadau pwysig. Un siampl o hyn yw y modd y sefydlwyd y Sabbath Cristionogol. Ni roddent orchymyn penodol am gadw y dydd cyntaf o'r wythnos, a rhoddi heibio yn hollol yr hen Sabbath; eto yr oedd y bri a roddent ar y dydd cyntaf yn arwyddo mai hwn a ystyrient y Sabbath o dan yr oruchwyliaeth newydd. Dysgwyd hwy i barchu y dydd hwn trwy siampl eu Harglwydd, yr hwn a ymddangosodd iddynt unwaith ac eilwaith "yn hwyr y dydd cyntaf o'r wythnos," Ioan xx. 19, 26. Aeth yn arferiad gan y dysgyblion i gydgyfarfod ar y dydd cyntaf o'r wythnos, ac i gyfranogi o swper yr Arglwydd; Actau xvii. 7; 1 Cor. xvi. 2. Ac felly yn raddol aeth y dydd mor uchel yn meddyliau y Cristionogion fel y dechreuwyd ei alw wrth yr enw anrhydeddus "dydd yr Arglwydd."

Pan oedd y syniadau hyn wedi gweithio eu ffordd i raddau yn meddyliau y credinwyr, ni phetrusai Paul ddyweyd wrthynt nad oedd achos iddynt mwyach ofalu am y Sabbath Iuddewig, gan fod ei ddyben seremonïol wedi ei gwblhâu: "Na farned neb arnoch chwi o ran dydd gŵyl, neu newyddloer, neu sabbathau," Col. ii. 16. Ac mewn modd cyffelyb y dywedai Ignatius ychydig ar ol hyny, "Bydded i ni bellach, nid cadw y Sabbath, ond Dydd yr Arglwydd, ar yr hwn y darfu i'n Bywyd adgyfodi."

Amlygasant y cyffelyb ddoethineb gyda golwg ar gaethwasanaeth. Yr oedd caethwasanaeth yn hen sefydliad erbyn y pryd hwn ymysg y Rhufeiniaid; ac yr oedd y rhai a fyddent yn y sefyllfa hon yn gwbl ddiamddiffyn. Gallasai eu meistriaid eu darostwng, eu poenydio, a'u hanafu, ac hyd yn nôd eu lladd, heb fod neb yn beiddio eu galw i gyfrif. Mae yn amlwg fod trefniad o'r fath yma yn gwbl groes i egwyddorion a thuedd y grefydd Gristionogol. Er hyny, nid ydym yn cael fod yr apostolion yn arfer mesurau uniongyrchol i'w wrthwynebu; buasai hyn o bosibl yn debyg o ychwanegu y rhwystrau ar eu ffordd i ledanu yr efengyl. Ond gwyddent fod yr egwyddorion a ddysgent yn myned dan sylfaen y sefydliad, a'u bod yn tueddu yn sicr i'w ddinystrio. Dysgent

nad oes gwahaniaethau allanol rhwng dynion i'w cydnabod yn eu perthynas â Christ, gan nad oes ymysg y rhai sydd mewn undeb âg ef ddim Iuddew na Groegwr, caeth na rhydd, canys un ydynt yn Nghrist Iesu; Gal. iii. 28. Cynghorent, mae'n wir, y caethweision i fod yn ddarostyngedig i'w meistriaid, ac i ufuddhâu iddynt ymhob peth, eto dysgent hwynt i ymgodi uwchlaw yr ysbryd slafaidd perthynol i'r sefyllfa hono, ac i edrych arnynt eu hunain nid yn hollol fel boddlonwyr dynion, ond "fel gweision Crist yn gwneuthur ewyllys Duw o'r galon," Ephes. vi. 6, 7. Annogent hwynt hefyd i geisio a mwynhâu eu rhyddid, os gallent gael hyny trwy foddion têg ac esmwyth. "Os gelli gael bod yn rhydd, mwynhâ hyny yn hytrach," 1 Cor. vii. 21.

O'r ochr arall dysgent y meistriaid mai nid tra-arglwyddi oeddynt, fel y byddai rhai yn eu sefyllfa hwy yn gyffredin yn ystyried eu hunain, ond fod iddynt hwythau Feistr yn y nefoedd; Col. iv. 1. Cynghorent hwynt hefyd i ymddwyn nid yn unig yn gyfiawn, ond yn dirion tuag at eu caethweision. Yr oeddynt yn y modd dystaw hwn yn lefeinio y bobl âg ysbryd rhyddid, a'r canlyniad ydoedd fod caethwasanaeth yn ei ffurf wrthun a chreulawn ymhen yspaid yn diflanu.

V. Cyfansoddiad neu Ffurflywodraeth yr Eglwys y pryd hwnw.

Mae yr amrywiaeth syniadau mewn perthynas i'r pwnc hwn yn cynnyrchu graddau o anhawsder i'w benderfynu. Megys ag y mae niwl pan yn hofran yn yr awyr yn peri rhwystr i ffurfio barn gywir am wrthddrychau yn yr wybren, felly y mae gwahaniaeth golygiadau am y mater dan sylw yn achlysur o anhawsder i ganfod pethau yn hollol fel yr oeddynt. Er hyny y mae rhai ffeithiau a adroddir yn y Testament Newydd, ynghyd âg ychydig awgrymiadau o eiddo yr haneswyr eglwysig boreuaf, yn rhoddi mantais i fesur i ddeall y gwirionedd.

Yn y goleuni hwn gwelir yn eglur y pethau canlynol. Mae yn amlwg y byddai pob peth pwysig yn cael ei ddwyn ymlaen neu ei benderfynu trwy gyfrwng llais cyffredinol yr eglwys.

Cawn siampl o hyn yn newisiad rhai o'r swyddwyr cyntaf; Actau vi. 2, 3. Gwelwn amlygiad o'r un peth yn y dull a gymerwyd i benderfynu dadl bwysig a gyfodasai; Actau xv. 22. Dangosir yr un egwyddor yn y modd y byddai dysgyblaeth yn cael ei gweinyddu; 1 Cor. v. 4. Sonia Paul hefyd am ryw frawd, yr hwn, ebe efe, "a ddewiswyd gan yr eglwysi i gydymdaith â ni," 2 Cor. viii. 19. Mae rhai crybwylliadau yn rhoddi sail i gasglu y byddai yr apostolion neu yr henuriaid yn gosod rhyw bethau ger bron yr eglwysi ag y byddent yn rhoddi eu barn bersonol, ac yna y byddai y pethau yn cael eu penderfynu trwy lais cyffredinol.

Mae peth arall hefyd i'w weled yn yr hanes, sef fod y gwahanol eglwysi mewn undeb â'u gilydd, ac yn cael eu cynnrychioli gan eu swyddwyr ar achlysuron neillduol. Y siampl sydd genym mewn golwg ydyw y cyfarfod hwnw yn Jerusalem, yr hwn a achlysurwyd gan y ddadl oedd wedi cyfodi yn eglwys Antiochia. Ac am y brodyr a anfonwyd o'r eglwys hono, dywedir, "Hwy a dderbyniwyd gan yr eglwys, a chan yr apostolion, a chan yr henuriaid." Ac er mai eglwys Antiochia fu yn achlysur o ddwyn y cwestiwn dan sylw, eto yr oedd y brodyr oedd wedi cydgyfarfod yn Jerusalem i ymgynghori yn ei gylch, yn ystyried eu bod yn trin achos eglwysi eraill hefyd; oblegid anfonasant anerch "at y brodyr o'r Cenedloedd yn Antiochia, a Syria, a Cilicia," Actau xv. 23.

Dysgir ni hefyd yn yr hanes fod amryw o'r swyddau a'r doniau ag oeddynt yn yr eglwys yn gyfryw ag oedd yn perthyn yn neillduol i'r cyfnod hwnw.

Cawn mewn un adnod rês o wahanol swyddau: "Ac efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon," Ephes. iv. 11.

Apostol ydoedd un wedi ei anfon a'i gymhwyso mewn modd anghyffredin at y gwaith perthynol i gychwyniad Cristionogaeth. Yr oedd y pethau canlynol yn angenrheidiol mewn apostol:—ei fod wedi gweled Crist; 1 Cor. ix. 1: wedi cael galwad uniongyrchol gan Grist; Luc vi. 13: ei fod dan ysbrydoliaeth anffaeledig; Ioan xvi. 13: ac yn meddu gallu i gyflawni gwyrthiau, 2 Cor. xii. 12. Ofer, gan hyny, yw sôn am olyniaeth apostolaidd, gan nad oes neb a all ddangos yr arwyddion hyn o apostoliaeth.

Prophwydi oeddynt bersonau, y rhai, trwy ddylanwadau arbenig yr Ysbryd Glân, oeddynt yn meddu cymhwysder i lefaru gydag eglurder a grym anarferol, i roddi cyfarwyddyd mewn amgylchiadau o bryder, ac i ragfynegi pethau dyfodol; 1 Cor. xiv. 3, Actau xiii. 1, 2, a xi. 27, 28.

Efengylwyr oeddynt rai wedi eu galw a'u donio mewn modd goruwchnaturiol i bregethu yr efengyl, ac yr oeddynt yn llafurio mewn modd darostyngedig i'r apostolion. Tybir yn gyffredin ddarfod i'r deg a thriugain a anfonwyd allan gan Iesu Grist lafurio fel efengylwyr; Luc x. 13. Hon ydoedd y swydd a gyflawnid gan Titus a Timotheus; Titus i. 5; 2 Tim. iv. 5.

Mae sail i gredu eu bod yn gyffredin yn cael eu dewis mewn canlyniad i hysbysiad a chyfarwyddyd oddiwrth un o'r prophwydi. Felly dywedir am Timotheus, fod "prophwydoliaethau o'r blaen wedi cerdded am dano," 1 Tim. i. 18; ei fod wedi derbyn dawn trwy brophwydoliaeth ac arddodiad dwylaw yr henuriaeth; 1 Tim. iv. 14. Yr oeddynt yn meddu doniau gwyrthiol. Dywedir am Phylip yr efengylwr, "A'r holl bobl yn gyttûn a ddaliodd ar y pethau a ddywedid gan Phylip, wrth glywed o honynt, a gweled yr arwyddion yr oedd efe yn eu gwneuthur," Actau viii. 6. Byddent weithiau yn cael eu gosod i lafurio mewn eglwysi, ac i drefnu pethau yn eu plith yn ol cyfarwyddyd yr apostolion. "Er mwyn hyn y'th adewais yn Creta," meddai Paul wrth Titus, "fel yr iawn drefnit y pethau sydd yn ôl, ac y gosodit henuriaid ymhob dinas, megys yr ordeiniais i ti," Titus i. 5. Ymddengys na byddent yn aros yn hir yn un man, ond y byddent yn gwibio yn ôl ac ymlaen yn ol fel y byddai amgylchiadau yn galw. Fel hyn y dywed Eusebius am danynt: "Ar ol iddynt gyflawni eu neges mewn gwledydd dyeithr, trwy osod i lawr sylfaen ffydd, a phenodi eraill i fod yn fugeiliaid ar y praidd, gan gyflwyno i'w gofal rai a fyddai wedi eu dychwelyd yn ddiweddar, yna, trwy ras a chydweithrediad Duw, hwy a äent i barthau ac at genhedloedd gwahanol." Un prawf na fwriedid i hon yn ei ffurf gyntefig i fod yn swydd barhäol ydyw, y ffaith na roddwyd cyfarwyddiadau gyda golwg ar ddewisiad personau rhagllaw i'w chyflawni. Y rhai tebycaf iddynt o ran y gwaith sydd ganddynt i'w gyflawni a'r cymhwysderau angenrheidiol ar ei gyfer ydyw y cenadau, pa rai sydd yn anturio i ardaloedd dyeithr, ac i wledydd pellenig, i'r dyben o'u harloesi mewn ystyr foesol a chrefyddol. Dros dymmor y bu y swyddau hyn, ynghyda rhai doniau eraill

yn yr eglwys, ac yr oeddynt wedi eu bwriadu ar gyfer amgylchiadau anghyffredin.

Ond y mae yn dra eglur, ymhellach, y cydnabyddir yn y Testament Newydd ddau fath o swyddwyr fel rhai parhäus a sefydlog yn yr eglwys. Y swyddwyr hyn ydynt esgobion a dïaconiaid. Rhoddir cyfarwyddiadau mewn perthynas i ddewisiad y rhai hyn, a dangosir pa rai ydynt y cymhwysderau angenrheidiol i fod ynddynt; 1 Tim. iii. 1—13; Titus i. 5—9. Ac yn yr epistol at y Philippiaid, cyfeirir atynt hwy fel yr unig swyddwyr perthynol i'r eglwys hono; Phil. i. 1.

Mae yn amlwg hefyd mai yr un swydd a olygir o dan yr enwau esgob a henuriad. Gellir gweled hyn yn yr hanes am amgylchiad mewn cysylltiad âg eglwys Ephesus. Dywedir am Paul, "Ac o Miletus efe a anfonodd i Ephesus, ac a alwodd ato henuriaid yr eglwys," Actau xx. 17. A'r cynghor a roddodd efe iddynt oedd yr un canlynol: "Edrychwch gan hyny arnoch eich hunain ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, i fugeilio eglwys Dduw," adn. 28. Felly yr henuriaid y darfu iddo ef eu gwahodd ato, y mae efe yn eu galw hwynt hefyd yn olygwyr neu esgobion. Gwelir yr un peth wrth gymharu Titus i. 5, 7.

Y gwaith neillduol ag oedd gan yr esgob neu yr henuriad i'w gyflawni ydoedd astudio a phregethu y gair; Titus i. 9: blaenori yn yr eglwys trwy ei harwain a'i chyfarwyddo; Heb. xiii. 7, 17: a gwylied dros yr eglwys fel ag i amcanu at ei lleshâd, trwy bob moddion cyfaddas; 1 Pedr v. 1—3. Gellid meddwl y cydnabyddid rhai yn henuriaid, er na byddent yn meddu dawn ond i gyflawni rhai o'r dyledswyddau hyn, ac hefyd yr ystyrid y rhai fyddent yn meddu cyfuniad o'r gwahanol gymwysderau yn rhai tra rhagorol; 1 Tim. v. 17. Mae yn ymddangos hefyd y dysgwylid i'r esgob, neu yr henuriad, ofalu am ryw eglwys neu eglwysi penodol; ac o'r ochr arall, mae sail i gredu y byddai yn perthyn i ambell eglwys amryw henuriaid; Act. xiv. 23. Mae genym siamplau o rai wedi eu sefydlu mewn eglwysi er mwyn gofalu mewn modd neillduol am danynt. Iago gyfiawn ydoedd yr esgob neu y gweinidog cyntaf yn eglwys Jerusalem; ac fe rydd Eusebius hanes am y modd y cafodd ei ddewis. Ymsefydlodd Ioan hefyd cyn diwedd ei oes yn Ephesus. Henuriaid, esgobion, neu weinidogion, cysylltiedig âg eglwysi neillduol oedd yr angelion y cyfeirir atynt yn nechre llyfr y Dadguddiad; oblegid ystyr y gair angel ydyw cenad, a byddai y rhai a weinyddent yn synagogau yr Iuddewon yn cael eu galw wrth enw a arwyddai angelion neu genadau. Y fath arall o swyddwyr y sonir am danynt ydyw dïaconiaid. Mae y cyfarwyddiadau a roddir mewn perthynas i'w dewisiad, a'r pethau a nodir fel cymhwysderau angenrheidiol ynddynt, yn profi fod y ddïaconiaeth yn cael ei hystyried yn swydd o fawr bwysigrwydd; 1 Tim. iii. 8—13. Mae yn amlwg fod gofalu am bethau allanol achos crefydd yn rhan o'r gwaith perthynol i'r swydd hon. Mae hyn i'w weled yn yr hyn a fu yn achlysur o ddewis rhai ar y cyntaf i'w chyflawni: "Nid yw gymhesur i ni adael Gair Duw," meddai yr apostolion, "a gwasanaethu byrddau," Actau vi. 2. A thuag at gyflawni gorchwylion allanol o'r natur hyn, byddai weithiau ddïaconesau hefyd yn cael eu dewis; Rhuf. xvi. 1.

Eithr y mae yn lled eglur nad oedd gofalu am bethau amgylchiadol

ond rhan o waith y dïaconiaid. Wrth sylwi ar yr hyn a ddywedir mewn perthynas iddynt, gellir casglu yn hawdd eu bod i gymeryd rhan hefyd mewn dyledswyddau mwy pwysig ac ysbrydol. Fel cymhwysder ynddynt, yr oeddynt i "ddala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur." Ac fel rhagoriaeth perthynol iddynt, dywedir fod y rhai a wasanaethant swydd dïaconiaid yn dda, yn ennill iddynt eu hunain radd dda, a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu; 1 Tim. iii. 13. Yr oeddynt mewn sefyllfa o barch uchel gan eu cydgristionogion; a thrwy fynych ymarferiad â phethau yr efengyl, yr oeddynt yn ennill rhwyddineb a hyfdra wrth siarad am danynt ar wahanol achlysuron.

Mae yn ymddangos hefyd y byddai y ddwy swydd, eiddo yr henadur a'r dïacon, yn cymhlethu mewn modd prydferth â'u gilydd yn y cyfnod hwn. Byddai yr henuriaid ar ryw achlysuron yn cymeryd gofal am y byrddau; Actau xi. 29, 30. A phryd arall byddai ambell un o'r rhai oedd wedi eu dewis yn ddïaconiaid yn pregethu. Aeth Phylip, un o'r seithwyr da eu gair, "i ddinas Samaria, ac a bregethodd Grist iddynt."

---

# RICHARD JONES, LLANFAIR.

Y MAE Cymru yn ddiweddar wedi cael amryw golledion pwysig trwy farwolaeth, ac yn arbenig felly ymysg gweinidogion yr efengyl. Nid oes odid un cyfundeb crefyddol yn ein plith nad ydyw yn gorfod galaru o herwydd ymadawiad rhyw gadarn neu gilydd ag y darfu i angeu ei symud ymaith yn ystod y misoedd diweddaf. Y mae dynion y mae yr Arglwydd wedi eu cynnysgaethu â galluoedd cryfion, wedi eu bendithio â gras mawr, ac wedi cynneu o'u mewn ysbryd y weinidogaeth, a dynion sydd, trwy ymgysegriad dwfn, wedi ymroddi i ffyddlondeb diflino yn "nheyrnas ac amynedd ein Harglwydd Iesu Grist," yn naturiol yn ennill lle mawr yn mynwesau eu brodyr a'u chwïorydd yn yr Arglwydd. Y maent yn rhwymedig iddynt am gynifer o olygiadau gwerthfawr ar bethau mawrion y gwirionedd; y mae cymaint o'r hyn a ystyriant fel eu rhagoriaethau moesol uchaf wedi dyfod i'w rhan fel ffrwyth eu cynghorion a'u cyfarwyddiadau; ac y mae dylanwad parhäus, cyson, eu bywyd sanctaidd a'u llafur, wedi ei gyfuno yn y fath fodd yn eu golwg âg ysbryd yr efengyl, fel y maent yn dyfod i deimlo eu bod, iddynt hwy, yn sefyll mewn rhyw berthynas uchel a chysegredig iawn. Ac fel y mae eu parch iddynt yn fawr, a'u hymlyniad wrthynt yn gryf, felly y mae eu marwolaeth yn ymddangos iddynt yn golled anadferadwy. Y mae dynion felly, heb unrhyw ymgais ymwybodol ar eu rhan hwy eu hunain, yn cael eu gwneyd yn "golofnau" yn nheml Dduw; fe deimlir fod llawer iawn yn ymddibynu arnynt; a phan syrthiant, da os na fydd llawer o'u brodyr yn pryderu am ddïogelwch y deml ei hunan. Mae yn wir mai nid prawf o ffydd gref ydyw fod neb yn ymollwng i olygiadau

o'r fath, pa mor ragorol bynag a fyddo yr hwn sydd yn cael ei alw ymaith. Ond nid ydyw dynion yn gyffredin yn gallu gweled yn glir pan y mae niwl glỳn cysgod angeu yn ymgau am danynt; a pha un bynag, nid oes anrhydedd mwy yn bosibl i ddyn oddiar law ei gyd-ddynion nag a olygir yn y teimlad sydd, ar ei farwolaeth, yn ymgodi yn naturiol yn mynwesau llïaws o'r bobl oreu pan y golygant fod bwlch wedi ei agoryd nad ydyw yn bosibl ei lanw mwy. A phan y mae dynion da yn golygu felly am ddyn, y fath ydyw ffyddlondeb cydwybod i rinwedd fel y mae y dynion mwyaf anystyriol, ac yn fynych y dynion gwaethaf, yn talu eu gwarogaeth i ddaioni trwy deimlo mor fawr ydyw y farwolaeth sydd wedi cymeryd lle. Y mae yn fynych yn taro ein meddwl mewn amgylchiadau o'r fath gymaint yw y gwahaniaeth rhwng y golygiadau a goleddwn am ddyn yn ystod ei fywyd â'r golygiadau sydd yn ymlanw yn ein meddwl yn ei gylch ar ol iddo farw. Mae yn debyg mai hyn barodd i ryw Gymro doeth yn yr hen amser ddywedyd y ddïareb, "A fyno glod, bid farw." Fe deimlir yn gyffredin fod cryn awch yn nant yr hen air. Y mae braidd yn awgrymu y rhaid fod rhywbeth yn ammhëus yn y clod mawr a roddir, wedi ei farw, i ddyn, pan nad ellid hebgor ond ychydig o glod iddo yn ystod ei fywyd. Fe allai fod rhywbeth yn hyny sydd yn galw am gerydd y ddïareb. Y mae dynion weithiau yn ymollwng yn ormodol i ganmawl dyn wedi ei farw, er iddynt hwy eu hunain yn ystod ei fywyd fod yn euog, nid yn unig o beidio rhoddi iddo y clod a haeddai, ond o'i ddarostwng a'i niweidio. Ond wedi y cwbl, ni ddylid bod yn rhy frysiog i gyhuddo dynion o ragrith pan y maent yn siarad yn dda am y rhai sydd wedi ymadael. Yn un peth, y mae angeu yn naturiol yn difrifoli y meddwl; ac am un sydd wedi myned trwy yr amgylchiad mawr hwnw, y mae y teimlad a roddes fôd i'r ddïareb Ladinaidd, *De mortuis nil nisi bonum*,—Am y marw dim ond da, yn y fan yn hawlu ei arglwyddiaeth ar y meddwl. Heblaw hyny, y mae angeu yn gwastadhâu pob cyfrifon, yn rhoddi terfyn ar bob ymryson a chydymgais, fel y mae dynion yn dyfod i deimlo mai llyfrdra dirmygedig fyddai adgyfodi, hyd yn nôd yn eu meddwl hwy eu hunain, yr hen gynhenau, ac y gallant bellach fforddio bod yn gwbl garedig. Ymhellach, pe dywedem y naill wrth y llall, yn ystod ein bywyd, y golygiadau uchel a ffurfiwn am ein gilydd, ni a ddygem ein hunain a'n gilydd i brofedigaethau mawrion; fe deimlai yr hwn sydd yn canmawl ei fod yn ei osod ei hun mewn sefyllfa y mae yn gofyn cryn arddansoddiaeth i'w gwahaniaethu oddiwrth yr eiddo gwênieithiwr; ac fe deimlai yr hwn a ganmolir, os yn meddu yr elfenau hyny yn ei gymeriad sydd yn anhebgorol i gymeriad canmoladwy, fod ei gyfaill naill ai yn cellwair âg ef, neu yn gwbl ddianghenrhaid yn ei "rostio." Ac o'r ddau yr ydym yn meddwl mai yr olaf yw y mwyaf poenus. Gellwch chwerthin y cellwair ymaith, ac nid ydych yn ddim gwaeth; ond pan mae eich cyfeillion tirion o ddifrif yn ceisio eich mawrhâu, fel y maent ar ryw achlysur neu gilydd yn dra thueddol o wneyd efo dynion sydd dipyn yn gydwybodol wrth geisio cyflawni eu dyledswyddau,—a'r fath *watwareg* ydyw hyny ar ddaioni cyffredin y byd, y fath gyffes o dlodi yr hiliogaeth mewn rhinwedd!—y mae y cyflwr y darostyngir chwi iddo yn dra adfydus. Y mae yna rhyw *advocatus diaboli* o'ch mewn yn gwrthgyferbynu canmoliaeth eich cyfeillion â thystiolaeth eich cydwybod, ac â'r cynllun,

yr *ideal* o fywyd a llafur a fyddwch wedi ei osod o'ch blaen, fel nad ydyw yr hyn a fwriadant hwy i fod i chwi yn fwynhâd pur, yn cyraedd eich calon nes y mae yn fynych wedi ei droi yn chwerwder chwerw. Cynghorem ein darllenwyr ieuainc yn enwedig i fod ar eu gwyliadwriaeth yn fawr rhag yr ynfydrwydd o fod yn chwannog i glod, yn wancus am ganmoliaeth. Os na ddarostyngir teimladau o'r fath, lle y byddont yn brofedigaeth i ddyn, dan ddysgyblaeth brïodol, y maent yn debyg o ddifwyno ei holl werth. Ond yn ychwanegol at y pethau a nodwyd fel rhesymau dros y sylw mawr a dalwn i'n cyfeillion ar ol eu marwolaeth, ac fel, o bosibl, yn bwysicach na'r cyfan, y mae ein perthynas â'n gilydd yn ystod ein bywyd y fath, fel nad ydyw yn hawdd i ni osod y gwerth dyladwy ar y naill y llall. Yr ydym yn sefyll yn y byd yma megys ar faes y frwydr. Mae y fyddin yr ydym yn cael y fraint o sefyll ynddi yn fawr a chref, ac yr ydym yn gwybod, fel pwnc o argyhoeddiad sydd yn gorphwys fel gwely o wenithfaen o dan ein holl syniadau, fod ei dyfodol i fod yn ogoneddus. Yr ydym hefyd yn adnabod ac yn mawrhâu ein cydfilwyr, sydd yn sefyll o'n hamgylch ar y maes. Gwyddom am eu teyrngarwch diymwad, a'u parodrwydd i anturio eu pobpeth, y fynyd a fyner ar air y Brenin; yr ydym yn cofio yn burion am y gweithredoedd nerthol a a gyflawnasant pan "roddasant eu heinioes i farw," ac y sathrasant ar gryfder y gelyn ar "uchelfanau y maes;" ac nid dibwys genym yr adegau y darfu iddynt, mewn marwol berygl, daflu eu tarian fe allai drosom ni ein hunain, a bod yn foddion nid yn unig i'n cadw rhag angeu, ond i'n cynnorthwyo hefyd i ddarostwng ein gelynion danom. Mae ysbrydiaeth yr ymdrech cyffredin yn ein cyd-doddi i'n gilydd, heblaw fod pob rhagoriaeth personol yn y naill yn gosod ei argraff ar farn a theimlad y llall. Ond wedi y cwbl, tra yn fyw, y mae y teimlad da sydd rhyngom yn rhywbeth sydd yn cael ei ddeall yn hytrach na'i ddadgan. Onid ydyw llengoedd y gelyn mor gryfion? Onid ydyw amgylchiadau y maes y fath ag sydd yn fynych yn peri i'n calon, fel yr eiddo Eli, ofni hyd yn nôd am arch Duw? Ai amser ydyw, mewn amgylchiadau fel yna, i ni droi at ein gilydd, a dechreu mawrhâu y naill y llall? Ond pan y mae milwr dewr, ffyddlawn, yn syrthio, gŵr ag y mae y teimlad o'i werth, er ymron yn anymwybodol i ni ein hunain, wedi bod yn tyfu arnom am flynyddoedd lawer,—yr ydym y pryd hyny yn gweled mor fawr ydyw y bwlch sydd wedi ei wneuthur, ac y mae ein calon, fel ein dagrau, yn ymdywallt mewn tynerwch a chariad, mewn galar a hiraeth, ar ol ein brawd.

Y mae llawer yn Nghymru yn teimlo felly yn awr o herwydd marwolaeth y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn y mae ei enw uwchben yr ysgrif hon, y diweddar Barchedig Richard Jones, Llanfair. Mae yn wir ei fod ef wedi ei droi o'r neilldu bellach er ys cryn dair blynedd, ac fod hyny i raddau mawr wedi lleddfu ar ein teimlad awch ei farwolaeth. Yr oedd ei gyfeillion yn rhyfeddol o hwyrfrydig i ollwng eu gafael o hono; yn wir yr oedd llawer o bobl oreu Sir Drefaldwyn, nid yn unig ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd, ond ymhlith pob enwad, fel pe buasent yn teimlo fod yn anmhosibl fod ei ddiwrnod gwaith ar ben,—nad ydoedd yn bosibl fforddio colli gwas mor weithgar a ffyddlawn. Ond yr oedd dyrnod ar ol dyrnod o'r parlys yn disgyn arno; ac er nad oedd y dyrnodiau hyny yn rhyw drymion iawn, eto yr oeddynt yn ei ddarostwng

rhyfeddol; er ys llawer o amser bellach yr oedd pob gobaith am ei adferiad wedi llwyr ddiffodd, ac amryw o'i gyfeillion goreu ymron yn awyddus am iddo gael ei ollwng mewn tangnefedd, os nad weithiau yn gweddïo am hyny. Dywedai y Parch. Edward Price, cyfaill anwyl iawn iddo ef, ar ddydd ei angladd, mai y newydd goreu yn wir a glywsai efe am dano er ys blwyddyn oedd y newydd ei fod wedi marw. Er hyny, yr oedd y teimlad o'i farwolaeth y diwrnod hwnw yn grŷf ac yn ddwys iawn ar feddwl y cynnulliad mawr a pharchus oedd wedi dyfod ynghyd. Ac er teimlo na ddarllenwyd erioed gyda dyfnach prïodoldeb y geiriau, "Yr ydym yn mawr ddiolch i ti, fod yn wiw genyt waredu ein brawd hwn allan o drueni y byd pechadurus hwn," nag y gwnaed yr ugeinfed o Ionawr diweddaf yn mynwent Llanfair,—y mae llïaws mawr trwy Gymru oll yn gorfod gofidio wrth feddwl na chânt "weled ei wyneb ef mwy," ac fod ei lafur ffrwythlawn a defnyddiol ar ben. Y mae o bwys i ni gofio fod gan yr Hwn a'i cododd ef at ei waith, a'i cynnaliodd ynddo mor effeithiol am dros ddeugain mlynedd, ac yn awr a welodd yn dda ei alw ato ei hun, ofal anfeidrol mwy tyner am yr achos y cysegrodd Richard Jones ei einioes iddo, nag sydd gan neb o'i bobl sydd yn awr mewn cymaint profedigaeth o herwydd colli y fath was da a ffyddlawn. "Aethum yn fud, ac nid agorais fy ngenau; canys ti a wnaethost hyn." Yr oedd yr Hwn a bïa y gwaith, ac a bïai y gweithiwr anwyl y soniwn am dano, yn gweled y gallai Efe bellach oddef i'w was noswylio; ac y mae wedi ei dderbyn i fewn i lawenydd ei Arglwydd. Y fath oleuni erbyn heddyw sydd yn llewyrchu ar ei feddwl! Mor ogoneddus glir ydyw llïaws o'r cwestiynau dyrys y bu yma gynifer o weithiau mewn dygn dywyllwch yn ceisio ymbalfalu am ryw ddirnadaeth yn eu cylch! A beth all fod yr ymdeimlad o anfeidrol wŷnfyd sydd yn awr yn ei feddiannu!

"Ystyr y perffaith." Y mae yn weddus ac yn addysgiadol iawn meddwl am ŵr fel Mr. Richard Jones. Yn wir y mae y Gair yn gorchymyn i ni dalu sylw neillduol i ddynion o'r fath, gan ofalu am sicrhâu i ni ein hunain yr addysg cyfoethog sydd yn eu hymadawiad. "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw: ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." Fe ddywedir am Samuel, "A gwybu holl Israel, o Dan hyd Beerseba, mai prophwyd ffyddlawn yr Arglwydd oedd Samuel." Gellir dyweyd peth tebyg am Mr. Richard Jones. Nid oes haiach gweinidog a gariodd i galonau y rhai a'i hadwaenent ddyfnach argyhoeddiad o'i ymgysegriad i Dduw a'i wasanaeth nag a wnaeth efe. Fe wybu Llanfair yn neillduol, lle y bu yn fugail ffyddlawn a thyner am dros ddeng mlynedd ar hugain; fe wybu Sir Drefaldwyn, yr hon a wasanaethodd yn bur hunanymwadol dros ei oes; ac, o ran hyny, er nad ydoedd mor hawdd ag y buasai yn ddymunol gan lawer ei godi oddicartref, fe wybu Cymru, o'i Dan i'w Beerseba hithau, mai prophwyd ffyddlawn yr Arglwydd oedd Richard Jones. Pa fodd y gwnaed ef felly, a pha fodd y cyflawnodd ei swydd?

Y mae yn dra addysgiadol sylwi ar y *parotöad* a fu ar ein hanwyl frawd i'w gymhwyso i'w waith pwysig.

Ar ryw olwg fe ellid meddwl nad oedd ei barotöad ond tra diffygiol. Fe'i ganwyd o rïeni tlodion; ac er eu bod yn ofni Duw, eto nid oedd o fewn eu cyraedd pan ddechreuasant fagi eu cyntafanedig—tua chwech

a thriugain o flynyddoedd yn ôl—ddim o'r manteision addysg ag sydd yn nghyraedd tlodion Cymru yn gyffredin yn ein dyddiau ni, ac am hyny nid allent roddi iddo ond addysg anmherffaith iawn. Nid ydyw yn ymddangos iddo gael dim addysg mewn ysgol ddyddiol o gwbl, a llawer gwaith y clywid ef yn mawrhâu yr Ysgol Sabbothol fel y sefydliad yr ydoedd efe yn rhwymedig iddo am ei gwbl. Yr oedd ei ddiffyg addysg foreuol yn anfantais fawr iddo, ac mewn rhyw bethau yr oedd ôl hyny arno ar hyd ei oes. Yr oedd efe ei hun, yn neillduol, yn ymwybodol iawn, yn wir ymron yn boenus o ymwybodol, o'r anfantais y llafuriai dani yn yr ystyr yma. Nid oedd neb a lawenhâi yn fwy yn y manteision a roddir i bregethwyr y dyddiau hyn, ond byddai yr ymdeimlad o'i ddiffygion ei hun yn fynych yn llethu ei feddwl. Yn yr olwg yma nid oes ond lled ychydig i'w ddyweyd am ei barotöad i waith y weinidogaeth. Ac eto nid allwn lai na theimlo fod parotöad uchel iawn wedi bod arno i'w swydd. Yn un peth fe'i cynnysgaethwyd â doniau naturiol mawrion, ac âg yni rhyfeddol. Pa ddodrefniad bynag y mae yr Arglwydd mawr yn ei weled yn angenrheidiol ar ei weision pan yn eu galw i wneuthur gwasanaeth pwysig drosto, y mae yn gofalu am roddi iddynt yn eu crëadigaeth ryw ragoriaeth amlwg mewn gallu sydd yn eu cymhwyso i ennill dylanwad ar y rhai sydd o'u hamgylch. Y mae dynolryw, ymhob cylch, yn teimlo ar unwaith oddiwrth bresennoldeb gallu mewn dyn, ac wedi gwneyd hyny nid ydynt yn petruso ymostwng i'w arweiniad. Dyma frenhiniaeth y byd. Mae y dyn galluog trwy rym ei yni ei hun yn crëu y ffrwd i nerth yr hon y mae eraill yn ymollwng, ac yn yr hon y maent yn cael eu cario ymlaen. Lle na byddo hyn yn amlwg mewn dyn, nid all unrhyw addurniadau a osodir arno wneuthur y diffyg i fyny; yn wir, heb hyn nid ydyw yr addurniadau mwyaf a ellir roddi arno yn gwneuthur nemawr fwy o wasanaeth na dynodi yn fwy eglur y gwrthgyferbyniad poenus sydd rhwng ei eiddilwch cynhenid ef ei hun â phwysau y *trappings* y mae wedi llwyddo i'w gosod o'i amgylch. O'r ochr arall, mae y rhai sydd wedi eu cynnysgaethu â dynoliaeth gref yn cerdded trwy y byd gyda mawrhydi "meibion brenin," pa mor anffafriol bynag a fyddo yr amgylchiadau y maent yn eu cael eu hunain ynddynt. Ac nid oes dim sydd yn gofyn am fwy o yni na gwaith gweinidogion crefydd. Y maent hwy i gario ymlaen frwydr barhäus â drygioni yn ei holl ffurfiau; dysgwylir iddynt ymdrechu gwneuthur ffordd i belydrau goleuni y bywyd lewyrchu ar ysbrydoedd eu gwrandäwyr trwy holl drwch eu hanwybodaeth a'u hanystyriaeth; ar eu llaw hwy, dan Dduw, y golygir yn arbenig fod sefydlu arglwyddiaeth sancteiddrwydd y byd, er fod hyny yn anmhosibl ond trwy ddymchwelyd y nerth aruthrol o anwiredd sydd yn teyrnasu ar feibion dynion. Nid ydyw hyn oll i gael ei ddwyn oddiamgylch trwy allu dynol, mae yn wir. "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr." Ac eto am y dynion sydd ymhob oes wedi cael y fraint o fod yn ddefnyddiol iawn yn eu llafur gyda gwaith yr Arglwydd, tra yn gwbl ymwybodol o'u hymddibyniad llwyr arno Ef, ac yn eiddigus am roddi iddo Ef y gogoniant, a'r holl ogoniant, am "odidogrwydd y gallu," eto, fel pwnc o ffaith, yr ydym yn cael fod y dynion hyny, yn ddieithriad, yn hynod am eu cymhwysderau naturiol. Yr oedd yr Hwn a'u gwnaeth

â'i lygaid ar y gwaith yr oeddent i'w gyflawni yn adeg eu crëadigaeth. "Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf," medd y prophwyd Jeremïah, "gan ddywedyd, Cyn i mi dy lunio yn y groth, mi a'th adnabum; a chyn dy ddyfod o'r groth y sancteiddiais di; a mi a'th roddais yn brophwyd i'r cenhedloedd." Mae yn wir fod rhai dynion o gymhwysderau bychain, trwy ffyddlondeb mawr, wedi bod yn foddion i wneuthur llawer o les: ond ai ni ddylid golygu y ffyddlondeb hwnw ei hunan, y gallu o ymroddi i wasanaeth, a dyfalbarhâu ynddo, yn gymhwysder mawr iawn i ddefnyddioldeb, yn wir y cymhwysder uchaf oll? Dyma yr unig beth sydd yn werth ei grybwyll gan y Brenin ei hunan. Ond fynychaf, y mae yr yni i ymroddi yn gyfunedig â'r gallu sydd, o ymroddi, yn abl i osod ei nôd ar y byd. A chamgymeriad dybryd ydyw yr un y mae llawer o ddynion ieuainc da yn ymollwng iddo pan yn ngwrês eu brwdfrydedd neu eu teimlad crefyddol y maent yn eu perswadio eu hunain eu bod yn feddiannol ar gymhwysderau i'r weinidogaeth, a hwythau yn gwbl amddifad o honynt. Gallant syfrdanu eu cyfeillion am ganiatâd i ddechreu pregethu; gallant hefyd ymwthio i'r Athrofa, tra, fel y dywed hanesydd Ysgol Neuaddlwyd yn y TRAETHODYDD am 1848, y "cwyna ar eu hol y bladur, yr aradr, y rhaw, y ffyst, yr eingion, y fwyell, a'r miniawyd;" ac wedi dyfod o'r Athrofa, y mae yn bosibl iddynt fŷnu eu hordeinio; ond wedi y cwbl y mae yna *grëadigaeth* yn ddiffygiol ynddynt, ac nid yw ond oferedd dysgwyl am nemawr o wasanaeth oddiar eu llaw. Hyd yma y mae talentau goreu Cymru i raddau uchel wedi eu cysegru i'r weinidogaeth; nid ydym heb ofni yn fawr fod cyfnewidiad er gwaeth yn debyg o gymeryd lle yn ein plith. Yn yr Eglwys Sefydledig nid oes ond ychydig o sylw, mewn cymhariaeth, wedi ei dalu i dalentau naturiol ymgeiswyr am ordeiniad; dygir hwynt i fyny i'r weinidogaeth fel moddion bywioliaeth, ac mewn teuluoedd da y bechgyn gwaelaf, yn gyffredin, y rhai nad allent ddal eu ffordd gyda'r galwedigaethau eraill, a ddygir i fyny i'r Eglwys. Ymysg yr Ymneillduwyr yn Lloegr, hefyd, y mae yn gŵyn cyffredin mai ychydig o'r bechgyn goreu, mwyaf galluog, sydd yn troi at y weinidogaeth; y maent, mewn oes pan y mae gallu crefydd ar ysbryd teuluoedd yn fach, a bydolrwydd yn ei wahanol ffurfiau yn ffŷnu yn anferth yn y tir, yn edrych yn isel ar y weinidogaeth, ac yn troi at y gyfraith, at feddygiaeth, i'r fyddin, ac at fasnach, lle y golygant fod yn bosibl iddynt gael gafael ar rai o wobrau mawrion bywyd, fel y maent yn eu hystyried. A ydyw y llygredigaeth yma yn dechreu ymledu yn Nghymru? Beth yw yr achos fod mor lleied o feibion ein teuluoedd parchus y dyddiau hyn yn ymgysegru i weinidogaeth y gair? Gwyddom fod uchelgais ac amcan plant, fel rheol, yn cael eu ffurfio gan y syniadau sydd yn ffŷnu ar yr aelwyd lle y megir hwynt. Ai tybed fod gwasanaeth Duw yn yr efengyl yn cael edrych arno, gan deuluoedd sydd yn rhwymedig i'r efengyl am eu pobpeth, fel peth mor îsraddol, fel nad ydyw, wedi y cwbl, yn deilwng o'i gymharu â gwasanaeth y byd? "Un Mab," meddai Whitfield, "oedd gan Dduw, ac ni fu yn ormod ganddo ef roddi y Mab hwnw i fod yn bregethwr teithiol." Hyderwn yn fawr y dywed yr Hwn sydd yn gallu llywodraethu ymchwydd y môr yn fuan wrth y llygredigaeth hwn hefyd, "Hyd yma y deui, ac nid ymhellach." Fe gynnysgaethwyd ein brawd Mr. Richard Jones â gallu naturiol mawr. Ymha gylch bynag y buasai yn troi, fe fuasai yn rhaid i

ddynion deimlo oddiwrtho. Ac fe gafodd efe y fraint o weled nad oedd un amcan mor deilwng iddo lwyrymroddi i'w wasanaethu â'r amcan mawr o geisio adeiladu teml yr Arglwydd yn y byd.

Ac heblaw y gallu y cynnysgaethwyd ein brawd âg ef, gallem hefyd nodi ymhellach, fel rhan o'r parotöad a fu arno at waith ei fywyd, ei argyhoeddiad dwfn o bechod, a'i gariad angerddol at Grist a'i achos. Ymddengys ei fod yn nyddiau ei ieuenctyd, er yr addysg crefyddol a dderbyniasai yn more ei oes, wedi troi yn lled anystyriol a gwyllt. Nid ydym yn gwybod i ba raddau y gallai fod sail i'w gyhuddiadau llymion et ei hun, yn ei erbyn ei hunan, am y tymmor hwnw o'i oes. Mae yn ddigon naturiol i rai sydd yn sefyll o'r neilldu, megys, ac yn gwrando, ffurfio casgliadau digon rhyfedd wrth feddwl am yr ymadroddion llymion â pha rai y mae dynion da yn eu fflangellu eu hunain pan yn cofio eu pechodau. Ymddengys fod Macaulay wedi teimlo y rhaid fod Bunyan ieuanc yn rhyw anferth o bechadur, cyn y buasai, ar ol hyny, yn llefaru am dano ei hun gyda y fath chwerwder a hunanffieiddiad. Wedi y cwbl, nid ydyw yn sicr fod nemawr o ddim yn ei fuchedd y gallai *dynion* achwyn o'i blegid, oddieithr y nwyfiant a'r dirieidi dibendraw ag oedd yn naturiol i ŵr ieuanc o'r fath anferth yni. Y mae yr un anallu mewn dirnadaeth ysbrydol wedi arwain lliaws o ddynion ag oeddynt, mewn ystyriaethau eraill, yn graff a doeth, i ffurfio golygiadau rhyfeddol o wylltion am fuchedd yr ysgrifenwyr ysbrydoledig, wrth wrandaw arnynt, pan y mae sancteiddrwydd yr Anfeidrol yn llewyrchu ar eu hysbrydoedd, yn dadgan fel y maent yn eu ffieiddio eu hunain, ac yn edifarhâu mewn llwch a lludw. Nid ydym yn gwybod fod fawr o reswm dros i neb roddi y cyfryw ddëongliad ychwaith ar gyhuddiadau llymion Mr. Richard Jones yn ei erbyn ei hun yn nhymmor ieuenctyd. Mae yn hawdd genym feddwl ei fod yn rhyfeddol o drystfawr, mai ychydig o lywodraeth oedd ganddo arno ei hun, a lle bynag yr oedd rhyw ddirieidi ar droed, ei fod yn fwyaf blaenllaw i'w hyrwyddo ymlaen. Nid ydym yn gwybod fod dim drygau mwy pwysig wedi tòri allan yn ei fuchedd. Ond rywbryd, pan oedd y diweddar Barch. Humphrey Gwalchmai yn pregethu yn ysgubor Llwyncopa, Llanwyddelen,—capel yr Adfa y pryd hyny ar lawr,—fe ymsaethodd goleuni newydd ar feddwl y bachgen Richard, ac fe ddeallodd, am y tro cyntaf erioed, ei fod yn bechadur euog, ac fel y cyfryw dan farn Duw. Yr oedd pechod yn rhywbeth mwy na drychfeddwl iddo erbyn hyny. Yr oedd y "llid a fydd" eisoes wedi taflu ei danbeidrwydd i'w gydwybod, ac nid allai weled pa fodd yr oedd yn bosibl iddo gael tangnefedd. Tòrodd allan i waeddi, "O bobl anwyl, beth a wna' i!" Yr oedd rhai yn dychrynu gan angerddolrwydd ei gyffro, ac eraill yn llawenhâu wrth weled y bachgen gwyllt—wedi ei ddal. "'Doedd fater," ebai un hen chwaer grefyddol. Ymddengys iddo fod dan argyhoeddiad dwfn iawn, a'i fod wedi cael ei adael yn ngwlad yr ystormydd ofnadwy am beth amser. Pa fodd bynag, fe gafodd olwg ar "Oen Duw, yr hwn sydd yn tỳnu ymaith bechodau y byd." Ac wedi deall fod rhinweddau anfeidrol gwaed Crist yn ddigon i lanhâu y pechaduriaid mwyaf, ei fod yn derbyn pechaduriaid, ac yn bwyta gyda hwynt, ac yn sicrhâu pwy bynag a ddewiso droi ei wyneb ato na fwria ef allan mewn un modd, fe anturiodd yntau nesâu ato, ac fe gafodd y fraint anfeidrol o deimlo fod y Gwaredwr mawr yn ei dderbyn.

Bellach yr oedd ei gariad at Grist yn angerddol. Yr oedd y golygiadau dysglaer a gâi ar ei ogoniant, yn ngweinidogaeth gynhes y dyddiau hyny, ac yn nghynnulliadau cyffredin y saint, y fath, fel nad allai ymgynnal heb dòri allan i'w ganmawl â llef gorfoledd. Yr oedd ei orfoleddu yn rhyferthwy o nerth ag oedd yn cario pobpeth o'i flaen. Ac "megys y derbyniodd Grist Iesu yr Arglwydd, felly y rhodiodd ynddo." Ni ddaeth byth yn ddigon o athronydd i allu dal i fyfyrio am Grist, neu i wrando ar ddynion oedd yn ei adnabod yn sôn am dano, na fyddai ei galon yn "gwresogi o'i fewn," ac nid yn anfynych ar hyd ei oes y byddai y "tân" hwnw yn ymdòri allan mewn dull nad oedd yn bosibl i neb ei gamgymeryd. Yr oedd y cariad angerddol at y Ceidwad a gynneuwyd yn Llanwyddelen, yn parhâu i losgi ar allor ei galon hyd y diwedd. Pan yn ymddyddan âg un o'i frodyr ychydig wythnosau cyn iddo farw, dywedai ei fod yn fynych yn teimlo yn ddigon isel, ond er hyny ei fod yn hyderus na fyddai i Dduw ei fwrw at gythreuliaid yn y diwedd; "A phe byddai iddo wneyd," meddai, gan bwyntio ei fŷs, ac ymsythu, a'i lygaid yn fflamio gan yr hen dân, "pe byddai iddo wneyd, fe fyddai yno gweryl newydd yn uffern cyn pen pum' mynyd, o achos 'fedrwn i ddim dyodde' eu clywed yn ei gablu!" Ac ychydig iawn o ddyddiau cyn ei farw, fel yr oedd chwaer iddo yn dyweyd am farwolaeth cymydog y buasai hi y noswaith cyn hyny yn gwylied gydag ef, gofynai pa fodd yr oedd gwraig y gŵr hwnw yn dal yn ei phrofedigaeth? Dywedai ei chwaer ei bod yn dal yn dda iawn, ac ystyried, fod y gair hwnw wedi bod yn gynnaliaeth mawr iddi, "Bwrw dy faich ar yr Arglwydd, ac efe a'th gynnal di." "Ië, yntê," meddai yntau, a'r goleuni yn ymdòri arno, a'r ddwy law yn cael eu dyrchafu a'u taro yn eu gilydd, "BENDIGEDIG eto am yr hen drefn!" Yr oedd y gallu mawr oedd gan Grist, o ddechreuad ei grefydd, ar ei ysbryd, yn sicr, yn gymhwysder mawr iddo allu ei bregethu. Yr oedd yn cario i gydwybod ei wrandäwyr argyhoeddiad o *sylweddolrwydd* y gwirioneddau a bregethai. Yr oeddynt iddo *ef*, pa fodd bynag, yn ffeithiau o anfeidrol bwysigrwydd. Ymddangosai fel wedi ei ddyrchafu i gwmni uchel y rhai a ddywedent, "Canys nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys, yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid."

Ac yn ychwanegol at hyn fe gynneuwyd o'i fewn ysbryd y weinidogaeth. Mae cysylltiad annattodol rhwng ysbryd pregethu ac ysbryd crefydd; ac y mae ysbryd crefydd yn gyffredin, o ran hyny, i raddau mwy neu lai, yn cynnyrchu ysbryd pregethu. Wedi i Andrëas dderbyn gwahoddiad yr Iesu, a myned ar ei ol, "Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon, ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y Messïas, yr hyn o'i ddëongli yw, Y Crist." Ac wedi i'r Iesu gael Phylip, a dywedyd wrtho, Dilyn fi, y peth nesaf a ddarllenwn ydyw, "Phylip a gafodd Nathanäel, ac a ddywedodd wrtho, Cawsom yr hwn yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith a'r prophwydi am dano, Iesu o Nazareth, mab Joseph." Mae y wraig o Samaria, ar ol iddi gael gafael ar Grist ei hunan, yn brysio i ddywedyd wrth bobl ei dinas, "Deuwch, gwelwch ddyn yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn oll a wneuthum; onid hwn yw y Crist?" Ymddengys fod yr un ysbrydiaeth wedi ymaflyd, yn fuan iawn wedi iddo ddyfod at grefydd ei hun, yn ein brawd Richard Jones. Dywedir fod ei feistres yn y ffarm lle yr arosai ar y pryd, wedi anfon at ei fam i beri iddi

ddyfod yno i'w weled, fod cyfnewidiad bendigedig wedi cymeryd lle yn Richard. Aeth Ann Jones yno yn y fan; ond yr oedd gŵr y tŷ, yr hwn oedd feddw, newydd ddyfod adref o rywle, a Richard yn gofalu am ei geffyl yn yr ystabl. Gan ei fod yn aros yn hir, danfonwyd y forwyn i edrych ymha le yr ydoedd; ac yn fuan dychwelodd yr eneth gyda'r newydd, "Y mae Richard dan y *manger* yn yr ystabl yn gweddïo dros fy meistr." Mor debyg i'r anian newydd! Yr ydoedd efe ei hun ar y pryd, mae yn ddigon tebyg, yn rhy hurt ac yswil i anturio siarad wrth ei feistr am ei ddrygioni, heblaw fod ei feistr y pryd hyny mewn agwedd na fuasai siarad âg ef yn ateb nemawr o ddyben; ond yr oedd y bachgen difrifol wedi dysgu tywallt ei galon ger bron Duw mewn gweddi, ac nid allai lai nag eiriol o flaen yr orsedd ar ran ei feistr. Mewn amryw ffyrdd eraill hefyd yr ydoedd y gwerth mawr a osodai ei enaid ef ei hun ar fywyd tragywyddol yn ei gymhell i wneyd ei oreu i geisio cael eraill hefyd i fod yn feddiannol arno. Ac yn fuan fe addfedodd ei deimlad i ysbryd pregethu. Nid oedd yn ddigon ganddo weddïo yn y dirgel dros ei gymydogion, a llafurio gyda'r Ysgol Sabbothol, ac mewn ffyrdd eraill i wneuthur daioni iddynt; eithr teimlai fod yn rhaid iddo ymdrechu mewn ffordd fwy cyhoeddus hefyd i'w rhybuddio i ffoi rhag y perygl mawr. Fel y gallesid dysgwyl mewn gŵr ieuanc fel efe, fe fu y cyfnewidiad grasol yn ddeffröad i holl gynneddfau ei enaid; yr oedd ei newyn am wybodaeth wedi ei ddeffro, a llawenychai fel un yn cael ysglyfaeth lawer wrth ddarllen y Bibl, ac wrth ddarllen a thynu ymaith galon yr ychydig lyfrau da oedd o fewn ei gyraedd a'i gallnogent i ymestyn am olygiadau mwy clir ar ei wirioneddau mawrion. Dywedir na chysgai ond ychydig iawn y pryd hyny. Wedi bod yn gweithio yn ddiwyd fel gwehydd am oriau meithion y dydd, treuliai y nos mewn darllen a chyfoethogi ei feddwl â gwybodaeth. Fe gofir am dano unwaith, pan wedi ei anfon gyda brawd arall dros y Cyfarfod Misol i ymddyddan â gŵr a deimlai yn awyddus am bregethu, yn gofyn i'r ymgeisydd, yr hwn a broffesai fod pregethu wedi bod ar ei feddwl am lawer o flynyddoedd, pa lyfrau ydoedd wedi eu darllen yn y cyfamser? Pan atebai hwnw, fel y dysgwylid iddo, nad ydoedd wedi darllen ond ychydig iawn yn wir,—gofynai yntau pa synwyr ydoedd iddo feddwl am bregethu ynte; ac ychwanegai, "Y mae fy chwaer yn dygwydd bod yn bresennol yn awr, ac y mae hi yn gwybod, pan oedd fy meddwl i mewn trafferth ynghylch dechreu pregethu, nad oedd y tân yn diffodd ar aelwyd fy mam trwy y nos." Ac yn yr amseroedd hyny o argyhoeddiadau dyfnion, a chariad cynhes at y Gwaredwr, nid ydoedd yn bosibl, yn enwedig i ŵr ieuanc o danbeidrwydd Richard Jones, ymattal rhag tòri allan i rybuddio ei gyd-ddynion i ffoi rhag digofaint. Yr oedd ei ddifrifwch a'i lafur mor amlwg fel yr oedd yn hawdd gan y brodyr ei annog yn fuan i ddechreu pregethu. Ei destun cyntaf ydoedd, "Am hyny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn." Gwnaeth y bregeth argraff ddofn ar feddwl llawer. Fe gofid yn hir am rym ei ddifrifwch, pan waeddai rywbryd yn ystod y bregeth, "Y mae bwlch o'ch blaen chwi, fy nghyd-ieuenctyd annuwiol, pan fyddwch chwi yn methu *sefyll!*" A dywedir i lawer o'r cyfryw fethu ysgwyd ei air o'u meddwl. Y mae yn gysurus ar lawer cyfrif weled cynifer o'n dynion ieuainc y dyddiau hyn yn meddwl am bregethu; ond

mae yn anmhosibl peidio teimlo yn ddwys wrth wrando llawer o honynt, mor amddifad ydynt o'r hyn a nodweddai gynifer o'r pregethwyr a roddwyd i Gymru yn y dyddiau gynt, ac a barai i'n tadau crefyddol a chraff benderfynu eu bod wedi derbyn *cenadwri*. Yr oedd hyny yn neillduol yn nodweddu pregethu cyntaf Richard Jones; a byddai yn dda i'n pregethwyr ieuainc deimlo ei fod yn werth byd o'r ymgywreinio difywyd sydd gan rai o honynt, na ellid dysgwyl iddo, oddieithr trwy nerth gwyrth, ymfachu yn meddwl yr un o'u gwrandäwyr. Buasai yn dda pe buasai y brawd anwyl y soniwn am dano wedi cael manteision athrofäol, &c.; ond wrth feddwl am y gallu naturiol cryf a roddwyd iddo, wrth feddwl am ddyfnder ei argyhoeddiad a'i gariad at Grist, ac wrth feddwl am gynneuad o'i fewn, gyda'r fath angerddolrwydd, ysbryd llafur ac ysbryd y weinidogaeth, nid allwn lai na meddwl fod y parotöad a fu arno at waith ei fywyd, o radd uchel a gwerthfawr anghyffredin.

Ac fe fu ei *ymroddiad* gyda'r gwaith, ar ol iddo ymaflyd ynddo, yn deilwng o'i barotöad ar ei gyfer, a'i ymgysegriad iddo.

Gynifer a ddechreuodd yn dda yn Nghymru, ac wedi hyny a aethant o'r golwg! Fe'u gwelwyd ar un adeg yn "rhedeg yn dda." Ond wedi teimlo anhawsder y rhedegfa, ciliasant o'r neilldu. Ymhen ychydig, gwelsant nad ydoedd y gwaith, ymhob ystyr, y peth y dychymygent hwy, yn nerth eu gwresogrwydd ieuanc, ei fod; yr oedd ei alwadau *parhäus* ar eu hymroddiad yn rhywbeth nad oeddynt wedi meddwl am dano; ac yn arbenig, gwelent ei fod yn galw am hunanymwadiad mewn ystyr dymmorol a fygythiai fod yn rhyfeddol o golledus iddynt. Y mae yn anhawdd dyweyd llawer yn galed am frodyr felly, a deimlent eu ffydd yn rhy wan i wneyd rhyw ymaberthiad mawr er mwyn teyrnas yr Arglwydd Iesu, ac yn enwedig pan nad oedd yr eglwysi yn teimlo parodrwydd i wneyd unrhyw aberth er mwyn eu cyfarfod; ond y maent hwy eu hunain yn barod i gydnabod fod eu brodyr a wrandawsant ar y gorchymyn, "Gâd i'r meirw gladdu eu meirw, ond dos di a phregetha deyrnas Dduw," yn perthyn i urdd o wroniaid yn nheyrnas nefoedd nad allant hwy ond sefyll o'r neilldu a'u hedmygu, a diolch i'r Hwn a'u nerthodd i'r fath ymgysegriad. Yr oedd Richard Jones yn perthyn i'r fyntai anrhydeddus yna o filwyr y brenin. Yr oedd yr olwg a gymerai ar weinidogaeth yr efengyl, o'r dechreu i'r diwedd, yn fawr ac uchel iawn. Ac ni raid dyweyd nad oedd dim a fynai ei hamgylchiadau â pheri hyny. Nid oedd nemawr yn y rhai hyny i ddwyn oddiamgylch y fath beth. Os ydoedd y drychfeddwl o enwogrwydd yn rhywbeth yn ei olwg, yr ydoedd yr holl enwogrwydd y gallai obeithio am dano yn hynod o gymedrol, ac yn rhwym o fod yn annhraethol annigonol i gynnal ei ysbryd dan bwys y fath ymgymeriad. Ac am elw bydol, yr oedd hwnw allan o'r cwestiwn yn gwbl! Yr ydoedd yn rhwym o weled fod ei waith yn ymroddi fel y gwnaeth i'r weinidogaeth, ac yn enwedig yn y dyddiau hyny, yn ei gadwyno mewn iselder a thlodi ar hyd ei oes. Ond er y cwbl fe wnaeth ei ddewisiad. Gwnaed eraill fel y byddont yn dewis; i'w Harglwydd eu hun y maent yn sefyll neu yn syrthio; y mae Richard Jones yn penderfynu yn ddifrifol gwneuthur gweinidogaeth yr efengyl yn bwnc penaf ei einioes, gan weddïo ar i'r Duw a'i pïa, a'r hwn y mae yn ei wasanaethu, roddi iddo ef a'i deulu o ddydd i ddydd eu bara beunyddiol, a'i nerthu i fod yn ffyddlawn hyd angeu yn ei wasanaeth. Y mae amryw eraill wedi

ymryddhâu oddiwrth bob gorchwylion tymmorol er mwyn pregethu; ond y felldith am gryn nifer o honynt ydyw, nad ydynt yn pregethu ychwaith. Y maent, naill ai o segurdod, neu o ddiffyg hunanadnabyddiaeth, wedi gadael cylchoedd o lafur gonest lle y gallasent fod o ryw wasanaeth i'w cenhedlaeth, ac wedi ymgymeryd â gwaith nad ydynt gydag ef yn debyg o wneuthur i'w cenhedlaeth yr un gwasanaeth oll. Y canlyniad ydyw eu bod, fel dynion wedi camgymeryd eu hanfoniad, naill ai yn treulio eu heinioes mewn chwerwder wrth fod y byd yn gommedd eu cydnabod, neu yn ymollwng yn anobeithiol yn faich ar ysgwyddau cymdeithas. Nid felly Mr. Jones. Nid ydym yn meddwl fod neb yn ystyried ei fod wedi camgymeryd ei neges yn y byd. Mae yn wir nad ydoedd ei fywyd yn rhyw lwyddiannus, yn yr ystyr a roddir i hyny yn y farchnad; ond yr ydym ni yn gostyngedig dybied mai nid llwyddiant y farchnad ydyw y llwyddiant byd uchaf oll sydd yn gyrhaeddadwy i feibion dynion. Yn wir fe fuasai y ymhob ystyr mewn cyflwr gwahanol iawn i'r hyn ydyw heddyw, oni buasai fod llawer o'r dynion goreu fu erioed o'i fewn wedi ymgysegru i fathau o lafur nad oedd y fath beth a "thalu" yn perthyn iddynt. Gwae ni, yn enwedig yn ngwasanaeth dynoliaeth ac yn nheyrnas Dduw, os na fydd y gwaith ei hunan yn anfeidrol fwy pwysig yn ein golwg nag unrhyw "dâl" y mae yn bosibl i ni dderbyn am ei gyflawni. Mae yn wir fod ein hoes ni yn talu gwarogaeth neillduol i gyfoeth; ac y mae hyny yn galw am i ni fod yn fwy ar ein gwyliadwriaeth rhag ymgrymu i'r ddelw aur sydd wedi ei chyfodi i'r fath ogoniant yn ein plith. Y mae gwasanaeth yn fwy na chyfoeth. Nid yw yn bosibl ymlynu wrth yr olaf heb i hyny fod yn ddarostyngiad arnom, a'n gwneuthur yn dlawd yn wir; ond y mae ffyddlondeb i wasanaeth yn ein dyrchafu i urdd yr angelion a gweision uchel y Brenin, ïe, y mae yn ein dwyn i feddiant o gyfoeth sydd yn pasio yn marchnad y byd tragywyddol. Ac yn ddiammheu nad oes unrhyw beth dan haul sydd yn fwy gogoneddus na gwaith dyn difrifol, o gariad at Grist ac eneidiau ei gyd-ddynion, ac heb wneuthur cyfrif oll o'i esmwythyd na'i ogoniant ei hunan, yn ymroddi i wasanaethu Duw yn efengyl ei Fab. Nid oes neb oedd yn adnabod ein brawd o Lanfair a betrusa gydnabod ei fod ef, o leiaf, wedi gwneuthur felly.

Yr oedd ei ymgysegriad llwyr i'r weinidogaeth i'w weled yn amlwg iawn yn ei lafur parhäus a diflino i barotôi ar gyfer ei ddyledswyddau cyhoeddus. Fel y crybwyllwyd, ni chafodd ddim manteision addysg; ac yr oedd hyny yn ei adael i ymddibynu yn gwbl ar ei adnoddau ei hunan. Nid oedd y Saesoneg ychwaith y pryd hyny yn cael ei siarad mor gyffredin yn ei wlad ag y mae yn bresennol. Felly fe fu raid iddo ef astudio Saesoneg yn gwbl fel iaith estronol, ac heb gymhorth neb. A mawr iawn fu ei drafferth yn ei meistroli. Ar ol dirfawr ymddygnu gyda hi, fe ddaeth o'r diwedd i ddeall Dr. Owen yn weddol; a gallech feddwl mor falch ydoedd o'i oruchafiaeth, ac yn enwedig mor falch ydoedd o'r trysorau gwerthfawr o ddoethineb sanctaidd a ddygai hyny o fewn ei gyraedd. Ymhen ysbaid fe ddaeth i ddechreu darllen Jonathan Edwards; ond yr oedd arddull hwnw yn gwbl wahanol, a lliaws o eiriau yn cael eu defnyddio nad ydoedd efe wedi eu cyfarfod o'r blaen. Yr oedd hyny ymhell o fod yn galonogol i efrydydd oedd yn meddwl ei fod wedi dysgu Saesoneg yn o dda. Sut bynag, fe benderfynodd feistroli iaith Edwards hefyd. Ac felly efo amryw o ysgrifenwyr eraill. Yr oedd ei

awydd am wybodaeth y fath fel nad oedd bosibl ei ddiwallu. Bu yn ddarllenwr mawr ar hyd ei oes. Yr oedd yn bur anhawdd iddo gael llyfrau gan mor gyfyng, yn enwedig am ran fawr o'i fywyd, oedd ei amgylchiadau. Ond fe ymdrechodd yn galed, ac fe ddyoddefodd lawer wrth hunanymwadu er mwyn cael llyfrau; ac wedi eu cael fe'u hastudiai yn awchus ac egnïol iawn. Ni fu plentyn erioed yn falchach o degan nag a fyddai yntau o ambell i lyfr newydd. Fe barhäodd y teimlad yma hyd y diwedd. Y mae yn gof gan lawer o'i gyfeillion, pan yn lled gynnar ar ei afiechyd, y cyflwynid Tysteb o 200p. iddo, fod y plant yn Llanfair wedi casglu yn eu plith eu hunain i roddi anhreg o lyfr iddo ar yr un pryd; y llyfr a bwrcaswyd oedd *Cunningham's Historical Theology;* ac er mor ddiolchgar y teimlai o herwydd caredigrwydd pur a dwfn y Dysteb, yr oedd serch y plant, a'u hanrheg feddylgar, oedd mor gydnaws â theimladau yr efrydydd, yn ei orchfygu yn llawer mwy. Prin y gwyddai, yn y cyfarfod a gynnaliwyd yn Llanfair wrth gyflwyno yr anrhegion, pa fodd i ddal y pwrs, na pha beth i'w wneyd âg ef, felly rhoddodd ef i'w fab i ofalu am dano; ond gwasgai y cyfrolau at ei galon fel trysor yr oedd ei holl enaid yn teimlo eu gwerth. Ac yn ddiweddarach ar ei afiechyd, pan yr oedd ei olwg wedi llwyr ballu, gofynai am gael ei arwain i'w lyfrgell, ac yno byddai yn *teimlo* ei hen ffryndiau anwyl y llyfrau, yn eu cymeryd yn ei ddwylaw, ac yn eu trîn gyda gorhoffder o dynerwch llednais, ac weithiau gydag ymdòriad o deimlad wrth feddwl na chai byth eu gweled drachefn, ag oedd i'w gyfeillion yn ymylu ar fod yn dorcalonus. A gwych o beth fyddai ganddo gael ambell i ymddyddan am lyfrau gyda'i gyfeillion. Ac nid fel *book-worm* y teimlai ddyddordeb ynddynt, ond fel efrydydd. Beth oedd ganddynt i'w ddyweyd; pa oleuni newydd oedd ynddynt; pa ysbryd iachus oedd yn eu llanw; a pha argraff a fyddent yn debyg o adael ar feddwl y byd: ystyriaethau fel yna fyddai bywyd ei ymddyddanion am lyfrau. A phan gyfarfyddai âg ambell i frawd o allu a dysg, yn enwedig os medrai nesâu ato, ni fyddai terfyn ar y mwynhâd â pha un y tỳnai o hóno, y cymharai farnau âg ef, ac y "cydymgysurid ef ynddo trwy ffydd eu gilydd." Ac nid mater o ddifyrwch neu foethedd llênyddol oedd hyn oll, mewn un modd; na, yr oedd yn bwysig iawn iddo ef gael pob mantais i ddeall yn well ac i deimlo yn ddyfnach y gwirioneddau Dwyfol, ac yr oedd "angenrhaid" wedi ei osod arno i roddi i'w wrandäwyr y fantais o hyny oll. Yr oedd astudio ei bregethau yn beth ag yr oedd raid i'w holl natur deimlo oddiwrtho. Ni adawai gàreg heb ei throi i ddeall yn gyflawn ystyr ei destunau; ac wrth gyfansoddi ei bregethau, fe wnai ei oreu i lanw meddwl ei wrandäwyr â gogoniant eu cenadwri. Ni fyddai byth yn gollwng pregeth ddiofal, esgeulus, trwy ei ddwylaw. Yn wir fe fyddai ei bregethau weithiau yn rhy lafurfawr, yn enwedig os na fyddai y goleuni yn llewyrchu arnynt wrth eu traddodi. Byddai olwynion y cerbyd, weithiau, gan bwysau y llwyth, yn treiglo yn drwm, a theimlid y byddai yr oedfa yn myned yn faith. Dywedir ei fod yn pregethu unwaith i gynnulleidfa yn ei Sîr, ac mewn mawr ofid wrth fethu ennill sylw ei wrandäwyr. "Gwrandewch, gyfeillion," meddai; "mae arna' i eisieu i chwi wrando; mi garwn i chwi gofio fod y bregeth yma wedi costio llafur mawr i mi." "Costio llafur yn wir," ebai un o'r gwladwyr wrth ddychwelyd o'r oedfa; "oedd y dyn ddim yn meddwl ei fod o yn costio llafur mawr i ninnau eistedd yno am yr holl amser i wrando arno?" Yr oedd ei holl bregethau

yn costio llafur mawr iddo ef; ymbarotöai yn y cyfan ar gyfer llwyddiant, ac fe fyddai methiant yn brofedigaeth wirioneddol iddo. Nid oedd neb o'i frodyr a fyddai yn teimlo yn ddyfnach yn wyneb oedfa galed. Yn wir, oni bae fod y peth mor gysegredig yn ei olwg, buasai yn anhawdd weithiau peidio cellwair am ben ei helbul a'i benbleth pan fyddai yn teimlo ei fod wedi llwyr fethu wrth bregethu. Er mwyn pregethu yr oedd efe yn byw, ac os methai yn hyny byddai yn teimlo fod ei holl fywyd ef yn troi yn fethiant llwyr. Yr oedd yn wrandäwr rhagorol; byddai ei agwedd yn gwrando ei frodyr yn rhyfeddol o galonogol i ysbryd pregethu; nid oes yr un gweinidog yn fyw sydd yn debyg iddo yn hyn. Ond er y byddai yn mwynhâu yn ddirfawr weinidogaeth ei frodyr, fe fyddai hyny yn fynych yn peri iddo drallod mawr wrth ymdeimlo â'i ddiffygion ei hun. Byddai ei deimladau yn fynych yn chwareu yr andras âg ef, a gellid meddwl arno ambell dro mai yr anffawd fwyaf oedd i'r fath grëadur ag ef feddwl am bregethu. Ond byddai yn lled fynych yn cael y fraint o deimlo yn bur wahanol. Eithr pa un bynag ai uchel ai isel fyddai ei deimladau gyda'r gwaith, yr oedd ei ymgysegriad iddo yn ei rwymo i lafur dyfal a chyson er mwyn "iawn gyfranu gair y gwirionedd." Parhäodd i lafurio hyd y gallodd; ac yr oedd ei lafur hyd y diwedd yn arddangos yr un cydwybodolrwydd, yr un difrifwch, yr un cariad at y gwirionedd, a'r un zêl gyda gwaith ei Arglwydd, ag oedd yn nodweddu ei ymdrechion yn nyddiau ei yni mwyaf. Ni fyddai byth yn parotôi pregeth i le bach, neu yn teimlo y gallai gymeryd yr hyfdra o wynebu ei hen gyfeillion yn Llanfair,—lle y pregethai bob mis yn gyson,—gyda pharotôad esgeulus. Yr oedd pregethu iddo ef ymhob man ac ar bob achlysur yn bregethu yr efengyl; ac ni fyddai un amser heb wneyd ei oreu i geisio gwneuthur hyny yn deilwng. Fel Dafydd, fe benderfynai "nad offrymai boeth-offrwm yn rhad." Hyderwn yn fawr y bydd y pregethau rhagorol a adawodd ar ei ol yn fuan yn cael eu cyhoeddi, ac y bydd cenedl y Cymry am dymmor maith yn mawrhâu ei lafur ffyddlawn a difrifol, ac yn cael cymhorth drwyddo i ymestyn yn egnïol at y "pethau sydd o'r tu blaen."

Yn ychwanegol at ymroddgarwch ei efrydiau, gallem nodi ei ffyddlondeb di-fwlch wrth weini ei swydd, pa mor fychain a thlodion bynag fyddai y lleoedd a wasanaethai, fel prawf o lwyrder ei ymgysegriad i weinidogaeth yr efengyl. Fe ofnir fod y rhagoriaeth pwysig yma yn prinhâu y dyddiau hyn yn y Cyfundeb y perthynai ein brawd iddo. Fe gŵynir fod rhai o'r pregethwyr yn "arfer ysgafnder" gyda'u hymrwymiadau, ac felly yn peri profedigaeth i gynnulleidfäoedd, a sarhâd ar yr efengyl. Dichon fod gan y Cyfundeb achos i gymeryd yr holl fater hwn dan ystyriaeth ddifrifol. Ymddengys mai y rheol yn awr, i fesur helaeth, ydyw, "Trecha' treisied, a'r gwana' gwaedded."

For why, the good old rule
  Sufficeth them; the simple plan,
That they should take who have the power,
  And they should keep who can.

Eithaf rheol i Rob Roy a'i garn-lladron; ond rheol dra annheilwng i ddysgyblion Crist mewn unrhyw amgylchiadau. A ydyw y *ddamwain* fod nifer fawr o Fethodistiaid wedi dygwydd ymgynnull i ardal, ac er na byddo eu cyfraniadau personol ond bychain iawn, eto o herwydd eu llïosogrwydd, fod eu casgliadau y fath ag sydd yn rhoddi hyfdra i'w

swyddogion i demtio pregethwyr i ddyfod i'w gwasanaethu hwynt, a hyny ar draul tòri ymrwymiadau blaenorol a thaflu brodyr ffyddlawn i brofedigaeth,—a ydyw hyny yn beth y gellir edrych yn ei wyneb am amrantiad heb deimlo y duwch o anghyfiawnder sydd ynddo? Ac fe wneir hyn er mwyn i un gynnulleidfa gael rhysedd, tra y mae cynnulleidfa arall, sydd fe allai yn dangos mwy o ffyddlondeb at deyrnas y Gwaredwr, yn dyoddef gradd o newyn am fara y bywyd. Mae yn wir y dylai y gweinidogion fod uwchlaw temtasiynau o'r natur yma, a rhoddi eu gwasanaeth yn gydwybodol yn y wedd a ymddangoso iddynt hwy yn debyg o fod fwyaf bendithiol i'r achos mawr yn gyffredinol. Ond y mae o leiaf mor wir a hyny *na* ddylai y drefn bresennol ar bethau,—trefn sydd wedi ei gwaelodi yn gwbl ar hunanoldeb, anghyfiawnder, a thrais,—gael ei goddef i ffŷnu yn y tir, ac i beri y fath brofedigaeth i ddynion da wneuthur peth nad allant wrth ei wneuthur lai na'u dirmygu eu hunain fel rhai yn gwneuthur yr hyn na ddylent. *Theory* y Cyfundeb Methodistaidd ydyw ei fod yn Gorff, ac felly fod pob rhan o hono mewn undeb bywiol â'r cyfan, a'i holl nerth yn amddiffyn i'w holl wendid. Mewn llawer o fanau y dyddiau hyn, yr ydym yn ofni ei fod yn myned yn fwy annibynol na'r Annibynwyr. Mae gan enwadau eraill gronfäau cyffredinol at gynnorthwyo i adeiladu capelydd. Yr oedd yn llawen iawn genym weled y dydd o'r blaen am rôdd dywysogaidd Mr. Hadfield yn Manchester o 3000p., yr hon a ychwanegwyd cyn gadael yr ystafell lle yr oedd 'chydig o ddynion da wedi dyfod ynghyd i ystyried yr achos i 19,000p., ac a amcenid godi i 30,000p., er mwyn cynnorthyo i godi capelydd Annibynol yn Manchester a'i hamgylchoedd. Mae dirfawr weithgarwch wedi ei ddangos yn ddiweddar mewn manau eraill a chan Gyfundebau eraill i amcanion cyffelyb. Gydag ychydig iawn o eithriadau, y mae Corff y Methodistiaid yn gadael holl achos codi capelydd a sefydlu achosion newyddion, i farn a theimlad eglwysi neillduol, y rhai, fel rheol, a adewir i ymdaro fel y gallont dan faich eu cyfrifoldeb, tra y mae eglwysi cryfion gerllaw heb gymeryd arnynt eu gweled. Y mae enwadau eraill yn ystyried y weinidogaeth yn eiddo iddynt fel y cyfryw, ac yn dyfod allan yn fwyfwy mewn ymdrechion i sicrhâu ei heffeithiolrwydd cyffredinol trwy yr holl deyrnas. Y mae eglwys Dr. Candlish yn Edinburgh yn cyfranu o 300p. i 400p. y mis at y *Sustentation Fund*, i gynnal gweinidogaeth yr efengyl yn yr Eglwys Rydd oll, er na fydd ei chyfran hi ei hun yn y *dividend* ddim ond yr un fath a'r eglwys ddistadlaf yn yr holl wlad. Y mae lïaws o eglwysi eraill trwy y deyrnas yn ymddeffrôi i ymdrechion cyffelyb. Ac nid yw yn ddigon ganddynt sicrhâu gwasanaeth y gweinidogion tra y byddant yn gallu gwasanaethu yr eglwysi, ond y mae pob enwad crefyddol o ddim pwys o fewn y deyrnas wedi ac yn ymddarparu yn egnïol gogyfer âg amddiffyn y gweinidogion eu hunain pan wedi methu, a gofalu am eu gweddwon a'u hamddifaid ar ol eu hymadawiad. Y mae Corff y Methodistiaid hyd yma ychydig yn wahanol. Ymddengys mai nôd eithaf ei eglwysi cryfion ef ydyw sicrhâu y weinidogaeth oreu iddynt eu hunain, a gadael i'r eglwysi eraill fyw neu farw fel y gallont: ac am y gallo y gweinidogion bregethu a llafurio yn nyddiau eu nerth, nid ydys eto, sut bynag, yn yr holl Gyfundeb,—oddieithr fe allai mewn ychydig amgylchiadau y gallai haelfrydigrwydd mawr eu cydnabod yn eithriadau,—wedi pryderu nemawr beth a ddaw o honynt pan nad all-

ant weithio yn ychwaneg, na pheth ddaw o'u teuluoedd wedi iddynt hwy "fyned i ffordd yr holl ddaear." Ymddengys i ni na fydd yn bosibl i'r Cyfundeb Methodistaidd ddal ei ffordd ac ennill y nerth sydd yn eisieu i wynebu ar y gwaith sydd o'i flaen yn y dyfodol, heb iddo sylweddoli, i raddau llawer mwy nag a wneir yn bresennol, y ffaith o'i unolrwydd; heb iddo wneyd mwy o ymdrech nag a wnaed erioed eto i ddadblygu ei adnoddau trwy ymdrechion a haelioni personol ei aelodau yn gyffredinol; ac heb iddo ymhob ystyr ddysgu aberthu llawer mwy o fwynhâd lleol a phersonol, er mwyn daioni teyrnas Dduw yn gyffredinol o fewn ei derfynau, ac yn y byd.

Fe'n harweiniwyd i ysgrifenu fel yna gan y diffyg amlwg a deimlwn yn y drefn bresennol ar bethau yn y Cyfundeb hwn. Ond nid ydys i anghofio fod y gweinidogion i "ymateb cydwybod dda;" a hyd oni ddaw pethau i well trefn, ac yn wir er mwyn prysuro dygiad hyny oddiamgylch, y mae o annhraethol bwys eu bod hwy yn cysegru eu llafur yn y wedd y barno eu cydwybod hwy eu hunain yn oreu er lles y gwaith yn gyffredinol. Fe wnaeth Mr. Richard Jones hyny, yn sicr. Nid ydoedd yntau, mwy na brodyr eraill, a llawer o frodyr tlotach eu cymhwysderau, heb gael ei demtio yn gryf ac yn fynych i fyned i lafurio mewn cyrau mwy cyhoeddus o'r maes, y rhai a fuasent yn dwyn iddo fwy o glod, a llawer mwy o elw bydol. Ond teimlai efe mai yn Sir Drefaldwyn, ac yn arbenig yn ngwendid ei rhanau isaf, yr ydoedd efe wedi ei alw i lafurio. A thrwy ei holl oes gyhoeddus fe fu yn hyn yn ffyddlawn i'w gydwybod. Pa mor wasanaethgar bynag oedd pregethu teithiol yr hen weinidogion wedi bod trwy Gymru, yr oedd efe wedi ei argyhoeddi yn ddwfn ei bod er ys llawer dydd yn hen bryd gofalu am ymgeledd gyson i'r eglwysi gartref. Ac i'r argyhoeddiad hwnw fe aberthodd ei hunan. Rhoddai ymron ei holl wasanaeth i eglwysi bychain gwaelod Sir Drefaldwyn. Ac er nad oeddynt hwy yn abl i'w gydnabod yn helaeth, yr oeddynt yn ei garu yn ddwfn, ac yn dirfawr gymeradwyo ei lafur. Ac yr oedd hyny yn rhywbeth ganddo ef. Yn wir pe na byddai dim ond y teimladau caredig sydd yn codi yn naturiol o gydberthynas gweinidog ffyddlawn â phobl sydd yn arbenig dan ei ofal, y mae hyny ei hunan yn annhraethol werthfawrocach nag unrhyw boblogrwydd gwibserawl y mae yn bosibl i ddyn, nad yw yn gallu teimlo ei fod yn perthyn i neb mwy na'u gilydd, ei gyrhaeddyd. Yr oedd y gymdeithas felus a gai Mr. Jones â llawer o frodyr a chwïorydd yn yr Arglwydd, a'i mawrygent fel angel Duw yn eu plith, yn help neillduol i'w feddwl ymgynnal yn wyneb llawer o bryder a phrofedigaethau a'i cyfarfu pan yn ceisio eu gwasanaethu. Pa fodd bynag, fe deimlai nad oedd y gwasanaethu ei hunan yn fater a ofynai am fynyd o ystyriaeth. Er mor fychain y manau, er mor isel y gydnabyddiaeth, ac er iselder ei amgylchiadau yntau, yr oedd efe yn edrych arno ei hun fel dyn cysegredig i deyrnas y Ceidwad; a chan mai yn y fan lle yr ydoedd y teimlai ei fod wedi ei alw i lafurio, yr oedd pob teimlad arall yn cael ei lyncu yn ei feddwl gan ei awyddfryd i wasanaethu yn ffyddlawn ei Feistr Mawr, a chan ei bryder am weled y gwaith yn llwyddo. Ymollyngai i bregethu yn y capelydd bychain a gai y fraint mor fynych o fwynhâu ei weinidogaeth gyda'r un ymroddiad ag y buasai yn bosibl iddo wneyd yn oedfäon mwyaf cyhoeddus ei genedl oll.

Ac yr oedd ei bregethu, yn arbenig, yn arddangos ei ymgysegriad llwyr i waith ei fywyd. Yr ydoedd oll yn ei bregethu. Yn wir yr ydoedd hyny yn hynod i'w weled ynddo gyda phob peth a wnai, mor gyfangwbl yr ymdaflai iddo. Y mae rhai dynion fel pe byddent yn gallu dosranu eu hunain i nifer o wahanol alluoedd o weithgarwch, braidd na ddywedem i nifer o wahanol bersonoliaethau, a'r naill yn gallu cario ei weithrediadau ymlaen mor annibynol ar y llall â phe byddent yn perthynu i wahanol fydoedd ymron. Nid felly Richard Jones. Beth bynag a wnai efe, yr oedd yn rhaid iddo oll fod ynddo. Fel y darluniai Wordsworth y cwmwl yn ymsymud i gyd efo'i gilydd os ymsymudai oll,

And moves altogether if it moves at all,

felly nid oedd yn bosibl i'n cyfaill o Lanfair ymsymud heb ymsymud i gyd. Yr ydoedd felly arno gyda'i gyfeillgarwch. Os na theimlai y gallai nesâu at ddyn, ni nesäi ato oll, ni cheisiai nesâu ato. Y canlyniad ydoedd fod rhai yn gorfod ffurfio barn gul am dano, fel crëadur pell, drwgdybus, digymdeithas. Yr ydoedd yn rhyfeddol o groen deneu hefyd. Fel nad oedd neb yn fwy byw i garedigrwydd, felly hefyd nid ydoedd neb a deimlai yn ddyfnach o herwydd angharedigrwydd, pa un bynag ai gwirioneddol ai tybiedig. Ond pan yn dyoddef, nid chwilio am arf ymosodol a wnai er mwyn dïal ei gam; yn wir nid ydym yn gwybod ddarfod iddo archolli neb erioed; ond fel y dïanc yr hŷdd a'r saeth yn glŷnu ynddo i'r goedwig, felly fe ddïangai yntau ymaith oddiwrth y rhai fyddent wedi ei friwo, a thrafferth fawr byth wedi'n fyddai cael ganddo "ymddiried iddynt am dano ei hun." Cofus genym ei fod unwaith mewn cyfarfod pregethu yn ei Sîr, ac yr oedd brawd arall, yr hwn oedd ddyeithr yn y lle, ond yn llawer iau nag ef, i bregethu gydag ef yn Saesoneg yn oedfa y noswaith gyntaf. Nesäodd brawd o flaenor, pur ddiniwed, ond lled ffwdanus, at Mr. Richard Jones cyn iddo ddechreu pregethu, gan ddywedyd, "Pregethwch dipyn yn o fŷr o flaen y brawd dyeithr." Ni fuasai neb yn meddwl yn uchel am ddoethineb y brawd yn gwneyd fel y gwnaeth; ond dichon y buasai y rhan fwyaf yn prïodoli y peth i dipyn o ffolineb ac yn ei ysgwyd ymaith o'u meddwl. Ond fe fu y gair yn brofedigaeth ryfeddol i Mr. Jones, a thrafferth fawr iawn a gawsom i'w berswadio i beidio gosod yn y fan bedair milldir ar ddeg rhyngddo â'r brawd hwnw. Mewn rhai amgylchiadau nid ydym yn ammheu nad dïanc i'r goedwig a wnaeth, â'i archoll gydag ef, er fod hyny yn peri siomedigaeth a thristwch i lawer. Ond ymysg ei gyfeillion, y rhai y teimlai nad oedd dim perygl i'w ofni oddiwrthynt, yr ydoedd yn serchog ac yn gyfeillgar dros ben. Nid ydym ni yn gwybod am neb oedd yn fwy felly, nac yn wir yn gymaint felly. Pan yn ysgwyd llaw â chyfaill, fe barai iddo deimlo fod ei holl hanfod yn ysgwyd llaw âg ef. Ac nid mater cyffredin oedd y cynhesrwydd hwnw, fel yr hyn a geir weithiau mewn naturiaethau ysgeifn sydd, wrth geisio bod yn orserchog wrth bawb, yn ymollwng i fod yn anffyddlawn i'r rhan fwyaf; ond yr ydoedd yn codi o ddyfnder calon oedd yn gref o burdeb ac yn dân o serch. Fe ddaeth nifer lled fawr o frodyr ieuainc o Siroedd eraill i lafurio fel gweinidogion yn ei flynyddoedd olaf mewn cysylltiad â gwahanol eglwysi yn Sir Drefaldwyn; ni fuasai yn beth dyeithr oll pe buasent yn teimlo anhawsder i nesâu ato; ond yr oeddynt oll ar unwaith yn teimlo ei fod ef, o leiaf, yn

gyfaill calon iddynt, ac yr oeddynt hwythau, nid yn unig yn ei edmygu ac yn ei barchu fel gweinidog enwog a henafgwr, ond hefyd yn *ei garu fel tad*. Yr oedd y dagrau a lifent hyd eu gruddiau ddydd ei angladd yn bob clod i'w tynerwch a'u purdeb hwy eu hunain, fel yr oeddynt hefyd yn deyrnged anrhydeddus iawn i'w goffadwriaeth yntau. Ac yr oedd ganddo lawer o gyfeillion a garai yn fawr y tu allan i'r enwad crefyddol y perthynai iddo. Er ei fod yn Fethodist trwyadl, ac

Yn Galfin at y gwraidd,

eto lle bynag y teimlai fod dynion yn ymgais at fod yn ffyddlawn i Grist, a'u bod y fath ag y gallai nesâu atynt, yr ydoedd ar unwaith yn eiddo iddynt. Y mae yn ammheus genym a oes un o weinidogion y Methodistiaid heddyw a gerir mor fawr gan ei gymydogion o enwadau eraill âg y cerid Mr. Richard Jones gan holl enwadau crefyddol Llanfair a'i hamgylchoedd. Yr oedd hyn yn profi nid yn unig ei ryddfrydigrwydd, ond y cyfoeth o gariad hefyd ag oedd yn llenwi ei natur. Ac yr ydoedd ei ryddfrydigrwydd yn ei feddiannu fel nwydd. Gan y teimlai fod Ymneillduaeth yn rhyw-beth annhraethol fwy na damwain, ac fod egwyddorion mawrion Ymneillduaeth yn gorwedd yn ddyfnion yn ngwirionedd ac yn ysbryd yr efengyl, yr oedd "rhesymeg amgylchiadau" yn ei ddysgu i deimlo y gwrthwynebiad cryfaf i bob ymgais at ymyryd â hawliau cydwybod, ac i fawrhâu ymron yn ddifesur y gwroniaid hyny yn mrwydr rhyddid a roddasant eu heinioes i farw, ac a gafwyd yn ymladd drosti ar uchelfanau y maes. Ni chafodd Oliver Cromwell erioed edmygedd mwy diledryw; ac ni chafodd Edward Miall erioed ddarllenydd mwy cydnaws, na neb a deimlai yn fwy diolchgar iddo am ei ymroddiad i wasanaethu achos cysegredig rhyddid a chydraddoldeb crefyddol. Anhawdd fyddai ganddo grybwyll enw y Gwir Anrhydeddus Fenjamin heb amlygu y dirmyg dwfn a deimlai tuag ato; fel llawer o bobl ddiniwed eraill, yr ydoedd wedi methu darganfod fod y gŵr medrus hwnw erioed wedi gallu fforddio cadw cydwybod, ac nad ydoedd dyben penaf bywyd erioed wedi codi yn ei olwg yn uwch na mantais Mr. Disraeli ei hunan. Ond am Mri. Gladstone a Bright, yr oedd yn edrych arnynt hwy fel offerynau neillduol wedi eu codi gan Ragluniaeth, a'u cymhwyso i wneyd gwasanaeth mawr yn y deyrnas i achos cyfiawnder a rhyddid. Beth fuasai ei lawenydd a'i ddiolchgarwch pe buasai ar y ddaear i weled y pethau anhygoel sydd yn myned ymlaen yn y Senedd yn ein dyddiau ni! Yr oedd efe yn rhyddfrydwr trwyadl pan nad ydoedd hyny, nac yn y wlad nac ymysg ei frodyr, mor gyffredinol ag ydyw yn ein dyddiau ni. Ac nid ychydig o ŵg a dynodd lawer gwaith arno ei hun oddiwrth frodyr o allu a dylanwad o herwydd yr hyn a olygid yn eithafedd yn ei olygiadau. Mae yr amseroedd wedi newid erbyn hyn. "Chwe' mis yn ôl," ebe Mr. Miall, yn y cyfarfod a gynnaliwyd yn St. James's Hall ar bwnc yr Eglwys Wyddelig, "yr oeddwn i yn cael fy ystyried yn ddyn eithafol; ond erbyn heddyw yr ydwyf yn cael fy hun ymhlith y blaid gymedrol." Mae y golygiadau hyny o eiddo Mr. Richard Jones ar faterion gwladol ac eglwysig, a ystyrid dros lawer o amser mor wylltion, yr un modd, erbyn hyn, wedi dyfod y golygiadau mwyaf poblogaidd, ac yn debyg cyn bo hir o sicrhâu eu huchafiaeth yn gyffredinol. Pa fodd bynag, yr oedd y golygiadau hyny yn ei lwyr feddiannu ef, ac nid allai lai na'u tystiol-

aethu. Faint bynag o allu oedd yn ei natur, nid oedd yn bosibl iddo gael gorphwys o'i fewn fel posiblrwydd tawel, ond yr ydoedd, trwy fath o angenrheidrwydd anorfod, yn cael ei droi yn nerth neu yn *force* at waith. Yr oedd ei argyhoeddiadau yn ei feddiannu hyd zêl merthyrdod; yr ydoedd ynddynt i gyd. Yr ydoedd hyn weithiau yn ei arwain ychydig ar gyfeiliorn. Y mae dynion o'r fath yn agored i demtasiynau nad yw rhai oerach eu gwaed ac eiddilach eu bywyd yn gwybod nemawr am danynt. Nid ydynt bob amser yn sicr o dynu y llinell yn uniawn rhwng y pethau hanfodol a'r pethau nad ydynt felly. Clywsom am y diweddar Barch. John Jones o Edeyrn yn dywedyd rywbryd mewn Cymdeithasfa yn y Bala wrth y Parch. John Elias, "Nid oes genych chwi ond un pwysau yn eich siop, John; pwysau mawr *fifty six* sydd genych chwi i bwyso owns o dybaco, a'r un pwysau i bwyso *hogshead* o siwgr." Nid yw yn anhawdd cofio am amgylchiadau y buasai yn eithaf priodol dyweyd yr un peth wrth ein hanwyl frawd o Lanfair. Ond fel y mae nerth a gwendid dynion yn fynych yn yr un fan, felly hefyd yr oedd yr hyn ynddo yntau a'i harweiniai weithiau ar gyfeiliorn, yn dyfod, pan fyddai ei farn yn glir yn ngoleuni y gwirionedd, yn guddiad ei gryfder, ac yn ddefnydd anferth nerth.

Ac fel y dywedasom, yr oedd hyny yn dyfod i'r golwg yn neillduol yn ei bregethu. Yn wir yr ydoedd yn amlwg yn holl gylchoedd ei lafur a'i ofal gweinidogaethol. Byddai *i gyd* yn y cyfarfodydd gweddïau, ac yn enwedig yn y cyfarfodydd gweddïau misol. Byddai ei anerchiadau yn y cyfarfodydd hyny yn werthfawr anghyffredin. Yr ydoedd ei hunan yn teimlo y dyddordeb dyfnaf yn llwyddiant yr achos mawr ymhob man, a darllenai gydag awyddfryd bob newyddion a allai gael yn ei gylch; ac wedi dyfod i'r cyfarfod nos Lun cyntaf o'r mis, fe adroddai yr hanesion i'w frodyr a'i chwïorydd, ac fe draethai gyda goleuni a gwres a barai iddynt oll deimlo mor ogoneddus oedd y deyrnas y caent y fraint o anfon eu hocheneidiau i fyny yn ei phlaid. Yr un modd yn neillduol am y cyfarfod eglwysig. Fel llawer o'i frodyr, yr ydoedd yn ddiffygiol mewn ymweled â chyfeillion. Yn ddiweddar, yn wir, y mae gweinidogion y Methodistiaid wedi dyfod i ddechreu deall pwysigrwydd y rhan yma o lafur gweinidogaethol; a chan na feddylid ond ychydig iawn am y fath beth yn ei flynyddoedd cyntaf, nac am lawer o flynyddoedd wedi hyny, yr ydoedd yn eithaf naturiol i ddyn mor hoff o'i fyfyrgell, a dyn mor yswil ac ofnus, deimlo anhawsder mawr mewn gadael ei lyfrau, ac mewn anturio i fyned i dai ei gymydogion pan heb ei alw na'i ddysgwyl, ac heb neges yn y byd ond amcanu at fod o ymgeledd i'w heneidiau. Ond fe deimlid yn neillduol wrth wely y claf mor fawr oedd ei werth. Ac am y cyfarfod eglwysig, yr ydoedd yn ei fwynhâu yn ddirfawr, ac yr ydoedd ei gymdeithas a'i wasanaeth ynddo yn annhraethol werthfawr yn ngolwg ei gyfeillion. Yr oedd yn byw llawer ei hunan yn mhrofiadau dyfnion y gwirionedd, ac am hyny yr oedd yn gyfoethog yn y cydnawsedd ysbryd sydd mor anhebgorol i gynnal ymlaen ymddyddan mewn cyfarfodydd eglwysig, ac i wneuthur y cyfarfodydd hyny yn wirioneddol fuddiol. Yr ydoedd yn rhyfeddol o hapus gyda'r plant. Fel y Bugail da ei hunan, fe "ddygai yr ŵyn yn ei fynwes," ac nid oedd trafferth perswadio y pethau bychain, serchog, ei fod yn eu caru yn fawr. Byddai yn hawdd cael gan blant Llanfair i ddyfod i'r cyfarfod eglwysig wyth-

nosol, yn enwedig os byddai Mr. Richard Jones adref. Canys os byddai efe adref fe fyddai yn sicr o fod yno, ac fe fyddai yn sicr o wrando eu hadnodau, ac fe fyddai yn sicr o ddyweyd pethau da wrthynt, a hyny gyda chymaint o gariad a thiriondeb ag a wnelai yn hyfrydwch digymysg ganddynt ddyfod yn agos ato. Ni fyddai arnynt byth ei ofn; ond yr oedd eu calonau bychain mor lawn o gariad ato, fel mai nid anhawdd fyddai cael ganddynt wneyd unrhyw beth er mwyn gochel ei dristâu, ac yn enwedig er mwyn ennill ei gymeradwyaeth. Y mae lliaws o'r rhai hyny erbyn hyn wedi tyfu i fyny, ac wedi chwalu yma a thraw, ond y rhan fwyaf o lawer, ni a hyderwn, yn rhodio y ffordd gul, ac oll yn ddiammheu yn coledd y teimladau dyfnaf o barch a chariad at goffadwriaeth eu hanwyl weinidog. Ac yn Nghyfarfod Misol y Sîr, yn arbenig yn y Rhan Isaf, yr oedd ei allu a'i "ofal am yr holl eglwysi," yn peri ei fod er ys llawer o flynyddoedd yn cael edrych arno fel tad a brenin ymysg ei frodyr. Clywsom un cyfaill yn gwneyd y sylw ei fod yn ddiffygiol yn nghynneddfau arweinydd Cyfarfod Misol. Fe allai fod ystyr ymha un y mae hyny yn wir. O leiaf nid oedd ganddo unrhyw gymhwysder i fod yn arweinydd *plaid* mewn Cyfarfod Misol. Nid oedd yn meddu yr amynedd sydd yn angenrheidiol i fesur nerth, nac i ddyfalu ymlaen llaw natur ymosodiad y blaid wrthwynebol; i astudio yn bwyllog beth fyddai y dull mwyaf effeithiol i ddymchwelyd ei hamcanion, ac ar yr adfail i adeiladu ei amcanion ei hunan; nid oedd ganddo y cyfrwysdra sydd yn eisieu i ffurfio plaid, ac i'w chael i ymladd yn rheolaidd dan ei faner; ac yn enwedig nid oedd ganddo y pwyll a'r hunanfeddiant mewn dadl, ag sydd yn anhebgorol i arweinydd plaid. Ond càn belled ag y mae gallu mawr, ffyddlondeb difwlch, a'r gofal dyfnaf a mwyaf tyner am lwyddiant yr achos, yn gynneddfau arweinydd mewn Cyfarfod Misol, yr oedd y pethau yna yn cydgyfarfod i raddau anghyffredin ynddo ef: ac nid oedd dim yn fwy naturiol nag i'w frodyr yn Sir Drefaldwyn, yn enwedig wedi ymadawiad y Parch. John Hughes, edrych i fyny ato ef am arweiniad. Ac hyd y gallodd fe fu yn ffyddlawn iawn i'r ymddiried a osodwyd ynddo. Ychydig iawn a wnaeth erioed mewn cysylltiad â'r Cymdeithasfäoedd. Anaml iawn y ceid ganddo fyned iddynt. Yr oedd hyny yn codi i raddau oddiwrth ei ymlyniadau cartrefol, ac i raddau oddiwrth yr yswildod, yr ofnusrwydd, a'r diffyg hunanhyder ag oedd yn dra naturiol i grëadur mor *nervous* ag ydoedd efe. Ac a fu erioed yn wiw gan bobl dda a doeth y Gymdeithasfa wneyd unrhyw ymgais i'w gael i'w plith? Fe allai y buasai yn werth eu trafferth, ac yn ddiammheu ni fuasai hyny yn un sarhâd arnynt. Pa fodd bynag, yr oedd efe yn ffyddlawn i'r Gymanfa hefyd, ac yn barod o galon i gydweithredu â'i frodyr ymhob amcan daionus. Ond er mor ffyddlawn ydoedd yn holl gylchoedd eraill ei lafur gweinidogaethol, yr oedd llwyr ymgysegriad ei enaid i waith yr Arglwydd yn dyfod yn llawer mwy amlwg yn ei bregethu nag mewn dim arall. Fe elwid Ioan Fedyddiwr, gan y prophwyd Esaïah, yn "Llef un yn llefain yn y diffeithwch;" ac y mae efe ei hunan yn cydnabod yr enw, ac yn dywedyd mai dyna ydoedd: "Myfi yw llef un yn gwaeddi yn y diffeithwch." A dywed y Gwaredwr am yr un gŵr, "Efe oedd ganwyll yn llosgi ac yn goleuo, a chwithau oeddych ewyllysgar dros amser i orfoleddu yn ei oleuni ef." Mae y ddau ymadrodd yn dra dynodiadol o zêl ac ymroddiad y Bedyddiwr i'w waith. Os "llefain" ydyw ei waith, y mae ei ffyddlondeb i hyny y fath, fel y mae wedi myned ei hunan yn "llef," ei

bersonoliaeth fel wedi ei lyncu i fyny yn ei orchwyl, ac yntau heb han-fodi mwy ond i'r amcan o'i gwblhâu. Ac yn ol y gair arall, ei gol-euo" ydoedd ei waith, y mae efe ei hunan yn "ganwyll," yr hon sydd wrth "losgi" yn goleuo. Y mae yn treulio ei hun allan wrth, ac i'r dyben o oleuo. Nid oedd Mr. Richard Jones yn hyn yn rhyw annhebyg iawn i Ioan Fedyddiwr. Fe deimlid yn neillduol wrth wrando arno yn pregethu nad ydoedd efe yn byw i ddim arall, fod ei holl hanfodiad yn cael ei droi yn "llef;" yr oedd ei holl fywyd gwerthfawr wrth losgi allan yn llosgi i "oleuo." Os clywsoch neb erioed yn pregethu yn well,—ac yn ddiammheu ni fyddai yn anhawdd i chwi eu cyfrif ar eich bysedd,—chwi deimlech ei fod ef yn sicr yn pregethu mor dda ag oedd yn bosibl iddo, fod ei holl hanfod yn y gwaith.

Byddai ei bregeth bob amser yn arddangos rhagfyfyrdod gofalus ac addfed. Byddai ei faterion yn dda a sylweddol. Yr oedd gŵreidd-dra ei feddwl yn ei gadw ymhell uwchlaw pob ymgywreinio diamcan, a phob peth tebyg i ffolineb. Yr oedd ei athrawiaeth y fath ag a allesid ddysgwyl oddiwrth un a efrydasai gyda y fath ddyfalwch ysgrifeniadau Dr. Owen a'r dduwinyddiaeth Buritanaidd. Ac am ffyddlondeb i amcan pregethu, yr ydoedd yn ddiammheu yn gynllun ag y byddai yn werth i frodyr iau feddwl llawer am dano, a phenderfynu ei ddilyn. Ni chlywsom ef yn pregethu erioed na fyddai yn addysgu ei wrandäwyr gyda phwyll a goleuni yn mhethau y gwirionedd; a chan y credai, gyda Chalmers, nad oedd goleuo y deall ond un ran, a'r ran leiaf ei phwys o amcan pregethu, fe gyfeiriai ei feddwl gyda grym neillduol at yr amcan o beri i'r gwirionedd ennill meistrolaeth ar gydwybod ei wrandäwyr. Byddai cyflëad trefnus ei feddyliau yn ei bregeth yn dangos cryn graffder ymresymiadol. Nid ydoedd ond lled dlawd o ran dychymyg a chydymdeimlad âg ysbryd barddoniaeth; ond gwneid y diffyg i fyny, a llawer mwy, trwy ddyfnder ei brofiadau personol o werth a gogoniant gwirioneddau yr efengyl, a chynhesrwydd bywiol ei gydymdeimlad â chalonau y rhai a fyddent yn ei wrando. Am arddull, nid ymddengys ei fod erioed wedi meddwl ond ychydig iawn; er hyny, trwy ei fod yn amcanu yn unig at *gyrhaeddyd* ei wrandäwyr, pa un bynag ai mewn athrawiaeth ai mewn cynghor, fe ddisgynodd yn naturiol ar arddull da iawn. Byddai ei eiriau bob amser yn "eiriau cymeradwy," yn gyfaddas i urddas ei fater, ac yn gwbl ddealladwy i'w wrandäwyr. Fel gwydr tryloew, byddai ei feddyliau yn llewyrchu trwyddynt heb i chwi feddwl am danynt. Am gyfansoddiad ei frawddegau, yr ydoedd yn rhyfeddol o fanteisiol i'w draddodi. Fel yn netholiad ei eiriau, felly hefyd yn ffurfiad ei frawddegau, yr ydoedd mor gwbl naturiol fel mai yr oll y byddech yn ymwybodol o hono wrth ei wrandaw oedd ei fod yn siarad â chwi. Byddai y naill frawddeg fèr a chryno yn arwain ymlaen i rai eraill cyffelyb, a'r cyfan am gryn amser yn peri i'r bregeth dreiglo rhagddi fel tawel nerth yr afon pan yn llifo trwy y ddôl; ond anaml y byddai y bregeth yn cyraedd y terfyn na fyddai yr afon yn tyrddu yn enbyd wrth brysuro rhwng y meini mawrion, wrth raiadru dros ael y graig, neu wrth ruthro rhagddi yn mawredd a phwysau y llifeiriant. Ac am ei draddodi, yr ydoedd yn rhyfeddol o fanteisiol i ennill sylw ei wrandäwyr. Yr ydym yn ofni fod llawer o'n darllenwyr heb ei weled erioed, yn enwedig y rhan ieuengaf o honynt. Am y darlun o hono sydd yn adnabyddus i lawer o honynt,

nid ydyw ond anferthlun. Yr ydoedd efe ei hun lawer yn fwy urddasol ei ymddangosiad, a chryn lawer yn harddach na'r darlun. Mae hwnw yn trosglwyddo rhyw ddrychfeddwl am dano, mae yn wir; ond gallem feddwl mai drychfeddwl am dano yn arogli burgyn, neu yn gwrandaw ar ddarllen un o areithiau Mr. Disraeli, ydyw. Y mae yn dwyn allan rywbeth ag oedd yn ei natur; ond un o'r pethau salwaf a berthynai iddo ydyw, tra y mae ei bethau goreu wedi eu gadael o'r golwg. Nid oedd neb ag y byddai ei wynebpryd yn amrywio yn fwy na'r eiddo ef. Ymhlith dyeithriaid byddai yn ymddangos yn anesmwyth ac ofnus; byddai rhai yn camgymeryd hyny am oerni a pheller. Ond ymhlith ei gyfeillion byddai ei wynebpryd yn eithaf tawel, ac yn fynych yn pelydru, os nad fel yn goleuo, gan garedigrwydd a sirioldeb. Mor galonog y mwynhäi ymweliad cyfaill serchog; byddai ei lestr yn rhedeg drosodd gan groesaw iddo; adroddai ei ystori ei hun, gan roddi mynych "wyddoch" i lanw ei chornelau, gyda blâs neillduol; a gwrandawai yr un mor zelog, os nad yn fwy felly, ar yr oll fyddai gan ei gyfaill i'w ddyweyd, gan amlygu ei ddyddordeb dwfn yn y cwbl trwy y fath sylwadau athronyddol â "ïe," "ïe," "wel ïe," "ïe yntê," &c., ac fe allai y cyfan yn terfynu mewn chwerthin diniwed a fyddai yn iechyd i'w ysbryd pruddglwyfus ef ei hun ac i ysbryd pawb a fyddai yn agos ato. Yr ydoedd mor unplyg â phlentyn, ac mor serchog; ac fe'i teimlai yn wynfyd ymysg cyfeillion cydnaws i allu ymddadgenglu o ran ei ysbryd, a bod yn eu canol fel plentyn bach. Ond wedi y cwbl, pregethwr ydoedd efe, ac yn y cymeriad hwnw yr ydym i feddwl am dano. Dyna efe yn ei bulpud. Y mae yn y fan yna yn hardd ac urddasol iawn. Y mae difrifwch ei waith yn ei sefydlu i hunanfeddiant naturiol, ac ymddengys ei ysbryd difrifol fel yn tawel fyned i mewn i ystyr a phwysigrwydd y sefyllfa. Yr ydych ar unwaith yn ei bresennoldeb yn dyfod i deimlo eich bod o flaen nerth. Mae y dôn arafaidd naturiol â pha un y rhydd y pennill i'w gánu yn ennill eich ffafr, ac yn peri i chwi deimlo mai nid damwain oedd ei ddyfodiad ef i'r fath le ac at y fath waith. Darllena y gair sanctaidd yn bwyllog a pharchedig; ac wrth gyfarch gorsedd gras, mae ei symlrwydd a'i ŵylder yn dangos ei fod yn arfer crynu wrth draed yr uchel Dduw, a thaerineb ei erfyniau a thynerwch ei ysbryd wrth ddadleu haeddiant Un arall, un ag y mae y Tad yn ei "wrando bob amser," yn dangos fod yn dra thebyg ei fod yntau wedi gwybod lawer gwaith beth oedd cael ei wrando gan yr Arglwydd. Dechreua y bregeth yn bwyllog a chyda thôn sydd i raddau yn fesuredig, yn awgrymu i feddwl y craffus fod y bregeth yn ei feddwl yn gyfansoddiad. Er hyny y mae yn dyfod ymlaen, frawddeg ar ol brawddeg, yn dra naturiol. Mae y testun wedi ei egluro yn foddhäol, a dyna ddau neu dri o faterion yn cael eu codi oddiarno i fod dan sylw ymhellach. Digon tebyg fod ymdeimlad y pregethwr o ddifrifwch ei sefyllfa, a'i bryder rhag i'r oedfa fyned yn fethiant, yn peri iddo wasgu ar i'r gynnulleidfa weddïo am y fendith o'r nefoedd. Yna ä ymlaen i athrawiaethu ar y penau a gododd. Dichon y gwna amryw "sylwadau," yn yr arddull Buritanaidd, mewn perthynas i'r materion a noda, cyn codi îs-raniadau sydd yn fwy manwl yn ymwneyd â'u cynnwys. Y mae ei lais yn gwresogi; nid yn ennill rhyw lawer o ddyfnder, na chwmpas, na phereidd-dra; ond yn hytrach yn cynneu. Peidiwch a sŷnu os ymgeisia am eich cydwybod, neu os dad-

gana ar eich rhan ddymuniad gwresog am i'r nefoedd fawr roddi i chwi y fendith y sonia am dani. A ymlaen drachefn gyda'r materion eraill, fater ar ol mater. Y mae ei ysbryd yn myned yn fwyfwy cynneuadwy. Y mae y llygaid tywyll oedd yn llechu o dan yr aeliau trymion yna wedi deffro; y maent yn codi yr aeliau i fyny ac yn ymagor i'w llawn faint; ïe, yn wir y maent hwythau, fel y mae yr ysbryd sydd oddifewn yn tremio ar ogoniant rhyw wirionedd gogoneddus, yn cynneu, ac yn saethu i'ch ysbryd chwithau ryw awgrymau tra arwyddocâol am yr annhraethadwy sydd yn llanw meddwl y pregethwr. Y mae yntau yn sefyll yn syth yn y pulpud, yn gwasgu dwy ochr ei gôb ynghyd fel dyn yn teimlo iâs, ac mewn ffordd ddigon anmhrydferth, ond cwbl anymwybodol iddo ei hun—mae pregethwr yn gwneyd llawer peth digon rhyfedd pan nad ŵyr yn y byd beth a wna—yn codi ei ysgwyddau i fyny, ac yna yn crynhoi ei lafar-beiriannau i geisio saethu y frawddeg sydd ar ei feddwl allan; y mae am eiliad yn methu, ond yna—dyna hi allan! Ac wedi iddi ddyfod allan, odid fawr nad ydyw yn *shell* sydd yn ymrwygo ar y gynnulleidfa, ac yn mŷnu ei theimlo gan bawb. Ac mewn nifer o frawddegau angerddol eraill fyddai yn dilyn, yr oll yn saethau yn cael eu hanelu i amcan, byddai yr effaith ar y galon yn cael ei ddwyshâu, ac mewn dringraddiad, mewn *climax* nad oedd yn bosibl ychwanegu ato, gadewid rhwng yr argraff âg ysbryd ei wrandäwyr. Os na chofiwch am y peth ar ol hyny, os na fydd yn glŷnu ynoch, ac os na fydd iddo eich gŷru ar eich gliniau wedi i chwi ddychwelyd o'r oedfa, yr ydych o leiaf yn barod iawn i gydnabod mai nid ar y pregethwr y mae y bai!

Fe gofir yn neillduol am ei bregeth fawr yn Nghyfarfod Misol Llanidloes yn mis Ionawr, 1860, ar *Addewid y Tad*. Yr oedd ei galon ef ei hun ar y pryd yn gynhes yn ysbryd y diwygiad, ac yr oedd y gynnulleidfa lïosog oedd yn ei wrando, gan yr un ysbryd, mewn ystâd o gydnawsedd ag oedd yn gwneuthur yn hyfryd iddo feddwl am ei chyfarch. Gan fod y Cyfarfod Misol hwnw ar adeg drymaidd yn y flwyddyn, y mae y cyfeillion yno, er ys llawer o amser, wedi gosod y cyfarfod eglwysig yr ail ddiwrnod i ddechreu am 9 o'r gloch, a'r oedfa gyhoeddus am 11, gan roddi un i bregethu. Ac yn fynych iawn Mr. Richard Jones a enwid i'r oedfa hono. Felly y tro hwnw. Yr oedd y cyfarfod eglwysig cyn hyny wedi bod yn anghyffredin o werthfawr, y newyddion da a glywid o wahanol fanau am bechaduriaid yn cael eu deffro i ymdeimlo â'u perygl, ac i ffoi rhag y llid a fydd, fel "dyfroedd oerion i enaid y sychedig" i'r llïaws oedd yn pryderus hiraethu am ddadguddiad braich yr Arglwydd yn eu hardaloedd hwythau. Y mae y brawd sydd yn dechreu yr oedfa yn teimlo yn ddwys, ac y mae y rhan bwysig hono o'r gwasanaeth yn cael ei chyflawni gyda difrifwch mawr, a lle cryf i obeithio fod yno lawer yn gwir weddïo. Cyfyd y pregethwr ar ei draed, a dyry allan y pennill,

O anfon Di yr Ysbryd Glân
Yn enw Iesu mawr,
A'i weithrediadau megys tân,
O anfon ef i lawr.

Nid yn fynych y clywir y fath gânu. Y mae yn llawn o ysbryd y pennill. Y mae yna nifer mawr iawn yn bresennol sydd, yn eu cânu, yn anadlu allan ddymuniad dyfnaf eu calon, ac nid yw yn anhawdd i

chwi deimlo eich bod rhywle yn nghymydogaeth pethau mawrion. Cyfeiria yntau wrth nodi ei destun at Act. i. 4, a darllena "Eithr dysgwyl am addewid y Tad, yr hwn, eb efe, a glywsoch genyf fi." Mor newydd, mor ogoneddus, mor ryfeddol o gyfoethog y teimlir y geiriau! Ac yn enwedig, mor gyfaddas i'r oedfa hono! Yr oedd holl eiriau y pregethwr yn cyraedd, hyd yn nôd ei eiriau tawelaf; ond am rai o'r *bursts* mawrion yn y bregeth, fe gofir yn hir am eu heffaith ar y gwrandäwyr. Bu raid i amryw o honynt, yr oeddid wedi eu hen ystyried yn llawer gormod o athronyddion i arddangos dim teimlad neillduol dan unrhyw weinidogaeth, waeddi allan gan angerdd eu teimladau. Ond—fel y mae yn dygwydd bod—dyma y bregeth ei hunan o'n blaen, ac nid allwn wneyd yn fwy caredig â'n darllenwyr na'i rhoddi yn gyflawn ger eu bron. Gellwch edrych arni fel cynllun têg o'i bregethau ef yn gyffredinol, ac ond i chwi geisio dyfalu am dano ef yn ei thraddodi, a chofio yr amgylchiadau, gellwch ffurfio rhyw ddrychfeddwl am bregethu Richard Jones. Am bawb oedd yn yr oedfa fythgofiadwy hono, gwyddom y bydd yn fwynhâd digymysg ganddynt ddarllen y bregeth hon. Hyderwn y bydd i eraill hefyd yn llês ac yn fendith.

## ADDEWID Y TAD.

ACT. i. 4: "Ac wedi ymgynnull gyda hwynt, efe a orchymynodd iddynt nad ymadawent o Jerusalem, eithr dysgwyl am addewid y Tad, yr hwn, eb efe, a glywsoch genyf fi."

Y MAE yn ddiau mai y gymdeithas felusaf fu yn y byd hwn erioed, oedd y gymdeithas fu rhwng Crist a'i ddysgyblion, ar ol ei adgyfodiad. Yr oedd y llwyth ag oedd yn ei wneuthur ef yn ŵr gofidus wedi ei symud, yr oedd ei galedwaith wedi ei orphen, ac yr oedd ffydd a gobaith y dysgyblion wedi cael adgyfodiad. Gellid meddwl fod eu ffydd a'u gobaith ynddo ef fel y Messïah wedi marw pan yr oedd efe yn marw ar y groes. Yr oedd eu holl obeithion yn cael eu claddu gydag ef yn y bedd newydd. Ond yn ei adgyfodiad, fe gafodd eu ffydd a'u gobaith hwythau adgyfodiad.

Y mae yn rhaid addef fod ymddygiadau y dysgyblion pan y daliwyd ef, ac yn amser ei dreial, yn dra annheilwng; ond y mae yr Iesu ar ol ei adgyfodiad yn ymddwyn tuag atynt fel pe buasai wedi anghofio eu holl gamymddygiadau; y mae yn anfon at yr un a'i gwadodd o dan ei enw ei fod wedi adgyfodi; ac er mwyn adferu ffydd Thomas, y mae yn cynnyg iddo roddi ei fŷs yn ôl yr hoelion, a dodi ei law yn ei ystlys. Y mae yn dangos iddynt ei ddwylaw a'i draed, er mwyn rhoddi sicrwydd iddynt mai yr hwn fu farw ar y groes ydoedd.

Buasai yn hoff gan y meddwl gael rhagor o hanes y gymdeithas hyfryd fu rhwng Crist a'i ddysgyblion dros ddeugain diwrnod. Ond y mae yn debyg fod cynnwys y pethau a ddysgodd iddynt yn yr athrawiaeth a'r rheolau a roddwyd i ni gan yr apostolion.

Y mae yr Arglwydd Iesu, ar ol adferu eu ffydd a'u gobaith, yn adnewyddu y commisiwn,—y mae yn eu hordeinio i fod yn dystion iddo ef a'i waith yn Jerusalem, ac hyd eithaf y ddaear. Nid oedd yr apostolion eto, er eu bod yn gredinwyr, yn gymhwys i ymroddi yn gyhoeddus i'r gwaith; yr oedd yn rhaid iddynt gael cymhwysder swyddol, sef nerth o'r uchelder. Fe allai fod yn hyn rywbeth yn arbenigol i'r apostolion; ac eto y mae ar bawb sydd yn ymwneyd yn gyhoeddus â gwaith Crist angen am dano.

Gellid meddwl fod y dysgyblion yn bwriadu ymadael o Jerusalem yn y fan ar ol esgyniad eu Meistr i'r nefoedd. Yn Jerusalem yr oedd yr elyniaeth gryfaf yn ei erbyn; yno yr oedd eisteddle y llywodraeth; Jerusalem oedd wedi arfer lladd y prophwydi, a Jerusalem oedd newydd ei ladd yntau; ac y mae

yn debyg nad oedd ganddynt obaith y gallent wneyd dim yn Jerusalem. Ond y mae eu Harglwydd yn gorchymyn iddynt aros yn Jerusalem, a dechreu ar eu gwaith yn Jerusalem. Yr oedd yn brïodol dechreu yn Jerusalem, yn

1. Er mwyn i'r Iesu gael ei ogoneddu yn gyntaf ar y ddaear yn y lle y taflwyd y dirmyg mwyaf arno. Yn Jerusalem y condemniwyd ef; yno y coronwyd ef â drain; yno y poerwyd yn ei wyneb; yno y croeshoeliwyd ef: ac yno y dechreuodd yr Ysbryd ei ogoneddu; yr oedd ei ogoniant yn cymylu gogoniant pawb yn Jerusalem ddydd y Pentecost.

2. Yr oedd yn brïodol dechreu yn Jerusalem er mwyn rhoddi prawf o allu y Brenin a osododd Duw ar ei eglwys, i lywodraethu yn nghanol ei elynion, trwy blânu eglwys yn Jerusalem, a'i hamddiffyn, a'i llwyddo; fe roddodd brawf o'i allu i lywodraethu yn nghanol y gelynion cryfaf a chreulonaf.

3. Yr oedd dechreu yn Jerusalem yn rhoddi mantais iddo "ddangos yn yr oesoedd a ddeuai ragorol olud ei ras," a gallu yr iachawdwriaeth. Os byddai pregethiad yr apostolion o'r Iesu croeshoeliedig yn effeithiol yn Jerusalem, gallent anturio i'r holl fyd; "gan ddechreu yn Jerusalem."

Y mae yr Arglwydd Iesu, er mwyn calonogi ei ddysgyblion, yn addaw bedydd newydd iddynt, a'r bedydd hwn a'u gwisgai â nerth: "ond chwi a fedyddir â'r Ysbryd Glân cyn nemawr o ddyddiau." Nid yw yn nodi y dydd, er mwyn eu cadw mewn agwedd ddysgwylgar bob dydd; ac yn y testun y mae yn gorchymyn iddynt ddysgwyl am gyflawniad yr addewid: "Efe a orchymynodd iddynt nad ymadawent o Jerusalem, eithr dysgwyl am addewid y Tad."

I. YR ADDEWID A NODIR YN Y GEIRIAU: "Addewid y Tad, yr hwn, eb efe, a glywsoch genyf fi."

II. Y MAE CYFOETH A CHYFLAWNDER ANFEIDROL YN YR ADDEWID HON.

III. YR AGWEDD Y DYLEM FOD YNDDI, SEF, Dysgwyl am ei chyflawniad.

I. YR ADDEWID A NODIR YN Y TESTUN: "Addewid y Tad, yr hwn, eb efe, a glywsoch genyf fi." Yr addewid fawr oedd yn sylfaen pob addewid arall oedd yr addewid am Hâd y wraig. Person Crist yw sylfaen yr eglwys, a'r addewid am dano ef oedd yr addewid sylfaenol. Y mae pob addewid arall yn sylfaenedig ar hon, ac i fod yn wasanaethgar i ddyben mawr ei fywyd a'i farwolaeth; dwyn pechaduriaid i undeb âg ef, i ymddiried ynddo, a'u newid i'w ddelw, yw gwaith arbenig yr Ysbryd Glân.

Y mae yr eglwys yn gyfoethog mewn addewid ymhob oes, a than bob goruchwyliaeth. Yr oedd yr addewid am Hâd y wraig yn rhedeg trwy oes y cysgodau, yn fywyd a gobaith yr eglwys; ac yn nghyflawnder yr amser, fe esgorodd yr addewid hono ar ei chynnwys. Yr oedd mater mawr yr addewid wedi ei gael allan, sef Crist yr Arglwydd; ac fe fu ei enedigaeth, ei fywyd, a'i farwolaeth, yn ddiddymiad ar y defodau cnawdol a'r cysgodau, yn ddiddymiad ar ystâd fabanaidd yr eglwys: ac wedi cyflawni un addewid fawr, y mae yr eglwys wedi derbyn hawl i addewid fawr arall, yr addewid am yr Ysbryd Glân. Y mae yr addewid am yr Ysbryd yn cydredeg âg eglwys y Testament Newydd. Y mae yn addewid i'r eglwys ymhob oes yn gystal âg i'r oes apostolaidd. Gelwir yr efengyl mewn modd arbenig yn weinidogaeth yr Ysbryd. Yr oedd yr Ysbryd yn yr eglwys dan yr Hen Destament; yr oedd ganddo ei waith. Yr oedd Dafydd yn arswydo rhag i Dduw ei gymeryd oddiwrtho. Ond y mae graddau helaethach wedi eu haddaw dan y Testament Newydd. Hâd y wraig oedd addewid fawr yr Hen Destament, a'r Ysbryd Glân yw addewid fawr y Testament Newydd; a phan y bydd yr addewid hon yn gorphen esgor, fe fydd diwedd ar ddull presennol pob peth o fod; fe fydd yr eglwys yn gwisgo dull newydd, ac fe fydd terfyn tragywyddol ar bob gwaith dan haul. Yr oedd ymddangosiad Crist, a'i farwolaeth, yn fath o ddiwedd y byd; felly fe fydd gorpheniad gwaith yr Ysbryd yn ddiwedd y byd mewn gwirionedd; "ni bydd amser mwyach."

Sylw 1. Y mae yr eglwys yn gyfoethog iawn mewn addewid; y mae yr Ysbryd Glân wedi ei roddi iddi mewn addewid. Hyn yw y peth mawr a addawodd ein Harglwydd Iesu Grist iddi yn ei destament. Y mae cariad, dan arweiniad ofergoeledd, yn gosod bri mawr ar ddarn o bren a dybir sydd

yn perthyn i groes Crist; ond nid oes son am hyny yn ei destament ef; dyma addewid ei destament, "Dyddanydd arall," i aros gyda'i eglwys yn dragywydd. Y mae pethau tymmorol yn cael eu rhoddi gan ragluniaeth, ond yr Ysbryd yn ol addewid cyfammod, ac am hyny fe'i gelwir yn "Lân Ysbryd yr addewid."

Sylw 2. Y mae yr addewid am yr Ysbryd yn cael ei galw yn y testun yn "addewid y Tad." Addewid un llawn cariad a thosturi,—"addewid y Tad." Nid oes gair mewn iaith yn magu mwy o hyder na hwn, "Tad." Nid yw Crist yn dywedyd, "addewid fy Nhad," neu, "addewid eich Tad;" ond y mae yn ei daflu yn agored, "addewid y Tad." Addewid Tad y trugareddau, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, a Thad pawb a gredant ynddo; trwy undeb â Christ y mae y pechadur tlawd yn sefyll yn yr un berthynas â Duw ag y mae Crist fel Cyfryngwr ynddi: "Fy Nhad i," medd Crist, "a'ch Tad chwithau." Ac y mae hon yn addewid y Tad i Grist, ac i bob un sydd ynddo ef.

Sylw 3. Y mae yr addewid hon wedi ei chario i ni gan yr Hwn oedd yn mynwes y Tad, gan yr Hwn oedd yn ei adnabod yn berffaith, yn llawn amgyffred ei holl gynghor, a'i feddyliau. Nid addewid wedi treiglo dros lawer o wefusau yw; na, y mae wedi dyfod i ni o enau ei Uniganedig Fab: "Addewid y Tad, yr hwn, eb efe, a glywsoch genyf fi." Clywsoch hyn lawer gwaith genyf fi, ond yn enwedig yn fy mhregeth ymadawol ychydig cyn fy marw. Mi ddywedais wrthych drachefn a thrachefn y deuai Dyddanydd arall i aros gyda chwi. Tŷnwn gysur o hyn, fod yr addewid hon wedi dyfod o enau Crist ei hun; ac y mae yr addewidion ynddo Ef yn Ië, ac ynddo Ef yn Amen, er gogoniant Duw Dad. Y mae y Gŵr a lefarodd y geiriau yn sicr o wneyd ei air yn dda.

Y mae addaw ac anfon yr Ysbryd yn cael ei brïodoli i'r Tad a'r Mab; ond nid yw hyn mewn un modd yn arwyddo uchafiaeth nac isafiaeth, ond trefn a chyfammod; ac nid yw yn arwyddo ychwaith fod ewyllys da y Personau eraill yn fwy nag ewyllys da yr Ysbryd. Un cariad tragywyddol yw cariad y Duwdod—yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glân.

II. Y MAE CYFOETH A CHYFLAWNDER ANFEIDROL YN ADDEWID Y TAD. Wrth addaw Hâd y wraig, ac addaw ei Ysbryd, yr oedd yn addaw pob daioni oedd yn angen ar grëadur syrthiedig. Y mae y geiriau, "Pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofyno ganddo?" (Luc xi. 13), yn cael eu hadrodd gan Matthew (vii. 11), "Pa faint mwy y rhydd eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd *bethau da* i'r rhai a ofynant iddo?" Wrth roddi ei Ysbryd y mae yn rhoddi pethau da: yr Ysbryd Glân yw awdwr pob daioni sydd ynom; yr Ysbryd Glân yw awdwr y dduwiol anian; efe sydd yn cymhwyso yr iachawdwriaeth.

Y mae cyfoeth anfeidrol yn addewid y Tad.

1. Y mae ynddi y peth a wna i'r galon galetaf deimlo. Dyma waith nas gall neb arall ei wneyd. Yr oedd yn anmhosibl i galonau fod yn galetach na chalonau preswylwyr Jerusalem. Yr oeddynt wedi dal gweinidogaeth yr Iesu; yr oeddynt yn medru ei watwar pan yr oedd yn marw ar y groes; yr oeddynt yn medru dal pan yr oedd holl natur mewn cynhwrf a dyryswch; yr oedd eu calonau yn galetach na'r creigiau oedd dan eu traed. Ond pan ddechreuodd addewid y Tad esgor ar ei chynnwys, dwysbigwyd miloedd o honynt yn eu calonau; fe wnawd y graig gallestr yn llŷn dwfr. Y mae'r iaith a arferent yn profi fod teimlad newydd yn eu calonau, "Pa beth a wnawn fel y byddom gadwedig?" Dyma iaith teimlad: y mae miloedd yn teimlo heddyw oedd fel y gàreg er ys blwyddŷn yn ol!

2. Y mae yn addewid y Tad y peth a wna yr Iesu yn ogoneddus yn ngolwg dynion.

Y mae y gwaith o ogoneddu yr Iesu wedi ei ymddiried i'r Ysbryd Glân; y mae yr Iesu wedi ymddiried ei ogoniant ar y ddaear iddo: "Efe a'm gogonedda i." Y mae yn dadleu ei achos mewn byd sydd heb ei adnabod, ac y mae wedi gorchfygu llawer iawn o'r byd i gydnabod ei gyfiawnder, a'i fuddugoliaeth ar Satan; ond y mae yn gwneuthur rhagor: y mae yn amlygu ei ogoniant i'r enaid nes y bydd y meddwl a'r galon yn ymgylymu wrtho. Golygfa hynod yw

gweled gogoniant yr Iesu trwy ddadguddiad yr Ysbryd Glân. Gellid meddwl fod gweled prydferthwch natur am y waith gyntaf yn dra effeithiol i'r rhai yr oedd yr Iesu yn agor eu llygaid; ond beth yw canfod prydferthwch natur am y waith gyntaf mewn cymhariaeth i weled prydferthwch "Rhosyn Saron, a Lili y dyffrynoedd?" O bydded i'r Ysbryd ogoneddu yr Iesu!

3. Y mae yn addewid y Tad y peth a wna rai gweiniaid yn wrol dros eu Duw a'i waith. Yr oedd hen gydnabod Pedr ac Ioan yn rhyfeddu at eu hyfdra; yr oeddynt yn cofio eu hymddygiadau digalon yn yr ardd, ac yr oeddynt yn cofio Pedr yn syrthio o flaen haeriad morwynig; ond erbyn hyn yr oeddynt yn hyfion dros eu Meistr ger bron y llŷs. Beth oedd wedi gwneyd y fath gyfnewidiad arnynt ond cyflawniad o addewid y Tad? Gwelwyd carcharor yn ei gadwynau yn llanw ei farnwr â dychryn, trwy nerth yr Ysbryd! Beth oedd yn gwneyd Luther mor hŷf a gwrol yn Worms ond y bedydd newydd? Yr oedd John Knox, trwy nerth yr Ysbryd, yn arswyd i frenhines a'i llŷs.

Yr oeddym ni er ys blynyddoedd yn weiniaid iawn,—yn rhy weiniaid i lefaru gair wrth gymydog: nifer fawr yn rhy weiniaid i weddïo yn gyhoeddus; yn rhy weiniaid i ddwyn yr Iesu a'i waith dan sylw mewn cwmni. Yr oeddym yn rhy wan i sôn am ei enw; ond cyflawniad o addewid y Tad a wnai y llesgaf o honom fel Dafydd, a thŷ Dafydd fel Duw, fel angel yr Arglwydd yn myned o'u blaen hwynt! Byddai y dosbarth yn sŷnu at nerth newydd yr hen athraw ag yr oeddynt yn gwybod ei eithaf er ys blynyddoedd. Byddech yn rhyfeddu at nerth y pregethwyr ag y gwyddech eich bod yn rhy gryfion iddynt. Y mae yr eglwys mewn manau yn wan iawn; ond cyflawniad o addewid y Tad a'i gwnai yn ofnadwy fel llu banerog!

4. Y mae yn addewid y Tad y peth a wnai ein gweddïau yn daerion ac yn gryfion. Y mae yn bosibl i ddyn trwy fod yn gyfarwydd yn y Bibl, a thrwy allu rheswm, adrodd gweddi reolaidd; ond marwolaeth fydd yn teyrnasu ynddi os na bydd yr Ysbryd yn fywyd. Gall fod ynddi ddigon o eiriau, ond y mae'r peth mwyaf ar goll os heb yr Ysbryd, sef ocheneidiau anhraethadwy. Y mae yr Ysbryd yn creu teimlad o'r angen; y mae yn rhoddi hyder yn yr enaid i nesâu at Dduw. Y mae yn Ysbryd mabwysiad yn llefain Abba, Dad. Cyflawniad o addewid y Tad arnom a'n gwnai ni yn weddïwyr hynod. Y mae y peth sydd yn cael ei dywallt ar rai y dyddiau hyn yn gosod delw newydd ar eu gweddïau.

5. Y mae yn addewid y Tad y peth a gymhwysa greadur wedi ei hollol lygru i wlad o burdeb. Y mae yn rhaid ein geni drachefn; y mae yn anmhosibl gweled teyrnas nefoedd heb ein geni o'r Ysbryd. Y mae yn rhaid cael bywyd newydd yn yr enaid, a'r Ysbryd Glân yw awdwr y bywyd hwnw. Pan y mae addewid y Tad yn esgor, mae yr esgyrn sychion yn cael eu bywhâu. Pwy na lefai, "O anadl, tyred, ac anadla ar yr esgyrn hyn, fel y byddont byw." Y mae ein natur yn llygredig drwyddi: aflan! aflan! ydym gorff ac enaid, ac y mae yn anmhosibl myned i'r nefoedd heb sancteiddrwydd. Ond y mae yr Hwn a addewir gan y Tad yn abl i'n sancteiddio; y mae wedi sancteiddio rhai aflan iawn: "A hyn a fu rhai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhäwyd, yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni," 1 Cor. vi. 11. Y mae wedi gwneyd miloedd o galonau aflan yn demlau sanctaidd iddo ei hun: y mae y ffynnon a agorwyd i bechod ac aflendid at ei wasanaeth i olchi pechaduriaid aflan ynddi. Bedyddier ninnau â'r Ysbryd Glân, er ein sancteiddio; a bydded ei ddylanwadau ar ein gwlad, nes gwneyd y cwbl yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd!

6. Y mae yn addewid y Tad y peth a leinw y meddwl â goleu, a lewyrcha yn y galon, a egyr lygaid y meddwl. Y mae dyn heb yr Ysbryd ganddo fel dyn dall: er ei fod yn nghanol peryglon, nid yw yn dychrynu; neu er bod yn nghanol gwrthddrychau prydferth, nid yw yn eu rhyfeddu. Y mae digon o oleuni o'i amgylch, ond dall yw y truan. Y mae eraill wedi cael eu golwg ac yn mwynhâu; mae yntau, druan, yn rhyfeddu atynt; ond rhyw ddydd, mae yr Ysbryd yn agor llygaid ei feddwl, ac mae pob peth yn ymddangos yn newydd, ac yn rhyfedd iddo. Fel y *lady* â'r *transparent picture*, na welai ddim ynddo nes

ei osod rhyngddi â'r goleuni, ond wedi hyny ymddangosai yn brydferth iawn; felly y mae hen adnodau, a hen eiriau y Bibl i gyd bellach yn newyddion iddo yntau. Y mae Crist yn newydd; y mae yn gweled prydferthwch a gogoniant anfeidrol yn ei Berson. Mae pechod a maddeuant yn bethau newyddion yn ngolwg ei feddwl. Yn ngoleu yr Ysbryd mae y pechadur yn gweled y llid a fydd yn beth digon pwysig i ffoi rhagddo; ac yn ngoleu yr Ysbryd mae yn gweled bywyd tragywyddol yn ddigon gwerthfawr i gymeryd gafael ynddo. O llewyrched yr Ysbryd i'n calonau!

7. Y mae yn addewid y Tad y peth a ddyddana yr enaid ymhob amgylchiadau. Dan yr enw Dyddanydd arall yr oedd ein Iesu bendigedig yn ei addaw i'w ddysgyblion. Yr oedd y dysgyblion ar ol ei dderbyn yn gyflawn o ddyddanwch yn y trallodau mwyaf; yn myned o ŵydd y cynghor gwawdus a chreulawn yn llawen; yn cânu ar hanner nos yn y carchar; yn gorfoleddu mewn gorthrymderau. Ac nid peth yn perthyn i'r oes apostolaidd yn unig yw y dyddanwch hwn: y mae addewid y Tad i'r eglwys heddyw. Bydded i'r dyddanwch gael ei weinyddu, fel y byddo llawenydd yr Arglwydd yn nerth i ni; Neh. viii. 10.

8. Y mae yn addewid y Tad y peth a wna grëadigaeth newydd, a osyd ddelw newydd ar bob peth. Y peth hwn a wna yr hen anialwch diffrwyth yn ddoldir ffrwythlawn; y peth yma a wna drigfa dreigiau, a'u gorweddfa, yn gyfle corsenau a brwyn; y peth yma a wna y graig gallestr yn llyn dwfr; y peth yma a osyd sancteiddrwydd yn addurn ar bob peth. Cyflawniad o addewid y Tad a wna bechaduriaid aflan yn saint enwog. Fe ddaw diwrnod ar y byd, sancteiddrwydd fydd yn y ffasiwn; mae digon yn nghynnwys addewid y Tad i roddi delw newydd ar ein hen fyd llygredig. Y mae yn eglur fod yr eglwys yn gyfoethog iawn mewn addewid.

III. YR AGWEDD Y DYLEM FOD YNDDI, sef "dysgwyl am addewid y Tad," dysgwyl am y cyflawniad. Yr oedd eglwys yr Hen Destament yn dysgwyl cyflawniad o'r addewid am Hâd y wraig nes y daeth. Felly y mae eglwys y Testament Newydd i ddysgwyl am dywalltiad o'r Ysbryd ar bob cnawd. Y mae yn y bennod hon, a dechre y nesaf, ddesgrifiad o'r dysgyblion tra yn dysgwyl yn ol gorchymyn eu Harglwydd.

Yr oedd undeb yn eu plith: "oll yn gyttûn." Yr oeddynt oll yn dysgwyl: "y rhai hyn oll." Nid oedd yr un aelod o'r eglwys yn ddifater; nid oedd yr un yn absennol; yr oeddynt oll yn ymroddi i weddïo. Gweddïo hynod fu o esgyniad yr Iesu hyd ddydd y Pentecost. Darfu iddynt bara i ddysgwyl nes cael y tywalltiad. Ymddygwn ninnau fel y brif eglwys.

Tuag at ddysgwyl, y mae yn rhaid meddu ffydd yn ngwirionedd yr addewid. Os bydd y meddwl yn ammheu, fe faga anobaith. Credwn fod yr addewid hon mor wir âg addewid fawr yr Hen Destament. Fe gafwyd prawf ddydd y Pentecost, a llawer gwaith wedi hyny, fod yr addewid hon yn wirionedd.

Y mae mewn gwir ddysgwyl obaith hiraethlawn. Fel y mae y gwyliwr yn dysgwyl am y bore, felly y dylem ninnau ddysgwyl am yr Arglwydd; ymarfer â phob moddion dan ddysgwyl; dyfod i bob moddion yn llawn syched a hiraeth am gael ein bedyddio â'r Ysbryd Glân.

Gochelwn rhag tristâu a diffodd yr Ysbryd. Gollyngwn ein gafael o bob peth sydd yn groes i'w lendid; rhoddwn ufudd-dod dioedi i'w holl gymhelliadau, rhag i Dduw gymeryd ei Ysbryd sanctaidd oddiwrthym.

O fy ngwrandäwyr, gofynwch am yr Ysbryd Glân! Fe allai fod yma rywun yn barod i ddywedyd, "Wele fi yn bren crin," yn addfed i dân. Y mae digon yn nghynnwys "addewid y Tad" i'th îreiddio! Y mae wedi îreiddio miloedd oedd mor grined â thithau.

Cofiwn hyn, "addewid y Tad" ydyw. Y mae ganddo ef ymysgaroedd Tad; ac y mae Un yn ein natur ni yn gweddïo am gyflawniad yr addewid; ac y mae anfeidrol barodrwydd yn yr Ysbryd i ddyfod. Dysgwyliwn yn hiraethlawn am gael ein bedyddio â'r Ysbryd Glân! O Arglwydd, dyro hyn yn fuan, er mwyn Crist. Amen.

*Llanfair Rhagfyr 24ain*, 1859.

# HENAINT.

URDDASOL henaint! pendefigaidd wyt,
A thywysogaidd yw dy agwedd di.
Ar orsedd einioes eistedd wnai fel teyrn,
A choron wèn, wnaed gan flynyddau maith,
Yn gorwedd yn barchedig ar dy ben;
A'th farf dderwyddol, megys godreu 'r wawr,
Yn gorphwys yn arianaidd ar dy fron.
Crymedig yw dy wàr fel bŵa 'r nef,
A thrymion yw dy gamrau byrion di.
I'th orsedd dringaist megys gwron hŷf,
Gan wneuthur holl helyntion daear dyn
Yn risiau cedyrn i dy drymion draed
I esgyn i dy ymherodrol sêdd.
Mae'th holl orseddfainc yn urddasol fri,
Ac eistedd arni mewn tangnefedd wnai,
A'th deyrnas yn ymgrymu wrth dy draed.
Cyn i ti ennill dy urddasol sêdd,
Bu raid it' ymladd â byddinawg lu
O gewri cryfion, ac ymladdwyr dewr.
Mae 'th hanes yn gerfiedig ar dy rûdd—
Dy rûdd fu unwaith fel y wawr ei hun,
Heb ddim ond gwrîd ieuenctyd ar ei gwêdd;
Ond heddyw garw a gwywedig yw,
A gorchuddiedig gan gerfiadau dwfn;
Mewn arwyddluniau darllen arni wnawn
Helyntion mawrion dy foreuol hynt.
Ol codwm Eden ar dy dalcen sydd;
Pryd hyn y collaist dy ieuengaidd drem.
Mae creithiau 'r diluw ar dy wyneb di,
Ac ôl brwmstanaidd fflamau Sodom gynt.
Treuliedig a lluddedig yw dy wêdd,
A cherfio 'th ddelw ar bob peth a wnai.
Heneiddio mae pob peth o dan dy law:
Y maes eginawl, er ieuanged yw,
A gyfnewidia 'i wêdd o dan dy drem;
Yr ardd rosynog, dan dy anadl di,
A dry 'n wywedig ac yn hagr ei gwêdd;
A'r dderwen gadarn wywa yn dy law:
Y gallestr sy 'n malurio dan dy droed,
A rhydu yn dy goffrau mae yr aur;
Er mai ieuenctyd yw y gwanwyn gwyrdd,
Heneiddio 'n hâf a wna o dan dy wên;
A'r hâf wrth chwareu dan ei siriol dês,
Wneir genyt ti yn Hydref llwyd a llwm;
Ac yna 'r gauaf—henaint oer ei wêdd,

A gerfia 'i enw ar y byd i gyd.
Afonydd mawrion, yfaist hwynt yn llwyr,
A chwalu 'r bryniau â dy gamrau wnai;
Palasau prydferth, a dinasoedd têg,
A chestyll cedyrn lyfant lwch dy draed;
A'u cuddio wnai mewn llaid o ŵydd y byd.
Holl longau 'r môr a bydrant yn dy ddwfr,
O dan dy dònau yn llongddrylliad ânt.
Y ddaear oll sy'n gwywo yn dy ŵydd,
A bwyta ei choluddion wnai o hyd,
Fel na bydd dim o hóni yn y man
Ond plisgyn ceuol, megys cneuen wâg.
Mae holl ymlusgiaid mawr a mân y byd,
A'r llu asgellog hefyd yn dy law;
Mae 'r holl fwystfilod, gwyllt a gwâr ynghyd,
A'r anifeiliaid yn dy deyrnas di;
Y llew a'r cawrfil frysiant at dy draed,
I huno 'n llesg o dan dy gadwyn drom;
Y fuwch a'r arth, y blaidd a'r ddafad fwyn,
A gydymgrymant i'th awdurdod di;
Yr eryr grymus ar ei aden gref,
A'r llesg wibedyn, hedeg atat wnânt;
Ac ynot ti eu colli wnawn ynghyd—
Mewn henaint derfydd eu bodolaeth hwy.
Yr holl ddynoliaeth hefyd gawn i gyd
O dan ddylanwad dy deyrnwïalen gref,
A thalu teyrnged i'th fawrhydi wnawn.
Ymgrymu iti wnaeth ein tad a'n mam
Yn more 'r ddaear—Adda aeth yn hen;
Ieuenctyd Efa cilio ymaith wnaeth.
Ac er mor gyndyn fu Methusalem
I blygu iti, cwympo wnaeth yn llesg
A gorchfygedig wrth dy orsedd di.
Holl gewri 'r cynfyd welaf wrth dy draed;
Mae cenhedlaethau yn dy goffrau 'nghûdd,
A'u llwch dan lwch du ebargofiant trwch.
Pob baban sydd yn cael eu dwyn i'r byd,
Tydi sydd yn eu derbyn ar dy lîn;
Ac yn dy freichiau yr ysgydwir hwy,
Ac ar dy fynwes cânt eu magu oll,
A'th wefus grychlyd eu cusanu wnai,
A gwywa llu o honynt wrth dy fin—
Heneiddiant ymaith yn dy anadl di.
A'r rhai a fedrant dy osgoi 'r pryd hyn,
A myned o dy freichiau di i lawr,
I chwareu gyda mân deganau plant,
Heneiddio ynghanol eu teganau wnânt;
Heneiddia hefyd eu teganau hwy,
A chefnu arnynt mewn diflasdod maent,—
Ant yn rhy hen i chwareu gyda hwynt.

Eu hudo wnai o blith teganau mân,
I fysg pleserau tref ieuenctyd llon,
Er mwyn eu dwyn yn nês-nês at dy draed.
Ymysg pleserau cwympo lliaws wnai,
A denu 'r lleill i blith helbulon byd,
I ymddifyru mewn trafferthion dwys.
Y llanc llawenfalch nas gŵyr beth yw ing,
Gofleidia bryder ar dy amnaid di;
A'r eneth ieuanc nwyfus, wridog, hardd,
Gofleidia dlodi er mwyn cael nesâu
Yn anrhydeddus at dy orsedd di.
Eu beichio wnai â llafur yn barhäus,
Ac ymddihoeni mewn gofidiau wnânt;
A lludded wna 'u haelodau cryf yn llesg;
Hoenusrwydd i'enctyd, darfod wnaiff yn llwyr,
A'r bywiog gamrau yn arafaidd wneir,
A'r gliniau grymus genyt wneir fel hesg;
A'r breichiau cryfion yn grynedig iawn;
A galar ddaw i rwygo 'r galon gref,
A hiraeth hŷf i yfed gwaed y fron.
Dan faich o siom a phŵn o drallod trwm,
Y cefn syth tàlgryf grymir genyt ti;
Wrth ddringo llethrawg fryn gofidiau serth,
Y frest uchelgref genyt wneir yn wan;
A'r llygaid treiddgraff yn byledig ânt,
A'r clyw yn drwstan ac annyben iawn;
A'r gwallt du ieuanc dry fel eira 'n wŷn—
Heneiddia 'r cyfan dan dy dremiad di.
Llu fu yn ieuanc welaf ger dy fron,
A'th ddelw arnynt oll o'u pen i'w traed;
A chrynu maent wrth grymu tua 'r bedd.
Maent fel hen gestyll adfeiliedig oll,
Attegion yn eu dal i fyny sydd;
A phlygu danynt ac heneiddio i lawr
Y mae 'r attegion sy 'n eu cynnal hwynt.
Maent wedi methu dilyn cwrs y byd;
Blinasant ar ei holl helyntion ef,
Fel y mae 'r plant yn myned yn rhy hen
I chwareu gyda 'r tegan yn barhäus;
Rhy hen i weithio ydynt hwythau 'n awr;
A llafur ffarweliasant er ys talm;
Ni cheisiant ennill clod, na golud chwaith.
Ar y dyfodol troisant hwy eu cefn,
Yn y presennol nid oes ganddynt ddawr,
Yn y gorphenol aros y maent hwy,
Ac mewn adgofion ymddifyru wnânt;
Hen bethau yw eu pethau yn barhäus,
Mae pobpeth newydd ganddynt yn ddiwerth.
Mae delw henaint heddyw arnynt oll,
Ac wrth dy borth cydeistedd wnânt yn sŷn,

I adrodd chwedlau eu boreuol hynt,
Ac achwyn ar bob peth y dyddiau hyn;
A syrthio maent o un i un i'r bedd,
Fel dail y coed dan awel Hydref llwyd;
A'u cuddio 'rwyt yn llwch dystawrwydd dwfn,
A thyfa glaswellt anghof angeu dros
Y llanerch lle syrthiasant hwy i lawr.
Holl barch y byd, ei urddas a'i holl glod,
Ei rwysg a'i fawredd sydd o dan dy law.
Mae teml anrhydedd, er cadarned yw,
Yn ogwyddedig eisoes ger dy fron;
A holl binaclau anfarwoldeb sydd
Yn chwilio am le i drengu wrth dy draed.
Gogoniant cenhedlaethau 'r byd i gyd
Sy 'n lludw dan dy boeth allorau di.
Mae urddau mawredd wedi toddi'n llwyr,
Fel eira unnos dan belydrau 'r haul;
Holl sêr enwogrwydd, fel canwyllau brwyn,
Sy 'n diffodd ymaith yn dy awyr lem.
Yr enwau mawrion unwaith fu yn llawn
Attyniad nerthol, megys haul y nef;
A'r holl gymdeithas ddynol yn cylchdroi
O'u hamgylch fel y mae planedau 'r nen
Yn troi o gylch yr haul, gan dderbyn gwrês,
A bywyd o'i oleuni dysglaer ef:
Mae 'r enwau hyny erbyn hyn yn oer,
A'u holl ddylanwad wedi colli ei nerth;
Y sawl a'u gwisgent heddyw sydd yn llwch,
A'u henwau mawrion dan eu llwch ynghûdd;
Heneiddio ymaith wnaethant megys iâ.
Ac er i lawer gerfio 'u henwau 'n ddwfn
Yn nghraig hanesiaeth, dyfroedd henaint sydd
Yn treulio ymaith graig eu henwau hwy.
Ychydig enwau sy 'n parhâu o hyd
A gwrid ieuenctyd ar eu gruddiau 'n fyw;
Rhyw ambell Homer, ac ambell Filton gawn,
Yn gwrthod plygu i dy ddeddfau di;
Er hyn mae ôl dy lygaid ar yr rhai 'n.
Yr unig enwau sy 'n parhâu yn llawn
Ieuenctyd hoew heb heneiddio dim,
Yw 'r enwau hyny a eneiniwyd âg
Anfarwol enaint ysbrydoliaeth Duw.
Holl gyfammodau a holl ddeddfau 'r byd
Sy 'n gwywo fel cicaion Jonah gynt.
Pob peth amserol, ymheneiddio maent:
Ond nid yw tragwyddoldeb dan dy ddeddf;
Ieuenctyd grymus, digyfnewid yw.
Heneiddio hefyd yr wyt ti dy hun,
Ac ymheneiddio yn wastadol wnai
Nes syrth y ddaear a'th holl deyrnas di

# Y TRAETHODYDD.

## GWLADWRIAETH PLATO.

### III.

Cofus gan y darllenydd mai y gofyniad gyda'r hwn y cychwyna Plato ydyw, Pa beth yw cyfiawnder? a'i fod yn amcanu ei ateb trwy roddi desgrifiad o gymdeithas wladwriaethol. Ond gwelsom eisoes mai ofer oedd y cais i ddyfod o hyd i gyfiawnder yn y wladwriaeth isaf a symlaf, yr hon sydd yn amddifad o athroniaeth. Bellach, y mae yn anghenrheidiol i ni ffurfio syniad am wladwriaeth athronyddol a pherffaith, gan obeithio darganfod yn hono ymha le yr ymguddia gwrthddrych ein hymchwiliad. Ond y mae dwy ffordd i wynebu ar y gorchwyl hwn, sef un ai portrëadu y wladwriaeth ar ddelw bur a digymysg y drychfeddwl o hóni, neu ynte olrhain y cynllun mor gywir ag y byddo modd yn hanesyddiaeth y byd a nodweddion y natur ddynol. Gwell, mae yn wir, a fyddai y dull cyntaf, pe byddai yn ein gallu i ddisgyn oddiwrth y drychfeddwl gwirioneddol. Ond gan ein bod mewn perygl o dwyllo ein hunain â rhith, a chan mai ein hamcan ydyw dyfod o hyd i'r drychfeddwl o gyfiawnder, yr hwn, mae yn eglur, ydyw enaid gwladwriaeth, rhaid i ni ymfoddloni ar esgyn o rîs i rîs oddiwrth yr hyn a welwn o flaen ein llygaid, ac a deimlwn ynom ein hunain, hyd at y drychfeddwl pur. Wedi hyny ni a allwn ddychwelyd ac esbonio yn ngoleuni y drychfeddwl yr holl bethau a'n harweiniodd ato. Yn unol â hyn, ni a gawn Plato, yn y lle cyntaf, yn dadblygu y wladwriaeth berffaith o'r wladwriaeth iselaf a ddichon fod, ac, wedi penderfynu trwy hyny pa beth yw y drychfeddwl o gyfiawnder, yn ail bortrëadu y wladwriaeth berffaith yn unol â'r drychfeddwl hwn. Teimla yr efrydydd yn barod i dybied weithiau fod yr edau yn dyrysu yn nwylaw yr athronydd, gan ei fod yn y rhanau olaf o'r "Wladwriaeth" fel pe bae yn ail ddechreu ac yn dychwelyd ar ei lwybr. Er enghraifft, yn y trydydd llyfr gosodir o'n blaen gynllun rhagorol o addysg; ond erbyn i ni ddyfod i'r seithfed llyfr, gwynebwn ar gynllun arall o addysg, yr hwn sydd yn llawer mwy cywrain ac athronyddol na'r llall. Ond yr eglurhâd ydyw, fod Plato yn desgrifio y wladwriaeth berffaith, yn gyntaf, càn belled ag y gellir olrhain ei hegwyddorion yn y byd o'n hamgylch, ac yn y ddynoliaeth o'n mewn, yn nghanol egwyddorion gwrthwynebol oddiallan iddi, ac yn wyneb tuedd gynhenid i ymlygru ynddi ei hunan. Wedi esgyn yn y dull hwn at y drychfeddyliau, amcana ffurfio gwladwriaeth berffaith yn unol â'r drychfeddyliau, a dengys pa fodd yr ymddadblyga rhai drychfeddyliau, megys daioni, yn weithredol yn y byd yn ol rheol a chynllun drychfeddyliau eraill, megys cyfiawnder a doethineb. Esgyna o'r gweith-

redol at y drychfeddyliol er mwyn disgyn o'r drychfeddyliol i'r gweithredol, yr hwn, wedi'r cwbl, ni welir yn weithredol ar y ddaear, ond a erys yn ddrychfeddwl rhy bur i ymgymysgu â'r llygradwy a'r marwol hyd nes y gwisga efe y llygradwy hwnw â'i anllygredigaeth ei hun. Hyn sydd yn codi Plato ar unwaith yn annhraethol uwchlaw holl gynllunwyr gwladwriaethau dychymygol. Nid *Utopia* ydyw gwladwriaeth Plato, nid dinas yn y cymylau, ond ymchwiliad i'r egwyddorion a orweddant yn wirioneddol wrth wraidd cymdeithas. Ac er na welir gwladwriaeth berffaith yn ffaith ar y ddaear, eto y mae y drychfeddwl o hóni yn wirionedd yn y nefoedd. Yn hollol gywir y sylwa Maurice mai nid un o'r beirdd ydyw Plato, y rhai ni chânt ddyfod i mewn i'w wladwriaeth ef—er y dylid cofio, ar yr un pryd, fod athroniaeth Plato yn farddoniaeth ddyrchafedig iawn—ond un o'r ymchwilwyr i wirionedd, y rhai a osodir ganddo i'w llywodraethu. Y mae desgrifiad Plato o weithrediad y gynneddf athronyddol mewn dyn yn arddangosiad têg o'r dull a gymerodd efe ei hun i ffurfio ei wladwriaeth, sef esgyn oddiwrth yr unigol at y cyffredinol, mewn trefn i ddisgyn oddiwrth y cyffredinol at yr unigol. Mor eglur a tharawiadol ydyw ei eiriau ar y mater. Pe buasai Plato wedi gosod mwy o bwys ar "yr egwyddorion canol" *(axiomata media)*, y rhai a safant rhwng y gwrthddrychau unigol â'r drychfeddyliau mwyaf cyffredinol, buasai y dyfyniad byr a ganlyn yn cynnwys cnewyllyn athroniaeth Bacon, heblaw yr hyn a berthyn yn neillduol i Plato ei hun:—

"Deallwch, gan hyny, fy mod yn golygu wrth yr ail ran o'r byd rhesymol yr hyn y mae rheswm ei hun yn ymafael ynddo trwy rym ymresymiad, gan wneyd y tybosodiadau, nid yn egwyddorion dechreuol, ond mewn gwirionedd yn dybosodiadau, fel grisiau a safleoedd, nes dyfod hyd at yr hyn nad oes tybiaeth yn perthyn iddo, at egwyddor ddechreuol pob peth [hyny yw, y drychfeddwl o ddaioni] ac ymafael ynddi, er mwyn wedi hyny, gan ymaflyd drachefn yn y pethau hyny ag sydd yn ymaflyd ynddi hi, yn y modd hwn ddisgyn hyd at y diwedd, heb ddefnyddio un o wrthddrychau y synwyrau corfforol o gwbl, ond drychfeddyliau eu hunain, gan ddyfod o hyd iddynt trwyddynt eu hunain, a diweddu mewn drychfeddyliau." (*Rep.* vi. 511.)

Amcanwn yn yr ysgrif hon ddilyn camrau yr athronydd tra y dadblyga y wladwriaeth o'i chyflwr syml a phlentynaidd, hyd nes y cawn gipolwg arni dan lywodraeth athroniaeth ac yn gartrefle cyfiawnder.

Mae yn eglur ar unwaith nas gall symlrwydd a diniweidrwydd y plentyn barhâu yn hir. Buan y cynnyrchir chwant am foethau yn y ddinas. Er mwyn digoni eu chwant, cyfyd yr anghenrheidrwydd i'r dinasyddion wneyd ymosodiadau ar eu cymydogion. Mewn chwant a rhyfel, gan hyny, y dechreua y wladwriaeth ymddadblygu ac ymlygru; oblegid dechreua ymddadblygiad ac ymlygriad yn y wladwriaeth, fel ymhob man arall lle mae bywyd, ar unwaith â'u gilydd. Ond buan y gwanychir y cyntaf o'r ddau gan nerth yr olaf, os na cheir halen athroniaeth i wrthweithio y drwg. Ac nid trwy ddarostwng yr ymweithiad sydd yn y peth byw y gwrthweithir ef, ond trwy iawn gyfeirio a rheoli yr ymddadblygiad. Mor bell ydyw Plato oddiwrth lunio gwladwriaeth ddifrycheulyd a dychymygol, yr hon nas gall hanfodi yr ochr yma i'r sêr, fel y cymer efe yn ganiatäol y bydd i'r nwydau hunanol dòri allan yn y ddinas. Hyn a bâr fod rhyfel yn anghenrheidiol mewn trefn i roddi

gollyngdod i'r nwydau, ar y naill law, a bod yn rhaid wrth athroniaeth, ar y law arall, er mwyn eu ffrwyno a'u darostwng. A chan ein bod eisoes wedi gosod i lawr yr egwyddor o raniad llafur, rhaid i ni wrth filwyr i ymladd ein brwydrau, ac wrth athronwyr i'n llywodraethu. Rhenir y dinasyddion, gan hyny, yn dri dosbarth, y rhai a elwir gan Plato y Ceidwaid, y Milwyr, a'r Werin. Gwaith y dosbarth isaf, sef y Werin, ydyw trîn y ddaear, masnachu, parotôi anghenrheidiau bywyd, a gwasanaethu ar y lleill. Gwaith y Milwyr ydyw rhyfela drosom. Gwaith y Ceidwaid, y rhai ydynt oreuon y milwyr, ydyw ein llywodraethu yn ol egwyddorion athroniaeth. Dysgwyliem yn naturiol gael eglurhâd cyflawn yn y man hwn ar safle a dyledswyddau y gwahanol ddosbarthiadau hyn. Ond y mae yn nodedig na ddywed Plato ond y nesaf peth i ddim am y Werin, tra y cawn ddesgrifiad manwl a godidog dros ben o ddyledswyddau a rhagorfreintiau y Ceidwaid. Ac eto nid yw yn anhawdd rhoddi cyfrif am hynyna. Un o'r dyrys bynciau na chafwyd pelydryn o oleuni arnynt hyd oni chododd haul Cristionogaeth ydoedd, Pa fodd i ddyrchafu y werin bobl? Gadewid pawb nas gallent amgyffred athroniaeth yn eu tywyllwch dudew a'u caethiwed anobeithiol. "Yr wyf yn casâu y werin halogedig ac yn eu cadw draw," oedd iaith yr hen athronwyr; ac nid Heraclitus oedd yr unig un a deilyngai yr enw, "dirmygwr y llïaws." Credent fod natur wedi gwneyd y gwahaniaeth rhwng caeth a rhydd, anwybodus a dysgedig, ac mai cymaint anghrefydd a fyddai ceisio ei ddilëu âg a dybiai Horace oedd i'w weled yn ngwaith dynion yn croesi y moroedd a fwriadwyd gan y duwiau i ddyeithrio gwledydd oddiwrth eu gilydd. Os myn neb deimlo grym y geiriau Ysgrythyrol, "A'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt," darllened lyfrau yr athronwyr paganaidd. Yn wir, y Werin ydyw yr elfen anhydrin ac anesboniadwy yn y ddinas, yr hon, yn ol barn yr athronwyr cyntefig, sydd i'w chanfod ymhob peth fel eu gilydd. Yr hyn ydyw y tryblith yn y byd mawr, neu y chwantau yn myd bychan y ddynoliaeth, hyny ydyw y Werin yn y wladwriaeth. Ac fel y mae Rheswm Dwyfol yn ymsymud ar wyneb y dyfnder, nes dwyn trefn o ganol annhrefn, felly y dylai yr un Rheswm, yn y ffurf o gynneddf ddynol, reoli y chwantau yn yr enaid, ac felly hefyd y dylai yr un y Rheswm drachefn, yn y ffurf o ddosbarth o athronwyr, lywodraethu y Werin yn y ddinas. A chyn i ni fyned at ddesgrifiad Plato o'r Ceidwaid, nid anfuddiol fydd gwneyd dyfyniad lled faith, yn enwedig gan mai prin y cadwasom yn ein hysgrifau blaenorol at ein haddewid o ddwyn y darllenydd i gymdeithas Plato ei hunan. Dengys y ddammeg hynod a ganlyn pa fodd y golygai Plato mai gwaith natur ydyw y gwahaniaeth rhwng y naill ddosbarth a'r llall mewn cymdeithas, ac nad gwiw i ni gyffwrdd âg ef:—

"Gan hyny, a ydyw mewn gwirionedd yn hollol gywir i ni alw y rhai hyn yn geidwaid gorphenedig, fel na byddo i'r cyfeillion oddifewn ddymuno, nac i'r gelynion oddiallan fedru gwneyd niwed, tra y rhoddwn i'r gwŷr ieuainc, y rhai a alwasom hyd yn hyn yn geidwaid, yr enw cydweithwyr a chynnorthwywyr i osodiadau y llywodraethwyr?—Felly yr ymddengys i mi, atebai yntau.—Trwy ba ddyfais, gan hyny, meddwn innau, pe dywedem ryw un anwiredd godidog o fysg yr anwireddau y mae yn iawn eu defnyddio, fel yr ydym newydd fod yn sylwi, y gallem argyhoeddi yn arbenig y llywodraethwyr eu hunain, neu, o'r hyn lleiaf, y gweddill o'r ddinas o wirionedd hyn?—Pa fath anwiredd? gofynai ef.—Dim newydd, meddwn, ond un o

anwireddau y Phoeniciaid, yr hyn beth à ddygwyddodd yn fynych yn yr hen amser, fel y dywed y beirdd, ac y gwnaethant i lawer eu credu, ond na ddygwyddodd yn ein dyddiau ni, i mi wybod, ac a ofyna allu anghyffredin i berswadio dynion i'w gredu. Ymddangoswch fel pe baech yn hwyrfrydig i'w fynegu.—Chwi a gredwch, pan y mynegaf ef, fod genyf reswm da dros fod yn hwyrfrydig.—Dywedwch ef, meddai yntau, ac nac ofnwch.—Wel, mi a'i dywedaf; ac eto nis gwn â pha hyfdra, nag â pha eiriau i lefaru. Ac ymdrechaf, yn y lle cyntaf, argyhoeddi y llywodraethwyr eu hunain, a'r milwyr, wedi hyny y gweddill o'r ddinas, nad oedd y meithriniad a'r addysg a gawsant genym ni yn ddim amgen na breuddwydion a ddygwyddodd iddynt, ond eu bod mewn gwirionedd y pryd hwnw yn cael eu ffurfio a'u meithrin dan y ddaear, hwynt-hwy a'u harfau, a'r gweddill o'u hofferynau, yn cael eu llunio, ac i'r ddaear, eu mam, pan oeddynt wedi eu gorphen yn berffaith, eu hanfon i fyny, a bod yn ddyledus arnynt yn awr ymgynghori ar ran y wlad y trigant ynddi, a'i hamddiffyn, fel eu mam a'u magwres, os ymosoda neb arni, a theimlo tuag at y dinasyddion eraill megys tuag at frodyr a aned o'r ddaear.—Nid heb reswm yr oedd arnoch gywilydd er ys meityn fynegu yr anwiredd.—Digon gwir, meddwn innau; ond ar yr un pryd, clywch y rhelyw o'r ddammeg.—Yn awr, yr ydych chwi, y dinasyddion oll, yn frodyr—fel hyn y llefarwn ar ddammeg wrthynt—ond Duw, yr hwn a'ch lluniodd, a gymysgodd aur yn ngwneuthuriad y rhai hyny o honoch ag sydd yn alluog i lywodraethu, am ba achos y teilyngant hwy yr anrhydedd uchaf; ac arian yn ngwneuthuriad y cynnorthwywyr; ond haiarn a phres yn ngwneuthuriad yr amaethwyr, a'r crefftwyr hefyd. Am hyny, gan eich bod o'r un cŷff, chwi a genhedlwch, mae'n wir, blant tebyg i chwi eich hunain, fynychaf, ond ambell dro cenhedlir o'r aur blentyn arian, ac o'r arian blentyn aur, ac yn y blaen, y naill fath yn cynnyrchu math arall. I'r llywodraethwr, gan hyny, yn gyntaf, ac yn benaf, y gorchymyn eu gwneuthurwr na byddont yn geidwaid da o ddim yn gymaint ag o'r plant, ac na ofalont gymaint am ddim ag am edrych pa beth sydd wedi ei gymysgu â'u heneidiau; ac, os genir iddynt hwy eu hunain blentyn âg ychydig bres neu haiarn ynddo, nad ydynt i dosturio mewn un modd, ond i'w brisio yn ol y gwerth a berthyn i'w natur, a'i yru i ddosbarth y crefftwyr; ac, ar y law arall, os genir o blith y crefftwyr un âg ychydig aur neu arian ynddo, eu bod i'w brisio yn ol ei werth, a'i ddyrchafu i ddosbarth y ceidwaid, neu y cynnorthwywyr, gan fod oracl yr hwn a ddywed mai dyna y pryd y dinystrir y ddinas, pan y bydd haiarn a phres yn geidwaid iddi. A wyddoch chwi am unrhyw ddyfais i'w dwyn i gredu y ddammeg hon?—Nis gwn, atebai yntau, am unrhyw ddyfais i gael gan y gwŷr hyn eu hunain ei chredu. Ond gellir perswadio meibion y gwŷr hyn a'r gweddill o ddynolryw o hyny allan i'w derbyn.—Wel, parai hyd yn nôd hyny, meddwn innau, iddynt ofalu mwy am y ddinas, ac am eu gilydd; canys yr wyf yn llêd amgyffred eich meddwl; ac fe ddaw hyn oddiamgylch yn ol fel y trosglwyddir ef gan dduwies y chwedlau." (*Rep.* iii. 414, 415.)

Tröwn, bellach, at ddesgrifiad Plato o lywodraethwyr ei wladwriaeth. Pa beth yw yr aur y mae yn rhaid i ni ei gael yn nghyfansoddiad pob un o'r Ceidwaid? O ran ei alluoedd corfforol, ei ragoriaeth fydd bod yn debyg i'r crëadur ffyddlawn a deilynga yn arbenig yr enw ceidwad, sef y ci, yn graff ei synwyrau, yn gyflym, ac yn gryf. Ac, yn wir, gyda golwg ar ragoriaethau meddyliol, drachefn, nis gall ein ceidwaid wneyd yn well nag efelychu y ci, yr hwn a fedd natur athronyddol iawn; canys pa beth sydd yn fwy athronyddol na gwahaniaethu rhwng dynion yn ol ei adnabyddiaeth o honynt, gan ei fod yn chwyrnu yn erbyn dyn dyeithr, er na wnaeth ddim drwg iddo, tra y croesawa y neb a adwaena o'r blaen, er na dderbyniodd yr un caredigrwydd oddiwrtho? Felly hefyd, dylai ein ceidwaid wybod pa fodd i ddal digofaint ac addfwynder mewn cydgordiad â'u gilydd. Mewn trefn i gynnyrchu ynddynt yr holl ragoriaethau hyn, y mae yn ofynol sefydlu yn y ddinas gynllun o addysg a dysgyblaeth. Ond nid hawdd fydd i ni gael cynllun mwy rhagorol na'r hwn a ffŷna eisoes ymhlith y Groegiaid, sef campau i ddysgyblu y corff, a cherddoriaeth i ddysgyblu y meddwl. Ac wrth gerddoriaeth y golygir pob celfyddyd neu lênyddiaeth ag a duedda i gynnyrchu cynghanedd yn

yr enaid. Y mae o'r pwys mwyaf, gan hyny, ein bod yn sefydlu arolygiaeth fanol ar chwedlau y beirdd, ac yn esgymuno o'r ddinas bob barddoniaeth nad gwiw i'r meddwl tyner ei gymeryd i mewn. Er enghraifft, y mae desgrifiadau Hesiod a Homer o'r duwiau yn annheilwng a llygredig. Nid ydynt yn wirionedd; ac hyd yn nôd pe baent yn wirionedd, ni ddylid eu sibrwd wrth yr ieuanc o gwbl, nag wrth neb arall ond mewn dirgelwch a chyda'r cyflwyniad o aberth mwy na chyffredin. Beth dybyga y darllenydd o syniadau yr athronydd paganaidd hwn am y Goruchaf?

"Cywir, meddai; ond pa rai ydyw y cynlluniau hyn gyda golwg ar dduwinyddiaeth?—Rhywrai cyffelyb i'r hyn a ganlyn, meddwn innau; yn ddiammheu fe ddylid desgrifio Duw fel y mae, os mŷn neb gânu am dano mewn arwrgerdd, neu odlau, neu dreisgân.—Dylid.—Wel, onid da ydyw Duw, ac onid felly y dylid llefaru am dano?—Dïau hyny.—Ond nid oes dim da yn niweidiol, a oes?—Ymddengys i mi nad oes. Ac felly, nid yw y da yn gwneyd niwed i neb.—Nag ydyw.—Ond a ydyw yr hyn na wna niwed i neb yn gwneyd drwg?—Nag ydyw.—Ond a all yr hyn na wna ddrwg fod yn achos o unrhyw ddrwg?—Pa fodd y gallai hyny fod?—Beth, ynte, a ydyw y da yn gymwynasgar?—Ydyw.—Gan hyny, efe yw achos llwyddiant?—Ië.—Am hyny, nid ydyw y da yn achos o bobpeth, ond yn achos o'r hyn sydd ffodus ac heb fod yn achos o ddrygau.—Yn hollol felly.—Wel, meddwn innau, gan fod Duw yn dda, nis gall fod yn achos o bobpeth, fel y dywed y lliaws, ond yn achos o ychydig o bethau a ddygwydd i ddynion, ac heb fod yn achos o lawer o bethau; canys y mae ein pethau da yn llawer prinach na'n pethau drwg; ac nid ydym i brïodoli ein pethau da i neb arall ond Duw, tra y dylid chwilio am ryw achosion eraill o'n pethau drwg, ac nid Duw.—Ymddengys i mi eich bod yn dyweyd yn hollol gywir.

* * * * * *

"Ac os cân unrhyw fardd, mi a ofynais, am ddyoddefiadau Niobe, a hiliogaeth Pelops, neu am ryfel Troia, neu unrhyw amgylchiad arall cyffelyb, un ai ni ddylid caniatâu iddynt ddyweyd mai gweithredoedd Duw ydynt, neu, os gweithredoedd Duw ydynt, dylent chwilio am ryw reswm drostynt, tebyg i'r hwn yr ydym ni yn awr yn ei geisio, a dylent ddyweyd fod Duw wedi gwneyd yr hyn sydd gyfiawn a da, a bod y dynion hyny yn cael eu ceryddu er eu lleshâd; ond ni ddylid caniatâu i'r bardd ddyweyd fod y rhai a gosbir yn druenus, ac mai Duw oedd awdwr y gosb. Os dywedant, gan y gwelwn fod y drygionus yn druenus, fod angen am eu ceryddu, a'u bod yn derbyn lleshâd trwy gael eu cosbi gan Dduw, hyn a ganiatëir; ond os dywed neb fod Duw, ac efe yn dda, yn achos o ddrwg i unrhyw ddyn, rhaid i ni ymladd ymhob modd yn erbyn caniatâu i neb ddyweyd y fath beth yn ei ddinas ei hun, os mŷnwn iddi gael ei hiawn lywodraethu, nac i neb, na hen nac ieuanc, glywed hyny, pa un bynag ai mewn prydyddiaeth ai mewn rhyddiaeth y traethir ef, gan mai pethau ansanctaidd i'w traethu ydynt, ac anfuddiol i ninnau, ac anghyson â'u gilydd.—Mi a roddaf fy mhleidlais, meddai yntau, dros y gyfraith hon, ac y mae wrth fy modd.—Gan hyny, hon a fydd un o'r cyfreithiau a'r cynlluniau yn ol pa un y bydd yn weddus i siaradwyr lefaru, ac i'r beirdd gânu, sef nad ydyw Duw yn achos o bobpeth, ond yn unig o'r hyn sydd dda.—Yr wyf yn hollol foddlawn.

"Ond beth, meddwn innau, am yr ail gyfraith a ganlyn? A ydych chwi yn meddwl mai dewin ydyw Duw, ac y gall yn fwriadol ymddangos mewn gwahanol ffurfiau, ar wahanol adegau, weithiau trwy ddyfod ei hunan, a newid ei ffurf ei hun i ddulliau lawer, weithiau trwy ein twyllo, a pheri i ni dybied hyny am dano? Neu, ynte, a ydych chwi yn meddwl ei fod ef yn syml, ac yn fwy annhebyg na phawb i ymadael â'i ffurf ei hun?"

Wedi cael gan ei gyfaill gydnabod na wna y duwiau newid eu ffurf, â Socrates ymlaen fel y canlyn:—

"Ond er nad yw y duwiau y fath ag i newid eu hunain, a barant hwy i ni feddwl eu bod yn ymddangos ymhob lluniau, gan ein twyllo â dewiniaeth?—Fe allai y gwnant.—Beth? meddwn innau; a fyddai duw yn foddlawn i ddyweyd neu weithredu anwiredd trwy osod rhith o flaen ein llygaid?—Nid wyf yn gwybod.—Oni wyddoch fod yr anwiredd gwirioneddol, os gallaf ddefnyddio y fath ymadrodd, yn adgas gan dduwiau a

dynion?—Pa fodd y dywedwch?—Fel hyn; nad oes neb yn foddlawn i ddyweyd anwiredd â'r rhanau uchaf ynddo ei hun, ond fod pawb yn ofni yn fwy na dim feddu anwiredd *yno?*—Nid wyf eto yn deall.—Yr ydych yn meddwl fy mod yn llefaru rhywbeth mawr anghyffredin. Ond dywedyd yr wyf fod i ddyn dwyllo neu gael ei dwyllo, neu fod yn anwybodus *yn ei enaid* ac ynghylch y pethau ag sydd yn bod, ac iddo yno gadw a meddu anwiredd, yn beth y byddai pawb yn dra anmharod i'w oddef; ac mewn man cyffelyb i'r enaid y mae anwiredd yn enwedig yn adgas.—Ydyw y mae yn enwedigol felly.—Ond, ymhellach, yn hollol gywir y gelwid yr hyn y soniais yn awr am dano yn anwiredd gwirioneddol, sef anwybodaeth yn yr enaid o'r hyn y mae yr anwiredd yn ei wadu (hyny yw, gwirionedd); oblegid nid yw yr anwiredd ag sydd mewn geiriau ond dynwarediad ac eilun o'r nwyd flaenorol ag sydd yn yr enaid, ac nid anwiredd hollol ddigymysg, onidê?—Yn hollol felly.—Ac y mae yr anwiredd gwirioneddol yn adgas, nid yn unig gan y duwiau, ond hefyd gan ddynion? Felly yr ymddengys i mi.—Beth ynte?—Ar ba achlysur ac i bwy y mae yr anwiredd ag sydd mewn geiriau yn fuddiol, fel na haeddo gael ei gasâu?—Ai nid i wynebu ein gelynion, neu, fel physigwriaeth, i droi y rhai a elwir yn gyfeillion i ni oddiwrth eu bwriad, pan yr amcanant mewn gwallgofrwydd neu ryw ynfydrwydd wneyd niwed o ryw fath i ni, ai nid dyna'r pryd y mae efe yn fuddiol? Ac yn y chwedlau am y duwiau ag yr oeddym yn awr yn son am danynt, ai nid am ein bod, o herwydd ein hanwybodaeth o'r hyn sydd wirionedd gyda golwg ar yr hen amseroedd, yn llunio yr anwiredd mor debyg ag sydd modd i'r gwirionedd, y cawn ef yn fuddiol?—Yn ddiammheu hyny.—Am ba un o'r rhesymau hyn, gan hyny, y mae anwiredd yn fuddiol i Dduw? A wnai efe ddywedyd anwiredd er mwyn dyfod cân agosed ag sydd modd at y gwir, o herwydd ei anwybodaeth o'r hen amseroedd?—Ynfydrwydd a fyddai tybied hyny.—Gan hyny, nid oes dim o'r bardd anwireddus yn Nuw.—Ymddengys i mi nad oes.—Ond a ddywedai efe anwiredd am ei fod yn ofni ei elynion?—Pell ydwyf oddiwrth feddwl hyny.—Neu o herwydd ynfydrwydd neu wallgofrwydd ei gyfeillion?—Ond, meddai yntau, nid oes neb o'r ynfydion a'r gwallgofiaid ymhlith cyfeillion Duw.—Os felly, nid oes un amcan er mwyn yr hwn y dywedai Duw anwiredd.—Nac oes.—Gan hyny, y mae y natur Ddwyfol ymhob modd yn wrthwyneb i anwiredd.—Ymhob modd.—Ac y mae Duw yn berffaith syml a gwirioneddol mewn gweithred ac ar air, ac nid yw nac yn cyfnewid ei hunan nac yn twyllo eraill, na thrwy rithymddangosiad nac mewn geiriau na thrwy anfon argoelion mewn breuddwydion neu yn effro?—Felly yr ymddengys i mi, meddai; a dyna fy meddwl ar ol eich clywed.—Yr ydych chwi, gan hyny, yn cyttuno, meddwn, i hwn fod yr ail gynllun, yn ol pa un y dylid llefaru a chânu am y duwiau, sef nad dewiniaid ydynt hwy, i gyfnewid eu hunain nac i'n camarwain ninnau trwy anwireddau mewn gair neu weithred.—Yr wyf yn cyttuno.""

Drachefn, rhaid gwahardd y beirdd i ddarlunio y byd anweledig fel y gwna Homer, yr hwn a ddesgrifia eneidiau y meirw yn hofran yn ol ac ymlaen ar hyd y ddaear fel tarth neu yn trydar fel y gwna ystlumod pan y syrth un o honynt oddiwrth nen yr ogof lle yr ymdyrant yn rhynllyd at eu gilydd. Ni wna y desgrifiadau hyn i'n milwyr ddewis marw yn hytrach na gadael i'r gelynion eu cymeryd yn gaethion rhyfel, ond cynnyrcha ynddynt arswyd marwolaeth ag sydd yn annheilwng o ddyn da. Nid gwiw, ychwaith, ydyw desgrifiadau y beirdd o'r duwiau a'r hen wroniaid fel yn nwydwyllt, yn anwir, yn ddialgar, yn ariangar, yn anghymedrol, yn ymroddi i dristwch gormodol, neu yn ymgolli mewn chwerthiniad ynfyd. Wedi hyn, esgymunir pob math o gerddoriaeth, ond yn unig y tônau a'r offerynau cerdd ag a dueddant trwy eu symledd a'u prydferthwch i gynnyrchu cynghanedd yn yr enaid a chariad at yr hyn sydd hardd yn y byd ysbrydol. Yr un amcan a ddylai fod mewn golwg genym wrth sefydlu y campau ag sydd i'w harfer tuag at ddysgyblu y corff. Gwaherddir pob math o foethau a danteithion, fel na byddo angen yn ein dinas ni am na meddygon na chyfreithwyr; oblegid cywilydd i ddyn ydyw prynu cyfiawnder gan gyfreithiwr am fod prinder o hóno gartref, a ffolineb ydyw iddo fyw am

amser maith i wneyd dim ond rhwymo ei ben a suo i'w afiechyd a gwneyd cors o'i gyfansoddiad, trwy fod byth a hefyd yn drachtio o botelau y meddyg, yn lle myned at ei orchwyl ac ymiachâu, neu, os nad all ymysgwyd felly oddiwrth ei drallod, ymostwng i'r meddyg hwnw a rydd derfyn ar ein holl boenau.

Dyna gynllun Plato i fagu gwŷr glew i fod yn Filwyr ac yn Geidwaid yn y wladwriaeth. Têg yw i'r darllenydd gadw mewn cof mai chwilio yr ydym hyd yma am gyfiawnder, ac na ddaethom eto o hyd iddo. Ond yr un peth ydyw hyny â chwilio am athroniaeth. Nid amcenir, gan hyny, i'r cynllun hwn o addysg fod yn athronyddol, yr hyn nis gall fod hyd oni ddeuwn o hyd i'r egwyddor neu y drychfeddwl, yr hwn ydyw maen clo yr holl wladwriaeth. Pe caem hamdden ar ryw adeg arall i arwain y darllenydd trwy ranau olaf y traethawd, ni a welem yno y cynllun athronyddol, yr hwn sydd yn cydnabod fod mewn dyn alluoedd ac egwyddorion cyffelyb i'r natur Ddwyfol. Ond yn y cynllun y rhoddasom fraslun o hóno, yr unig alluoedd a gydnabyddir mewn dyn ydyw y rhai a welir mewn rhai crëaduriaid direswm, yn enwedig yn yr "athronydd" bach sydd yn gwylied y tŷ ac yn rhedeg ar ol y ddafad grwydredig. Yn hyn y mae Plato yn hollol drefnus a chyson âg ef ei hun. Nid ydyw eto ond yn esgyn oddiwrth yr hyn a wêl yn y byd ac yn y natur ddynol. Gorphwysa ei holl gasgliadau ar *induction.* Ni ddyrchafodd eto i fyd y deddfau angenrheidiol a'r drychfeddyliau tragywyddol. Ni chodwyd y llên oddiar yr ysbrydol. Ac yr ydym yn credu, gyda Plato, fod yn rhaid i ni orphwys ar sylfaen rhyw egwyddorion ysbrydol a digyfnewid cyn y gallwn ganfod y dwyfol mewn dyn, na gweled dim gwahaniaeth gwirioneddol rhwng dyn a'r anifail.

Ond ai nid ydyw Plato, bellach, yn alluog i ateb y gofyniad gyda'r hwn y cychwynodd ar ei hynt, sef, Pa beth yw Cyfiawnder? Y mae yn eglur, o'r hyn lleiaf, ein bod erbyn hyn wedi dyfod i gymydogaeth rhinwedd. Golyga Plato ei fod ef wedi tynu darlun o wladwriaeth berffaith dda pan y gesyd i lawr y cynllun yn ol yr hwn y dylid addysgu y llywodraethwyr. Sefydliad athrofäol ydyw y wladwriaeth oreu, ac amcan yr addysg a roddir ynddi ydyw cymhwyso goreuon y dinasyddion i lywodraethu a'r lleill i ufuddhâu. Ond rhinwedd y gelwir cymhwysder dyn i gyflawni ei waith priodol ei hun. Perffeithrwydd y wladwriaeth, gan hyny, ydyw ei bod yn gartrefle rhinwedd. Ac os cywir ein syniad am natur oruchel y wladwriaeth, gallwn ddysgwyl fod pob rhinwedd yn trigo o'i mewn. Yn awr, mewn trefn i ddyfod o hyd i eisteddle cyfiawnder, bydd yn fanteisiol i ni ofyn, Pa sawl rhinwedd sydd? Etyb Plato y gellir olrhain yr holl ragoriaethau moesol a berthyn i'r wladwriaeth i bedwar prif rinwedd, sef Doethineb, Gwroldeb, Cymedroldeb, a Chyfiawnder.* Mae yn hawdd gweled mai rhinwedd a berthyn yn

* Dyma y waith gyntaf i'r dosbarthiad enwog hwn ymddangos mewn athroniaeth. Dywed Plato iddo ei glywed gan lawer eraill; ond gan bwy nis gwyddys. Fe allai nad ydyw tŷb Schleiermacher ymhell o fod yn gywir, fod y dosbarthiad hwn o'r rhinweddau yn ffynu yn anmhenodol o'r blaen, megys ar lafar gwlad, ac mai Socrates a'i dygodd i sylw mwy neillduol. Wedi hyny ennillodd dderbyniad gan Cicero (*"Cardinales virtutes"*), a thrwyddo ef y trosglwyddwyd ef i lawr fel dosbarthiad athronyddol hyd ein dyddiau ni. Gwêl Grote: *"Plato"* &c., Cyf. II. tu dal. 162. Sylwa Zeller (Cyf. II. tu dal. 567), na chyfarfyddir â'r dosbarthiad hwn o'r rhinweddau yn holl ymddyddanion Plato, ond yn unig yn y rhai hyny a ysgrifenodd yn y rhan olaf o'i oes.

arbenig i'r Ceidwaid ydyw doethineb, gan mai eu gwaith hwy ydyw llywodraethu. Nid llai eglur mai rhinwedd y Milwyr ydyw gwroldeb, gan mai hwy sydd i ymladd ein brwydrau ac amddiffyn ein dinas. Cydnabydda pawb hefyd mai rhinwedd y Werin ydyw cymedroldeb, i'r rhai ni pherthyna un rhinwedd cadarnhäol, ond yn unig y rhinwedd nacäol o ufuddhâu ac ymostwng. Nid ydym i olygu wrth hyn oll nad oes gan bob dosbarth ond un rhinwedd. Mae rhai wedi syrthio i'r amryfusedd o dybied fod Plato yn cyfyngu pob rhinwedd i ddosbarth neillduol, a'i fod trwy hyny yn anghyson âg ef ei hun, gan ei fod ar ol hyn yn chwilio am gartrefle pob un o'r rhinweddau hyny yn y dyn unigol, o'r hwn y mae yr holl wladwriaeth yn gynllun. Ond gellid meddwl fod golygiad Plato yn ddigon eglur ac yn hollol gyson. Perthyna i bob dosbarth o'r dinasyddion un rhinwedd priodol iddo ei hun, yn ol ei le a'i swydd yn y wladwriaeth; ond ar yr un pryd mêdd pob dosbarth uwch, yn ychwanegol, holl rinweddau pob dosbarth îs. Doethineb ydyw rhinwedd arbenig, neu, os goddefir y gair, rhinwedd swyddogol y Ceidwaid; ond eto dylai y Ceidwaid fod yn wrol ac yn gymedrol yn gystal â doeth. Drachefn, gwroldeb ydyw rhinwedd priodol y Milwyr, ond rhaid iddynt hwythau fod yn gymedrol yn gystal â gwrol, er nad oes angen am iddynt fod yn ddoeth. Am y Werin, digon iddynt hwy fod yn gymedrol, ac ni ddysgwylir cael ynddynt ddoethineb na gwroldeb. Fe allai y gall hyn egluro i ryw raddau ddywediad Plato fod cymedroldeb yn perthyn i bob un o'r dosbarthiadau yn y wladwriaeth, yr hyn nid yw yn bod gyda golwg ar y rhinweddau eraill.

Ond y mae eisieu rhinwedd arall heblaw y tri hyn. Perthyna pob un o honynt hwy i un dosbarth o'r dinasyddion ar wahân. Y mae arnom angen rhinwedd ychwanegol i gyfuno yr holl ddosbarthiadau a'u gwneyd yn un wladwriaeth. Y cymundeb gwladwriaethol sydd yn rhoi bôd i'r rhinweddau a enwyd. Ond rhaid i ni wrth rinwedd arall, yr hwn a rydd fôd i'r cymundeb gwladwriaethol ei hunan, ac ar yr hwn yr ymddibyna ei barhâd. Y wladwriaeth a ddadblyga ddoethineb yr athronydd ar y cyntaf, hyd nes yr esgyna trwy y wladwriaeth uwchlaw iddi i fyd y drychfeddyliau. Y wladwriaeth a rwystra wroldeb y Milwr i droi yn greulondeb. Y wladwriaeth yn unig a geidw yn fyw y rhinwedd o gymedroldeb yn y werin. Y mae yn eglur, gan hyny, nas gall un o'r rhinweddau hyn sefydlu a chynnal yr undeb gwladwriaethol, o'r hwn y derbyniant eu bywyd eu hunain. Mae yn wir fod cymedroldeb yn rhedeg trwy yr holl ddosbarthiadau. Ond, er hyny, nis gall ffurfio cwlwm undeb y wladwriaeth, am ddau reswm; yn un peth, rhinwedd nacäol ydyw ar y goreu, ac, heblaw hyny, gwrthddrych cymedroldeb pob dyn neu bob dosbarth o ddynion ydyw y dyn neu y dosbarth hwnw ei hunan, ac nid eraill. Wedi curo y twmpathau fel hyn yn hir, gwaedda Socrates yn ddisymwth, "Hoi! hoi! dyma ôl y pryf yn ddigon siŵr!" A ydym wedi anghofio y pedwerydd rhinwedd, cyfiawnder? A pha enw cymhwysach ellid ei gael ar y rhinwedd hwnw ag sydd yn cyfuno yr holl ddosbarthiadau yn y wladwriaeth na'r enw cyd-iawnder? Daethom o'r diwedd o hŷd i'r rhinwedd y buom er y dechre yn chwilio am dano. Cyttunwn, bellach, mai wrth gyfiawnder y dylid golygu y drychfeddwl o drefn. Hwn ydyw yr un yn y llawer. Hwn ydyw y cysondeb a'r cynghanedd, heb yr hwn y mae pob peth yn syrthio oddiwrth eu gilydd

neu yn ymddyrysu mewn cymysgfa. Y mae y drychfeddwl hwn ar unwaith yn dwyn yr undeb gwladwriaethol i fôd ac yn ei gadw mewn bôd. Edrycha cyfiawnder ar wrthddrychau oddiallan, a phâr fod pob dyn yn gorfod dadleu o blaid ei gyd-ddynion, yn ei erbyn ei hunan, ac o flaen brawdle ei gydwybod ei hun. Y ffordd yr una cyfiawnder ddynion â'u gilydd ydyw trwy uno yr holl rinweddau â'u gilydd. Heb hwn y mae cymdeithas a dynoliaeth yn dryblith, oblegid heb hwn nid yw un rhinwedd yn rhinwedd. Cyfiawnder a bâr fod doethineb y llywodraethwr yn ddoethineb, a gwroldeb y milwr yn wroldeb, a chymedroldeb y werin yn gymedroldeb. Cyfiawnder ydyw y cwmpawd a esyd y Crëawdwr ar y diderfyn, nes crëu trefn, a chysondeb, a phrydferthwch o ganol y dyfnder gwâg ac afluniaidd. Dyma y drychfeddwl yr oedd Pythagoras, cyn amser Plato, yn ymbalfalu am dano, pan y dywedai mai yr un peth ydyw y diderfyn a'r drwg, ac mai yr un peth ydyw y terfyn a'r da; a dyma y drychfeddwl a fenthyciodd Aristotle gan Plato, pan y darnodai rinwedd fel "y canol rhwng dau eithaf." Dadblygiad o'r un drychfeddwl oedd golygiad y Stoiciaid, fod yr holl grëadigaeth weledig yn gyfundrefn gyson a phrydferth, ac mai rhinwedd mewn dyn ydyw ei fod yn cymeryd ei le ei hun yn y gyfundraeth hono ac yn byw yn unol â natur.* Yr un peth oedd y syniad o gymesuredd, yr hwn oedd drychfeddwl arbenig y Groegiaid. Hyn sydd yn egluro ystyr y cynllun yn ol yr hwn yr addysgai Plato Geidwaid ei wladwriaeth. Canys pa beth ydyw cerddoriaeth i feithrin galluoedd yr enaid, a champau i ddadblygu adnoddau y corff, ond y drychfeddwl o gymesuredd neu gyfiawnder yn cael ei gario allan i weithrediad yn addysg y dinasyddion? Ac ni a welwn, bellach, paham y gosodai Plato i lawr ei gynllun addysgiadol mor fanwl cyn hysbysu i ni ei ddarnodiad o gyfiawnder; oblegid trwy roddi esiampl, megys o'r peth ei hun, parotöai y darllenydd i amgyffred a chroesawu ei ddarnodiad o hóno. Os deuwn i lawr hyd at ysgrifenwyr yr oesoedd diweddaraf hyn, yr un peth a olygir wrth yr amrywiol ymadroddion a ddefnyddir ganddynt hwythau i osod allan mai deddf anghyfnewidiol ydyw rhinwedd, ac nid mympwy a nwyd. Mewn gair, yn ol golygiad Plato, darnodiad o rinwedd ydyw cyfiawnder. Nid yn unig y mae cyfiawnder yn un o'r rhinweddau, a'r penaf o honynt, ond cyfiawnder ydyw rhinwedd, ac i'r graddau y cyfranoga pob rhinwedd arall o'r cymesuredd a'r prydferthwch moesol a elwir yn gyfiawnder, i'r graddau hyny yn unig y maent yn rhinweddau o gwbl.

Os y drychfeddwl o drefn neu gymhwysder ydyw cyfiawnder yn y wladwriaeth, pa beth ydyw yn y dyn unigol? Gan fod y wladwriaeth yn gynllun o'r dyn mewn "ysgrifen frâs," ni a ddysgwyliem ganfod yn yr olaf yr un llywodraeth a threfn ag a welir yn y cyntaf. Ac nid ofer ein dysgwyliad. Y mae enaid dyn yn wladwriaeth fechan a pherffaith yn nghanol gwladwriaeth fawr y ddinas. Er nad yw y dyn unigol yn bod mewn gwirionedd ond fel rhan o'r ddinas, eto y mae delw yr oll ar bob rhan, fel y mae pob ffenestr ar gynllun yr holl adeilad, neu fel y dywedir fod y ddeilen o'r un ffurf â'r rhywogaeth hwnw o goed i ba un y perthyna. Ac megys y gwanychir y wladwriaeth oreu yn y byd

*Y mae yn werth i'r darllenydd sylwi, wrth basio, mai cyfundraeth y byd, neu y grëadigaeth, yn gyffredinol a olygai y Stoiciaid wrth y gair "natur," ac nid y natur ddynol. Gwel *Maine* ar "*Ancient Law*."

hwn gan gryfder egwyddorion gwrthwyneb, felly y llygrir yr enaid yn ddirfawr trwy ei garchariad yn y corff. Ynddo ei hun y mae yr enaid yn bur ac yn debyg i'r natur Ddwyfol. Ei breswyliad yn y corff ydyw yr achos o'i anwybodaeth, ei nwydau ansanctaidd, a'i drueni. Cyffelyb ydyw i'r môr-dduw Glaucus, yr hwn nis gall y llygad adwaen mwyach ei natur gyntefig, gan fel y cleisiodd ac y drylliodd y tònau ei hen aelodau, ac y glynodd cregyn, a cheryg, a chwŷn y môr wrtho, nes ei wneyd yn debycach i fwystfil nag i un o'r duwiau. Drachefn, fel y mae presennoldeb llygredigaeth yn y wladwriaeth yn peri fod dosbarthiad triphlyg o'r dinasyddion yn anghenrheidiol, felly y cynnyrcha trigiad yr enaid yn y corff alluoedd newyddion nad yw yr enaid, cyn ei garchariad, mewn angen am danynt. Prïodola Plato, gan hyny, i'r enaid ran farwol a rhan anfarwol. Yr unig gynneddf neu "ran" a berthyn i'r enaid yn anfarwol a hanfodol ydyw rheswm. Yn wir, ar ei fod yn meddwl yr ymddibyna hanfodiad a pharhâd diddiwedd â dedwyddwch yr enaid. Ond pan y gosodir ef yn ngharchar y corff, tŷf ynddo alluoedd eraill, y rhai a gynnyrchir gan lygredigaeth, ac, ar yr un pryd, a fwriedir i wrthweithio y llygredigaeth hwnw; o herwydd y mae yn ddeddf a osododd y Crëawdwr da ymhob peth byw fod y peryglon a'r drygau a'i cyfarfydda yn rhoddi bôd i alluoedd ynddo i amddiffyn ei hun yn eu herbyn; ymdrecha natur, fel y ffynnon, lanhâu ei hun. Y galluoedd ychwanegol hyn yn yr enaid ydyw eiddigedd a chwennychiad. Gwaith y chwennychiad ydyw dymuno yr hyn oll sydd hawddgar a hyfryd; swydd eiddigedd ydyw cynnorthwyo y rheswm i lywodraethu a darostwng y chwantau. Canfyddir, gan hyny, yn y dyn unigol dair ran neu gynneddf, y rhai sydd yn cyfateb i'r tri dosbarth yn y wladwriaeth. Ar gyfer y Ceidwaid athronyddol yn y ddinas y saif y rheswm yn y dyn unigol; yr hyn ydyw y Milwyr yn y ddinas, hyny ydyw yr eiddigedd yn y dyn unigol; ac i'r Werin yn y wladwriaeth y cyfetyb y chwennychiad yn yr enaid. O ganlyniad, perthyna i'r enaid yr un rhinweddau ag a ganfyddir yn y wladwriaeth. Doethineb athronyddol ydyw rhinwedd y rheswm; gwroldeb neu yni ydyw rhinwedd yr eiddigedd; cymedroldeb ydyw rhinwedd y chwennychiad. Ac fel y rheola ac y cysona cyfiawnder y tri dosbarth yn y wladwriaeth, felly y mae yn rhaid i ni wrth yr un gallu i gynnyrchu trefn, a chynghanedd, a phrydferthwch yn yr enaid. Cyfiawnder ydyw cwlwm undeb a chyflawnder y byd moesol. Buasai pob rhinwedd arall yn dinystrio ei hun, pe na bae fod cyfiawnder yn ei gadw dan reolaeth. Yr hyn a elwir weithiau yn ddeddf foesol neu yn drefn y llywodraeth Ddwyfol, hyny a eilw Plato yn gyfiawnder. Ni a welwn, gan hyny, pa fodd y mae athroniaeth foesol Plato yn arwain yn uniongyrchol i dduwinyddiaeth yr Eglwys Gristionogol, a pha fodd y gellir tŷnu allan o arfdŷ yr athronydd paganaidd hwn resymau cedyrn o blaid yr athrawiaeth a gredir yn gyffredin yn ein mysg fod yn Nuw gyfiawnder yn gystal â thrugaredd, yr hyn a bâr fod yn rhaid cael iawn tuag at wneyd maddeuant yn ddichonadwy.

Ond rhaid i ni ymattal, ac, yn wir, ar hyn o bryd, adael yr holl ymdrafod ynghylch Plato a'i athroniaeth. Y mae tiriogaethau ëang a brâs eto o'n blaen. Ni chawsom ond cyffwrdd â'r "drychfeddyliau" y sonir cymaint am danynt. Ond gobeithiwn na fu ein hymdrech yn gwbl ddieffaith i godi awydd mewn rhai o'n darllenwyr i wybod mwy am dywysog yr holl

athronwyr, yr hwn y gallem bron ei alw yn gristion cyn Cristionogaeth.

O.Y.—Gofynwyd i ni fwy nag unwaith pa gyfieithiad o "Wladwriaeth" Plato ydyw y goreu. Nid ydym yn petruso dyweyd mai y goreu o lawer ydyw cyfieithiad Davies a Vaughan. Daeth argraffiad rhad o hono allan yn ddiweddar yn y "*Golden Treasury Series*," a gyhoeddir gan Macmillan. Cyhoeddwyd cyfieithiad gan Bohn, pe bae yn deilwng o'r enw. Ond nid cyfieithu a wna yr awdwr, ond llarpio a llofruddio yr hen athronydd yn ddidrugaredd. O bob peth truenus, dyma y truenusaf. Os dymuna y darllenydd ddarllen y "Wladwriaeth" yn yr iaith wreiddiol, yr argraffiad goreu ar y cyfan y gwyddom ni am dano ydyw yr un a olygwyd gan y dysgedig Stallbaum.

---

# MOSES.

DDARLLENYDD, nid Moses fel person yr ydym yn bwriadu traethu arno yn hyn o ysgrif, ond goruchwyliaeth Moses—neu "y gyfraith a roddwyd trwy Moses." Yr ydym felly yn arfer y gair yn yr un ystyr ag yr arfera yr Apostol Paul ef yn 2 Cor. iii. 15, pan y sonia am "ddarllen Moses." Yr ydym mewn ysgrif flaenorol wedi traethu ar y cyfnod "O Adda hyd Moses," ac wedi cael allan, dybygem, fod pob trafodaeth fu rhwng Duw â'r ddaear yn y cyfnod hwnw yn troi ar ddau begwn—*Hâd* ac *Etifeddiaeth*—pa rai, yn y cyfammod âg Abraham, a ddaethant yn eglur i osod allan *Grist* a'r *Nefoedd*. Gwelsom hefyd fod yr eglwys yn y cyfnod hwnw mewn ystâd fabanaidd, yn rhy ieuanc i'w gosod dan reolau manwl, dim ond ychydig o brif osodiadau, wedi eu sefydlu trwy *esiampl* Duw yn hytrach na thrwy ei *orchymyn*. Yn awr, o dan oruchwyliaeth Moses, "daeth y gorchymyn;" y mae yr eglwys yn dyfod ymlaen i gyfnod pan ei gosodir yn hollol "dan ddeddf." Y mae hi yn cael ei dwyn i'r *etifeddiaeth* gysgodol, ac y mae y ddeddf yn cael ei rhoddi iddi yn "Athraw at Girst."

Er fod yr Arglwydd wedi addaw gwlad Canaan yn etifeddiaeth i Abraham, ac i'w hâd ar ei ôl, eto ni chafodd efe feddiant ar "gymaint a lled troed"—dim ond a brynodd efe am ei arian yn "feddiant beddrod"—ond hysbyswyd iddo gan Dduw fel hyn: "Dy hâd di a fydd yn ymdeithydd mewn gwlad ddyeithr, a hwy a'i caethiwant ef, ac a'i drygant, bedwar can' mlynedd." Yn amser Jacob ei ŵyr, cyflawnwyd y rhagfynegiad hwn. Gweithiodd rhagluniaeth dröellog ei chynllluniau o amgylch nes dwyn "Israel i'r Aipht, a Jacob i ymdaith yn nhir Ham." Yr oedd y genedl ar y pryd yn rhifo "pymtheg enaid a thriugain." Am y blynyddoedd cyntaf cawsant bob cysur yn yr Aipht ar gyfrif Joseph, y gŵr, er ei werthu yn gaethwas, "a anfonwyd o'u blaen hwynt," i waredu y wlad rhag newyn; ar ba gyfrif cafodd ffafr, doethineb, a hawddgarwch, yn ngolwg Pharaoh, ac yn ngolwg yr Aiphtiaid, nes ei ddyrchafu yn llywydd ar holl wlad yr Aipht. Ond ymhen amser, "cyfododd brenin arall yn yr Aipht, yr hwn nid adwaenai mo Joseph," ac yna drygwyd a

gorthrymwyd y genedl; gwnaed hwynt yn gaethweision yn ngwasanaeth y priddfeini—dyblwyd eu tasgau—ychwanegwyd eu caledi, nes y daeth eu "llefain hwy i glustiau Arglwydd y lluoedd."

Yn ol amser yr addewid, ymhen pedwar cant a deng mlynedd ar hugain, cofiodd yr Arglwydd ei gyfammod âg Abraham, ymwelodd â'i bobl, clywodd eu gwaedd hwynt o achos eu meistriaid gwaith, a disgynodd i'w gwaredu hwynt o gaethiwed caled yr Aipht, a'u dwyn i "wlad yr addewid." Yr oedd Moses erbyn hyn wedi ei barotôi a'i gymhwyso i fod yn arweinydd i'r genedl. Yr oedd y gwaith yn fawr iawn, ac yn gofyn cymhwysderau mawrion i'w gyflawni; ond yr oedd yr Arglwydd wedi gofalu am ddigon o ysgol iddo, i'w gymhwyso at y gwaith. Bu am y deugain mlynedd cyntaf o'i oes yn cael ei ddysgu "yn holl ddoethineb yr Aiphtiaid," ar gôst y llŷs, fel "mab merch Pharaoh." Ac yr oedd yr Aipht yn brif eisteddle dysgeidiaeth y byd ar y pryd hwnw. Yma y dysgodd ysgrifenu a chyfrif—y gwyddorau a'r celfyddydau. Ac onid wyt ti yn tybied, ddarllenydd, nad allesid ei raddio erbyn hyny yn Athraw yn y Celfyddydau? Ië, onid oedd erbyn hyn agos gystal ysgolhaig â'r Esgob Colenso, yr hwn sydd yn ei gyhuddo o anfedrusrwydd dirfawr mewn ffigyrau? Ond, er iddo gael cymaint o ysgol yn yr Aipht, nid oedd wedi cael digon eto i fod yn arweinydd cymhwys i'r genedl. Yr oedd ef â'i lygaid ar y gwaith tra yn aros yn llŷs Pharaoh, a thybiodd, erbyn ei fod yn "llawn deugain mlwydd oed," ei fod yn barod i'r gwaith; "daeth i'w galon ymweled â'i frodyr," a thybiodd eu bod yn "deall fod yr Arglwydd yn rhoddi iachawdwriaeth iddynt trwy ei law ef." Ond nid oedd amser Duw wedi dyfod eto; ac nid oedd yntau yn barod, er ei holl ddysgeidiaeth, i ymaflyd yn y gwaith. Daeth gormod o brysurdeb, os nad peth balchder, "i'w galon." Bu raid ei anfon am ddeugain mlynedd arall i dir Midian, i fugeilio defaid; ac er cymaint a ddysgodd yn yr Aipht, dysgodd lawn cymaint yn nhir Midian; dyma ysgol natur—ysgol profiad—ysgol y myfyrdodau dyfnion, dwysion, yn yr anialwch, ac ar y mynydd—yma y dysgodd amynedd a goddefgarwch. Yr oedd y gofal a'r drafferth a gafodd gyda llawer dafad farus yn ei gymhwyso i fod yn fugail ac yn arweinydd ei genedl anhywaeth. Yr oedd Moses erbyn hyn "y llarieiddiaf o'r holl ddynion oedd ar wyneb y ddaear," ac nid yn "darawydd" fel yr oedd pan ddaeth allan o ysgolion yr Aipht. Dyma ddyn wedi bod bedwar ugain mlynedd mewn athrofa yn parotôi at waith "deugain mlynedd,"—dwy ran o dair o'i oes yn cael eu treulio i'w gymhwyso at waith y drydedd ran. Buom cyn hyn yn meddwl fod llawer o honom ni yn yr oes hon yn rhy *frysiog* i ddyfod yn ddefnyddiol—yn rhy awyddus i ymaflyd mewn gwaith cyn bod yn gymhwys i'w gyflawni. Bu Crist yn Nazareth am flynyddau cyn dechreu "myned oddi amgylch gan wneuthur daioni"—bu Ioan yn anialwch Judea—bu Saul yn anialwch Arabia. Ac y mae y dyn ieuanc sydd yn medru fforddio myned i'r anialwch; anialwch rhif a mesur—anialwch y gwyddorau a'r celfyddydau—anialwch y Groeg a'r Lladin—anialwch y myfyrdodau a'r ymchwiliadau—ac yn enwedig anialwch "Mynydd Duw"—y mae y dyn ieuanc a gaffo yr amynedd hwn i fyned i'r anialwch, yn debyg o fod yn fwy defnyddiol yn y diwedd na'r hwn sydd yn brysio at *waith* yn hytrach nag yn llafurio am *gymhwysder* i'w gyflawni. Felly Moses.

Y Moses hwn a anfonodd yr Arglwydd i'r Aipht—wedi iddo ym-

ddangos iddo yn nhir Midian "mewn perth yn llosgi ac heb ei difa"—i arwain ei bobl allan. Ac wedi gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau yn yr Aipht, ar Pharaoh, ac ar ei weision, fe ddygwyd y genedl trwy y Môr Coch, ac i'r anialwch, yn rhifo—nid pymtheg enaid a thriugain—ond chwe' chan' mil o wŷr yn barod i ryfel, heblaw gwragedd a'phlant; ac yn llawn o gyfoeth yr Aiphtiaid. Fel y dywedodd Duw wrth Abraham, "A'r genhedlaeth yr hon a wasanaethant hwy a farnaf fi, ac wedi hyny y deuant allan â chyfoeth mawr." Mynodd ein Duw gyflog dda iddynt yn y diwedd, am eu llafur caled yn "nhŷ y caethiwed." Rhoddodd iddynt hawddgarwch yn ngolwg yr Aiphtiaid, fel yr echwynasant iddynt dlysau arian, a thlysau aur, a gwisgoedd, ac yr oedd ganddynt anifeiliaid lawer iawn.

Yn y trydydd mis wedi eu dyfod allan o'r Aipht, daethant i anialwch Sinai, wrth odreu mynydd Horeb, lle yr ymddangosasai Duw i Moses yn y berth, ac o ba le yr anfonodd yr YDWYF mawr ef i'r Aipht, i gyrchu ei bobl allan. Yno y mae Duw yn cynnyg myned i gyfammod â'r genedl. Nid *dirymu* yr hen gyfammod âg Abraham oedd hyn, ac nid ei *gadarnhâu* ychwaith. Yr oedd yr "insel" wedi ei osod ar hwnw, fel nad oedd lle i'r naill na'r llall. "Cŷd na byddo ond ammod dyn wedi cadarnhâu, nid yw neb yn ei ddirymu, neu yn dodi ato," Gal. iii. 15. Cyfammod arall ydyw hwn, sydd yn cael ei wneyd â'r genedl yn Horeb: "Yr Arglwydd ein Duw a wnaeth gyfammod â *ni* yn Horeb. Nid â'n tadau ni y gwnaeth yr Arglwydd y cyfammod hwn, ond â nyni; nyni y rhai ydym yn fyw yma heddyw," Deut. v. 2—5. Dyma y cyfammod a wnaeth yr Arglwydd eu Duw â hwynt, "yn y dydd yr ymaflodd yn eu llaw, i'w dwyn i fyny o dir yr Aipht;" cyfammod arall ydyw hwn, a "roddwyd yn ychwaneg" at gyfammod neu "yr addewid" i Abraham "hyd oni ddelai yr Hâd." Nid awn, ar hyn o bryd, i ymchwilio i natur cyfammod Sinai; dichon y cawn well mantais i hyny wedi yr elom ymlaen yn nês i ddiwedd ein taith yn hyn o ysgrif.

Galwyd Moses i'r mynydd at Dduw, lle y derbyniodd amlinelliad o'r cyfammod a gynnygiai Duw wneuthur â'r genedl, i'w osod ger bron y bobl, sef eu gwneyd yn drysor priodol iddo ei hun o flaen yr holl bobloedd—yn frenhiniaeth o offeiriaid, ac yn genhedlaeth sanctaidd. Wedi i Moses osod y telerau hyn ger bron henuriaid y bobl, yr holl bobl a gyd-atebasant, "Nyni a wnawn yr hyn oll a lefarodd yr Arglwydd." Wele hwy felly yn derbyn y telerau. "A Moses a ddŷg drachefn eiriau y bobl at yr Arglwydd." Yna y mae yn cael gorchymyn i sancteiddio—neillduo, neu gysegru—y bobl erbyn y trydydd dydd, a gosod terfyn o amgylch y mynydd, fel na byddai i ddyn nac anifail gyffwrdd â'r mynydd rhag eu lladd. "Os bwystfil a gyffyrddai â'r mynydd, efe a labyddir neu a wenir â phicell." Yna y disgynodd y Duw mawr ar y mynydd, mewn cwmwl a thywyllwch, gyda tharanau a mellt, a thân fflamllyd, a llef geiriau, a sain udgorn, nes oedd y bobl yn llewygu wrth yr olygfa ofnadwy. Ac yn enwedig nis gallent "oddef yr hyn a orchymynasid;" ac yr oedd hyd yn nôd Moses "yn ofni ac yn crynu" gan mor ofnadwy oedd yr olygfa. Yna llefarodd Duw o "ganol tân;" ac yn nghlywedigaeth y bobl, cyhoeddodd y "deng air deddf," fel sylfaen y drafodaeth fawr yr oedd efe yn myned i'w gwneyd â'r genedl yn y ffurf o gyfammod. Dyma adysgrif o natur Duw ei hun, a deddf fawr ei lywodraeth foesol

yn gyffredinol. Y mae hi yn codi o angenrheidrwydd natur, o'r cysylltiad moesol sydd rhwng y Duw mawr a'i holl grëaduriaid rhesymol, moesol, a chyfrifol, trwy holl derfynau ei lywodraeth, ymhob man, ac ymhob byd. Hon oedd yn gerfiedig ar galon Adda yn ei grëadigaeth; ufudd-dod i hon oedd teleran y cyfammod gweithredoedd, a'r prawf o hyny oedd peidio bwyta o ffrwyth gwaharddedig; hon sydd wedi ei chynnwys yn gryno gan yr Arglwydd Iesu mewn dau air, "Ceri yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, a'th gymydog fel ti dy hun." Ar y ddau hyn y mae yr holl gyfraith a'r prophwydi yn sefyll." Dyma ddeddf berffaith i holl resymolion y crëad mawr.

Gwir, y cyfarfyddwn â dynion sydd yn haeru nad yw y "deng air deddf" yn ddim ond gosodiadau seremonïol ac Iuddewig, wedi eu gosod "hyd amser y diwygiad," a'u bod i edrych arnynt fel *swm* neu dalfyriad o'r holl gyfraith Foesenaidd. Seiliant hyn ar y ffaith fod holl gynnwysiad y ddeddf at amgylchiadau neillduol y genedl, fel cenedl a ddygwyd i fyny o "wlad yr Aipht," ac oedd yn cael ei dwyn i wlad Canaan, "yr hon y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei rhoddi i ti;" ac yn enwedig ar fod cadwraeth y Sabbath yn un o'r deg, yr hwn, meddant hwy, sydd yn osodiad hollol Iuddewig.

Gyda golwg ar y cyntaf, yr ydym yn ateb, fod y ddeddf hon, o ran ei ffurf allanol, wedi ei chymhwyso at amgylchiadau neillduol y bobl ar y pryd, yn eu perthynas â'u Duw, yr hwn a'u dŷg hwynt o "dŷ y caethiwed" i fyned i'r wlad a "roddodd efe iddynt i'w meddiannu." Eto nid yw hyny yn profi nad yw hi o awdurdod gyffredinol, oblegid felly y mae yr holl Fibl wedi ei ysgrifenu; nid oes yma ddim moeswersi na gwirioneddau dansoddol, ond y mae ei holl addysg yn gysylltiedig â, ac yn seiliedig ar, ffeithiau hanesyddol, ac felly yn gymhwysiadol at y cyfryw ffeithiau; ac eto, "pa bethau bynag a ysgrifenwyd o'r blaen, er *addysg* i ni yr ysgrifenwyd hwynt." Er mai llyfr yr *egwyddorion* yw y Bibl, ac nid llyfr y *manylion*, eto y mae yr egwyddorion hyn yn dyfod i'r golwg bob amser mewn cysylltiad â ffeithiau, amgylchiadau, ac â phersonau neillduol; ac yn sicr, dyna y modd mwyaf effeithiol i fod yn addysgiadol. Felly y mae y ddeddf foesol wedi ei chymhwyso at amgylchiadau y genedl ar y pryd, ond y mae ei hegwyddorion yr un mor gymhwysiadol at yr holl fyd. Er fod ei gorchymynion gan mwyaf yn y ffurf nacäol, "Na wna," eto y mae hyny yn tybio y "Gwna" cyferbyniol; ac y mae yn fantais fawr i'r byd hyd heddyw ei bod wedi ei rhoddi yn y ffurf hon. Yn yr un modd, gellir dangos fel y mae y ddeddf sydd wedi ei chymhwyso at genedl *neillduol* yn gymhwysiadwy at y byd yn *gyffredinol;* felly y mae hi hefyd, er yn gymhwysiadol at fyd *neillduol,* yn gymhwysiadwy at lywodraeth foesol Duw yn *gyffredinol;* oblegid y mae ynddi gyfeiriadau at bethau sydd yn perthyn i'r byd hwn yn unig, ac nid i'r byd ysbrydol, megys "Na ladd"—"Na wna odineb"—"Na chwennych wraig dy gymydog, &c." Ond eto, y mae yr egwyddor yn gymhwysiadwy at bob bôd rhesymol ymhob byd.

Am yr ail wrthddadl o berthynas i'r Sabbath, yr ydym yn gobeithio ddarfod i ni mewn ysgrif flaenorol brofi mai nid peth Iuddewig yw y Sabbath, ond ei fod yn perthyn i ddyn er ei grëadigaeth, ac felly yn aros wedi i'r hyn sydd Iuddewig gael ei dynu ymaith.

Y mae yr amgylchiadau cydfynedol â rhoddiad y "deng air," yn

gosod arbenigrwydd mawreddus arni ragor y deddfau eraill a roddwyd trwy Moses. Fe'i *llefarwyd* gan Dduw mewn llais a geiriau hyglyw i'r holl genedl, a hyny "o ganol tân," Deut. iv. 12, 33. Yr oedd y llais a'r olygfa yn llawn cymaint ag a allasai y bobl ddal, "a byw." Hefyd, fe'i rhoddwyd mewn *deg* o orchymynion. Mewn iaith arwyddluniol, y mae deg yn rhif cyflawnder, fel y mae *saith* yn rhif cysegredig, a *thri* yn rhif perffeithrwydd. Dywed Bähr nas gellir cyfrif mwy na deg heb ychwanegu y degau, ac felly fod yr holl gyfundrefn rifyddol yn troi ar y pegwn hwn; oblegid hyny, fod y rhif deg er yr amseroedd boreuaf yn arwyddlun o gyflawnder. Os ydyw hyn yn egwyddor yn athroniaeth rhifyddiaeth, fel y mae yn hawdd genym gredu ei bod, priodol iawn y darfu i'r Deddfwr doeth gyhoeddi ei ddeddf mewn "deg gorchymyn," i ddangos ei chyflawnder perffaith, di-roddi-ati, a di-dynu-oddiwrthi.

Drachefn, *ysgrifenwyd* hi â "bŷs Duw," a hyny ar "lechau cèryg,"—nid fel yr ysgrifenodd Moses y deddfau eraill mewn llyfr—ond "dwy lech faen," i ddangos ei chadernid a'i sefydlogrwydd. Ysgrifenwyd hi felly o'r ddeutu i'r llechau, fel, y mae yn debygol, na byddai le i ysgrifenu un iod yn ychwaneg arnynt. Wedi hyny rhoddwyd y llechau i'w cadw yn yr arch, tra yr oedd llyfr y barnedigaethau tu allan i'r arch. "Nid oedd dim yn yr arch ond y ddwy lech faen a osodasai Moses yno yn Horeb," 1 Bren. viii. 9.

Cydnabyddir gan bawb yn gyffredinol fod y ddwy lech yn rhanu y ddeddf i ddwy ran, neu ddau ddosbarth o orchymynion; y llech gyntaf yn cynnwys dyledswydd dyn tuag at Dduw, a'r ail, ei ddyledswydd tuag at ei gymydog. Ond y mae gwahanol farnau yn bod, pa nifer oedd ar y naill, a pha nifer ar y llall. Y mae y Pabyddion yn gyffredin yn uno y ddau orchymyn cyntaf, ac yn rhanu yr olaf yn ddau, ac felly yn gosod tri ar y llech gyntaf, a saith ar yr ail. Y mae y golygiad hwn mor blentynaidd a dyddim fel nad yw yn werth genym ei wyntyllio gèr bron darllenwyr synwyrol y TRAETHODYDD.

Y golygiad cyffredin yn yr eglwys, er ys dros dri chan' mlynedd, ydyw, mai pedwar oedd ar y gyntaf a chwech ar yr ail. Hwn, yn ddiau, yw y golygiad sydd wedi cael ei ddysgu yn Ysgolion Sabbothol Cymru, o'r dechre hyd yn awr. Eto, tybiem, na byddai o un niwed i ddeiliaid ein hysgolion wybod fod golygiad arall yn bod, hynach na'r golygiad hwn, fel y gallont bwyso y naill wrth y llall—sef, mai yn eu hanner yr oedd y llechau yn rhanu y "deng air"—pump ar bob un; ac felly, fod y gorchymyn, "Anrhydedda dy dad a'th fam," ar y lech gyntaf, yn nosbarth dyledswydd tuag at Dduw. Dyma olygiad y Tadau, hyd y gallwn ni ddeall eu syniad, ar y mater. Ac â hyn y cyttuna tystiolaeth Josephus, yr hwn a ddywed, "Yn yr arch y gosododd efe (Moses) y ddwy lech ar ba rai yr oedd y deg gorchymyn wedi eu hysgrifenu, *pump* ar bob llech, a dau a hanner ar bob tu iddynt." *Hynaf.* Llyfr III. Pen. vi. adr. 5. Ac, o'n rhan ni, yr ydym braidd yn tueddu at y golygiad diweddaf. Oblegid nid ar dir cydraddoldeb fel cymydogion y mae y Bibl yn gosod rhïeni a phlant, ond y mae yna uchafiaeth o du y rhïeni sydd yn galw am iddynt gael eu "hanrhydeddu" gan y plant: "Os wyf fi dad, pa le y mae fy anrhydedd?" Y mae y rhïeni yn cael eu hystyried yn gynnrychiolwyr Duw at eu plant; ac y mae hyny yn gwneyd lle y rhïeni a'r plant yn fwy pwysig fyth. O herwydd hyn dylai plant "arfer

*dduwioldeb* gartref, a thalu y pwyth i'w rhïeni." Y mae y wedd yna ar y gorchymyn hwn yn ei osod yn fwy naturiol ar y llech gyntaf. Hefyd, y mae enw Duw ymhob un o'r pump cyntaf tra nad yw ei enw o gwbl yn y pump olaf. Yn y modd yma, y mae rhai ysgrifenwyr yn gweled trefn a phrydferthwch neillduol yn ngorchymynion y lech gyntaf fel hyn: Parch i Dduw, yn 1. Gyda golwg ar ei fod. 2. Ei addoliad. 3. Ei enw. 4. Ei ddydd. 5. Ei gynnrychiolwyr. Gwrthwynebir y dosbarthiad hwn gan rai ar gyfrif fod y pummed gorchymyn yn un o'r rhai a grybwyllodd Iesu Grist wrth y "gŵr ieuanc yn yr efengyl," tra y delir yn gyffredinol mai gorchymynion yr ail lech a osodwyd ger ei fron. I hyn y gellir ateb mai nid amcan yr Iesu oedd dwyn gorchymynion yr ail ymlaen, ond y gorchymynion mwyaf hawdd iddo ef ddeall a ydoedd wedi eu cadw yn yr holl gyfraith—y rhai ag oedd yn perthyn yn benaf i'r gweithredoedd allanol. Nid ydym yn canfod dim grym yn yr wrthddadl hon yn erbyn y golygiad a nodwyd.

Cyn gadael hyn, goddefer i ni alw sylw y darllenydd at berthynas y ddeddf hon â thri pheth mawr dyn fel bôd cyfrifol—meddwl, gair, a gweithred. Edrychwn ar y lech gyntaf. Y mae y ddau orchymyn cyntaf yn dal perthynas â'r meddwl; y trydydd â'r geiriau; a'r ddau olaf â'r gweithredoedd. Eto yr ail lech: y mae y tri cyntaf ar hon yn perthyn i'r gweithredoedd, y pedwerydd i'r geiriau, a'r olaf i'r meddwl; "Na chwennych." Y meddwl yw ei Halpha a'i Homega, a dïau fod y gorchymynion hyny sydd yn perthyn i'r geiriau a'r gweithredoedd yn perthyn i'r meddwl hefyd, fel y dangosodd Iesu Grist yn ei bregeth ar y mynydd. *Caru* a *chasâu* Duw yw y pegynau ar ba rai y mae ufudddod neu anufudd-dod yn troi.

Wedi rhoddi y ddeddf foesol yn y modd yma i'r genedl, y mae Duw yn myned i roddi iddi ddwy ddeddf arall seiliedig arni—y ddeddf farnol i'w llywodraethu fel gwladwriaeth, a'r ddeddf seremonïol i'w llywodraethu fel eglwys. Sail pob ufudd-dod yw y cysylltiad moesol sydd rhwng Duw â'i grëaduriaid; ac y mae y cysylltiad moesol hwn, o ba un y mae y ddeddf foesol yn codi o angenrheidrwydd natur, yn peri fod ganddo berffaith hawl i roddi i'w grëaduriaid y gorchymynion pendant a ddewisa ei benarglwyddiaeth. Ac felly y mae yr un *awdurdod* yn y gorchymyn pendant a moesol, tra y dewisa y Penarglwydd ei fod mewn grym. Felly yr oedd y ddwy ddeddf arall—y farnol a'r seremonïol—fel *bye-laws* yn codi o benarglwyddiaeth Duw, ac yn seiliedig ar y ddeddf foesol am eu hawdurdod.

Ni chaniatâ ein gofod i ni fanylu ar y ddeddf farnol,—dim ond crybwyll ei bod i Israel yn gorff cynnwysfawr a chryno o reolau, i lywodraethu eu hymddygiadau at Dduw fel eu brenin gwladol, a thuag at eu gilydd fel cyd-ddeiliaid y cyfryw ddwyf-lywiaeth. Dyma yn ddïau yr esiampl berffeithiaf o gyfraith wladol a fu yn y byd erioed. Ac y mae holl genhedloedd gwareiddiedig y byd wedi benthyca yn helaeth o hóni yn eu deddfwriaeth, ac yn dyfod yn nes-nes ati yn barhäus, fel y maent yn cynnyddu mewn rhyddid a gwareiddiad. Gallem grybwyll, wrth fyned heibio, fod y ddeddf farnol yn dal yr un berthynas â llyfr y Dïarebion, ag y mae y ddeddf seremonïol yn ei ddal â llyfr y Salmau. Profiad *crefyddol* yr eglwys o dan y ddeddf seremonïol yw cynnwys llyfr y Salmau, a phrofiad *gwladol* y genedl o dan y ddeddf farnol yw cynnwys llyfr y Dïarebion.

Tra yr oedd Moses yn y mynydd gyda Duw, yn derbyn y llechau, ynghyda gorchymynion y ddeddf wladol, cafodd orchymyn a chyfarwyddyd manwl i wneyd tabernacl, fel y gallai yr Arglwydd gael pabell i breswylio ynddi ymysg pebyll meibion Israel. Yr oedd hen ddymuniad yn mynwes dyn, byth ar ol colli yr hen Eden, am gael hyd i'r fan yr oedd Duw yn preswylio. Meddai Job "o'r cynfyd cûdd," "O na wyddwn pa le y cawn i Ef, fel y deuwn at ei eisteddfa Ef! &c." Tybiodd Jacob yn Bethel ei fod ef wedi dyfod o hyd i'r lle rhyfedd hwnw: "Nid oes yma onid tŷ i Dduw, a dyma borth y nefoedd." I gyfarfod â'r teimlad hwn, i ryw fesur, yr adeiladwyd y babell, "fel y preswyliai yr Arglwydd Dduw yn eu plith." Ond ni sylweddolwyd y meddwl hwn hyd nes y daeth Duw yn y cnawd, i "dabernaclu yn ein plith ni."

Ni chawn aros i gynnyg desgrifiad o'r adeilad ryfedd hon—dim ond yn unig nodi, ei bod yn adail bedair-ongl, wedi ei gwneyd o astellod o goed Sittim, pob astellen yn cyraedd o'r gwaelod i'r top, a'r rhai hyny wedi eu gwisgo âg aur. Yr oedd wedi ei thôi hefyd â phedwar gorchudd. Yr oedd yn mesur deg cufydd ar hugain o hŷd, deg cufydd o lêd, a deg cufydd o uchder. Wedi hyny yr oedd wedi ei rhanu yn ddwy ystafell, y sanctaidd a'r sancteiddiolaf. Yr oedd y sancteiddiolaf yn mesur deg cufydd bob ffordd—hŷd, llêd, ac uchder, gan adael ugain cufydd o hŷd, deg o lêd, a deg o uchder, i ffurfio y cysegr. O amgylch i'r babell hon yr oedd cyntedd heb dô, yn mesur can' cufydd o hŷd, deg cufydd a deugain o lêd, a phum' cufydd o uchder. Yna yr oedd y babell yn cael ei gosod ychydig yn nês i'r pen gorllewinol i'r cyntedd, fel ag i ffurfio ysgwâr o ddeg cufydd a deugain tu blaen iddo, yn y pen dwyreiniol. Erbyn hyn y mae genym dair o ystafelloedd gwahanol, sef y cyntedd, y cysegr, a'r sancteiddiolaf. Yr oedd yn perthyn i'r ystafelloedd hyn eu gwahanol ddodrefn. Yn y cyntedd, yr oedd yr allor brês, a'r noe brês. Ar yr allor brês yr oedd yr holl aberthau gwaedlyd yn cael eu haberthu. Yr oedd hon yn sefyll wrth ddrws y cyntedd o'r tu mewn. Yr oedd y noe brês yn sefyll wrth y fynedfa i'r cysegr, a'i dyben oedd i ddal dwfr i'r offeiriaid ymolchi wrth fyned o'r cyntedd i'r cysegr. Yr oedd hi wedi cael ei gwneyd o "ddrychau y gwragedd,"—prês caboledig; a dichon ei bod yn ateb dyben drych i ddangos iddynt eu haflendid, yn gystal ag yn dal dwfr iddynt i ymlanhâu. Yn y cysegr yr oedd tri dodrefnyn: yn y canol, wrth y wahanlen, yr oedd yr allor aur—allor yr arogldarth; ar y llaw ddehau yr oedd y canwyllbren aur, a'i saith gainc, lle y llosgid yn wastad yr olew euraidd; ac ar y llaw aswy yr oedd y bwrdd aur, ar ba un y dangosid yn wastad y "bara gosod." Yn y sancteiddiolaf yr oedd un dodrefnyn yn unig, sef "arch y dystiolaeth," yn yr hon yr oedd llechau y gyfraith yn cael eu cadw. Yn ffurfio math o gauad ar hon yr oedd y drugareddfa, a dau gerub, un ar bob pen iddi, wedi eu ffurfio o'r un cyfanwaith aur â'r drugareddfa ei hun; a rhwng y ddau gerub yr oedd y Shecinah—yr arwyddlun gweledig o'r presennoldeb Dwyfol—yn aros. Ar ol hyn rhoddwyd llyfr y gyfraith, y crochan aur a'r manna, a gwïalen Aaron, yn y sancteiddiolaf, er mwyn eu cadw yn y man mwyaf dïogel. Yr oedd y tair ystafell yma yn dal perthynas â thri dosbarth o weinyddwyr, neu swyddwyr y tŷ. Yr oedd y *Lefiaid* yn cario eu gwasanaeth ymlaen yn y cyntedd yn unig, heb fyned ddim pellach ymlaen i'r

"cynteddau." Yr oedd yr *Offeiriaid* yn cario eu gwasanaeth ymlaen o'r cyntedd i'r cysegr. Eu gwaith hwy oedd newid y "bara gosod" ar y bwrdd, goleuo lampau y canwyllbren, a llosgi yr arogldarth ar yr allor aur, yn gystal a thaenellu y gwaed ar yr allor, ac ar y wahanlen. Yr oedd yr *Archoffeiriad* yn dwyn ei wasanaeth ymlaen o'r cyntedd, trwy y cysegr, i'r sancteiddiolaf. Cymerai y gwaed o'r cyntedd, oddiar allor brês y poethoffrwm, yn y cawg, a'r "arogldarth peraidd mân," oddiar allor aur yr arogldarth, yn ei thuser, o'r cysegr, ac elai ymlaen i'r sancteiddiolaf, tu fewn i'r wahanlen, ar ddydd mawr y cymmod, "unwaith yn y flwyddyn."

Yr oedd yr ystafelloedd hyn, "wedi eu trefnu felly," yn arddangosiad o'r eglwys yn ei thair ystâd—yr ystâd Iuddewig—yr ystâd Gristionogol—a'r ystâd berffeithiedig yn y nef. Yr oedd y cyntedd yn arddangosiad o'r eglwys yn ei hystâd Iuddewig—ystâd anmherffaith iawn—byth a hefyd gyda'r allor, a'r aberth, a'r gwaed—yn ei sefyllfa seremonïol. Yn y cyntedd yr oedd y Lefiaid yn gweinyddu; ac yr oedd y Lefiaid wedi eu prynu am gyntafanedigion y genedl, ac felly yn cynnrychioli yr holl genedl. Eiddo yr Arglwydd oedd pob cyntafanedig—"beth bynag a agoro y grôth o ddyn ac anifail"—ar gyfrif eu cadw yn fyw, pan *ladd*wyd cyntafanedigion yr Aipht. Ond yn lle cymeryd cyntafanedig pob teulu i wasanaeth y babell, i arbed rhwygo teimladau a dinystrio cysur teuluoedd, prynodd yr Arglwydd lwyth Lefi yn eu lle. Felly yr oedd y Lefiaid yn cynnrychioli holl deuluoedd y genedl, a'r cyntedd, lle yr oeddynt yn gweinyddu yn ngwasanaeth yr Arglwydd, yn arddangosiad o ystâd yr eglwys yn ei gwêdd Iuddewig—y Lefiaid, yr allor, a'r noe. Yr oedd y cysegr yn arddangosiad o'r eglwys yn ei hystâd Gristionogol, neu efengylaidd. Yr offeiriaid oedd yn gweinyddu yn y cysegr; ac yr oedd yr offeiriaid yn arddangos yr eglwys Gristionogol yn ei haelodau—"offeiriadaeth sanctaidd"—"cenedl o offeiriaid"—pob aelod yn offeiriad. Darfu i'r Arglwydd gynnyg gwneyd Israel yn "genedl o offeiriaid" yn Sinai, ond darfu iddynt fethu dal y dyrchafiad, gan "mor ofnadwy oedd y golwg"—"Llefared Moses a ni a wrandäwn;" ac felly mewn ystâd Lefiaidd y cawsant fod. Ond y mae yr eglwys yn ei hystâd efengylaidd wedi ei chodi i fod yn "genedl o offeiriaid," ac y mae i ni "ryddid i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu." Felly yr oedd gweinyddwyr y cysegr yn arddangos yr eglwys efengylaidd yn ei *haelodau*—bwrdd y bara gosod yn ei dangos yn ei hoffrymau—nid offrymau gwaedlyd—y canwyllbren yn ei dangos yn ei *goleuni*—"y saith ganwyllbren aur" sydd i fod yn "oleuni y byd"—saith yw rhif cyflawnder. Yr oedd yr allor aur yn arwyddlun o'r eglwys efengylaidd yn ei *haddoliad*—"phïalau aur yn llawn arogldarth, y rhai ydyw gweddïau y saint," Dad. v. 8. Yn y cysegr hefyd yr oedd yr "Urim a'r Thummim, a'r ddwyfroneg," trwy ba rai yr oeddynt yn "ymofyn â Duw," neu yn "ymofyn â gair yr Arglwydd," ac yn cael dadguddiad o'i feddwl ar wahanol achosion. Ac yr oedd hyn yn arddangos yr eglwys Gristionogol yn y *dadguddiad* cyflawn sydd ganddi o feddwl Duw yn y gair. Dyma ydyw un *idea* yn yr Epistol at yr Hebrëaid: annog i beidio myned yn ôl i'r cyntedd, ond ar iddynt "fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu, ar hyd ffordd newydd a bywiol a gysegrwyd trwy y llèn sef ei gnawd Ef." Yr oedd y sancteiddiolaf yn arwyddlun o'r "nef ei hun"—

"y gwir gysegr," neu yr eglwys yn ei hystâd berffeithiedig. Yr oedd mesuriad hwn yn arddangosiad o berffeithrwydd—yn berffaith ysgwâr, deg cufydd bob ffordd; ac y mae deg yn rhif perffeithrwydd; yr oedd hwn yn ddeg o hŷd, deg o lêd, a deg o uchder. I'r sancteiddiolaf yr âi yr archoffeiriad yn unig. Yr oedd ef yn cynnrychioli yr holl eglwys; pe buasai ef yn pechu, yr oedd yr holl genedl yn myned yn euog. Yr oedd ynddo ef gynnrychioliad dyblyg: cynnrychioli y bobl at Dduw, a chynnrychioli Duw at y bobl; felly yr oedd yn gyfryngwr ac yn brif gysgod o'r Archoffeiriad mawr yr hwn a aeth i'r "gwir gysegr," "i ymddangos yn awr ger bron Duw trosom ni," wedi "cael i ni dragywyddol ryddhâd" i fyned i mewn ar ei ol. Ymddengys i ni mai at hyn y mae Dafydd yn cyfeirio yn Salm xxvii. 4, 5, lle y dywed mai "un peth" oedd swm a sylwedd ei holl ddeisyfiadau, ac eto y mae yr "un peth" hwnw yn cael ei wneyd i fyny o dri pheth, sef cuddio yn y babell, ymofyn yn y deml, a thrigo yn y tŷ, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd. Prïodol y gelwir y cyntedd yn "babell"—adeilad anmherffaith ac amserol. Prïodol y gelwir y cysegr yn "deml"—lle cysegredig ac addurnol. A phrïodol iawn y gelwir y sancteiddiolaf yn "dŷ," oblegid yno yr oedd Duw yn preswylio rhwng y cerubiaid. Ac y mae y breintiau a ddeisyfir mewn cysylltiad â'r enwau hyn mor brïodol a'r enwau eu hunain: "Cuddio yn y babell"—cuddio yn "nydd blin" euogrwydd a chondemniad—yr holl wasanaeth yn y cyntedd i gyfarfod â'i gydwybod; *gwaed, gwaed,* oedd yno. "Yn nirgelfa ei babell y'm cuddia"—cyfeiriad at "Ddydd y Cymmod," pan y byddai yr archoffeiriad yn myned â'r gwaed o'r cyntedd trwy y cysegr i'r tu fewn i'r wahanlen, i'r dirgelfa i guddio pechodau blwyddyn gyda'u gilydd. Yr oedd yno le i guddio unrhyw "ddydd blin" y deuai ei bechod i ymwybyddiaeth y dyn, ac un dydd yn y flwyddyn i fyned i'r "ddirgelfa" i guddio yr holl bechodau gyda'u gilydd. Eto, "Ymofyn yn y deml:" yn y cysegr yr oeddynt yn dyfod i gymundeb agosaf â Duw, nes oeddynt trwy yr "Urim a'r Thummim" yn gallu ymofyn âg ef, a chael dadguddiad o'i feddwl ar wahanol bethau. Ond, "trigo yn y tŷ, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd:" yn y sancteiddiolaf yr oedd ei ogoniant yn weledig. A dyna oedd deisyfiad y Salmydd, cael y tri pheth yna yn "un peth." Yr oedd un peth o dri yn ei feddiant—y cuddio: "Canys yn y dydd blin y'm cuddia o fewn ei babell, yn nirgelfa ei babell y'm cuddia;" ond carwn fyned i'r deml i "ymofyn," ac i'r tŷ i "drigo" ac i "edrych" ar ogoniant fy Nuw. Ac yn yr arch yr oedd y tri pheth yn "un," yr oedd y gwaed yn myned o'r cyntedd, yr arogldarth o'r cysegr, a'r Shecinah yn y sancteiddiolaf wedi cydgyfarfod. Yn yr un modd, "pabell" i "guddio" oedd yr eglwys Iuddewig—adail anmherffaith ac amserol, a chyfarfod â'r gydwybod oedd prif amcan ei gwasanaeth; ac yr oedd y gydwybod yn rhuo yn ofnadwy pan oedd cymaint o ddeddf yn y golwg, a chân lleied o efengyl wedi ei dadguddio. Ond yr oedd yno fodd i "guddio yn y dydd blin." Am yr eglwys Gristionogol, "teml i ymofyn" ydyw. Y mae y gair "teml" yn fynych iawn yn y Bibl yn sefyll am yr eglwys efengylaidd: "Teml y Duw byw ydych chwi." Yn hon y mae dadguddiad cyflawn o feddwl Duw, a rhagorfraint fawr ei haelodau yw cael "ymofyn" â Duw trwy ei air. Ond am yr eglwys berffeithiedig yn y nef, tŷ i drigo ac i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd sydd yno. "Teml ni welais ynddi," medd

Ioan. Yn y rhan gyntaf o lyfr y Dadguddiad y mae ef o hyd yn gweled "teml," a phethau rhyfedd yn cymeryd lle yn y deml, sef helyntoedd yr eglwys Gristionogol. Ond pan ddaeth y "ddinas nefol" i'r golwg, ni welodd "deml ynddi," ond "tabernacl Duw gyda dynion, ac efe a drîg gyda hwynt." Dyna "dŷ" i'r eglwys i "drigo" byth, lle caiff "edrych ar brydferthwch" ei Duw heb gwmwl na llèn. Yno y bydd holl ragorfreintiau yr eglwys Iuddewig, y "cuddio" a'r "ymofyn" yn yr eglwys Gristionogol wedi cydgyfarfod mewn "trigo" ac "edrych," a'r cwbl yn "un peth." Dyna rhyw gip golwg ar arwyddocâd ac ystyr y tabernacl.

Nid rhaid crybwyll fod hon yn adeilad gostus iawn. Yn ôl barn Dr. Kitto, nis gallasai fod wedi ei hadeiladu ar lai na 250,000p. o arian Lloegr yn y dyddiau presennol. Ac eto yr oedd wedi ei hadeiladu trwy roddion gwirfoddol, "pob un ewyllysgar ei galon," ac mor fawr oedd y parodrwydd i gyfranu fel yr oedd mwy na digon yn dyfod i mewn.

Wedi hyny, gorchymynodd yr Arglwydd i Moses neillduo Aaron i fod yn Archoffeiriad, a'i feibion i fod yn offeiriaid, a'u cysegru i wasanaethu y tabernacl. Wedi hyny, cafodd gyfarwyddiadau manwl i wneyd gwisgoedd costfawr ac addurniadol iddynt, pa rai nas gallwn ni, ar hyn o bryd, gynnyg rhoddi desgrifiad o honynt. Ond gallwn grybwyll, wrth fyned heibio, eu bod oll yn gyson â chwaeth uchel a choethedig—â glanweithdra a phurdeb—ac â thlysni a phrydferthwch; pethau perthynol i, a chydfynedol â, chrefydd ymhob oes. Yr ydym ni yn yr oes hon yn teimlo fod dillad teilwng o'r Sabbath yn help i ni ymdeimlo â chysegredigrwydd y dydd a'i waith. Hefyd, yr oedd gwisgoedd yr offeiriaid yn gyson â chymeriad yr oruchwyliaeth hono yr oeddynt hwy yn gweinyddu ynddi—yn *arwyddluniol*—yn arweiniad i'r meddwl myfyrgar at ddrychfeddyliau ysbrydol. Felly yr oedd y gwisgoedd hyn, fel y dywedodd yr Arglwydd am danynt, "er gogoniant a harddwch." Yr oedd gwisg yr archoffeiriad hefyd yn arddangosiad o'i swydd fel prif gynnrychiolwr y bobl. Yr oedd enwau y llwythau wedi eu naddu ar ddau faen onix, ar ddwy ysgwydd yr ephod, ac hefyd ar ddeuddeg maen y ddwyfroneg. Mewn rhyw gysylltiad â'r ephod a'r ddwyfroneg yr oedd yr Urim a Thummim yn gweithio, i roddi dadguddiad o feddwl Duw iddynt. Hefyd, ar ol hyn, prynodd yr Arglwydd lwyth Lefi, fel y sylwyd, yn dri theulu, y Cohathiaid, y Gersoniaid, a'r Merariaid—yn rhifo gyda'u gilydd dair mil ar ddeg ac wyth gant. Rhoddwyd iddynt 48 o ddinasoedd i breswylio ynddynt—o ba rai yr oedd 6 yn ddinasoedd noddfa—a'u meusydd pentrefol at eu cynnaliaeth; tua chan' mil o erwau o dir, fel y bernir. Hefyd, rhoddwyd iddynt ddegwm cynnyrch yr holl wlad, o ba un yr oeddynt hwythau i dalu degwm i'r offeiriaid; degwm y degwm oedd eu rhan hwy. Duw oedd y *landlord* mawr oedd yn rhoddi iddynt y wlad, a darfu iddo ddadgan ei ewyllys ar fod degwm yr holl dir yn myned at gynnaliaeth crefydd, fel yr oedd yr hen batriarchiaid wedi arfer degymu. Ond nid oedd un gyfraith wladol i godi y degwm—dim ond ofn Duw yn y galon; a phan fyddai yr ofn hwnw yn pallu, byddai y degwm yn pallu o'r trysordŷ, a'r tŷ yn myned heb ddim bwyd. Yr oedd hyny yn un cymhelliad i'r Lefiaid fod yn weithgar i ddysgu crefydd i'r bobl. Os oedd Duw yn dysgwyl cael y ddegfed o ennillion ei bobl gynt at *gynnal* crefydd, onid allem feddwl ei fod yn dysgwyl hyny,

o leiaf, eto at *ledanu* crefydd dros "yr holl fyd?" Bernir fod yr Israeliaid, rhwng y Lefiaid a'r tlodion, yn cyfranu tua'r bummed ran o'u holl eiddo, ac eto cyfranu oedd yn eu cadw rhag myned yn dlawd. Ai tybed fod goruchwyliaeth "gras" yn llai haelionus na goruchwyliaeth "deddf?"

Wrth adael hyn, yr ydym yn canfod fod Moses yn rhoddi pob peth dan ddeddf. Yr offeiriadaeth oedd o'r blaen "heb dad, heb fam, heb achau," sydd bellach yn cael ei rhoddi dan ddeddf sefydlog, i redeg i lawr yn "urdd Aaron." Wedi adeiladu lle neillduol i aberthu, mae personau neillduol yn cael eu cysegru at y gwaith. A'r degwm, yr hwn y dysgodd teimlad crefyddol y patriarch Abraham iddo ei gyfranu i Melchisedec, heb un ddeddf, sydd bellach yn cael ei osod yn rheol sefydlog. Cafodd meibion Lefi "*orchymyn* i gymeryd degwm gan y bobl yn ol y gyfraith."

Yr ydym ar hyn o bryd yn gadael y darllenydd yn y fan yma, ac yn addaw, os cawn rwydd-deb, mewn rhifyn dyfodol o'r TRAETHODYDD, ei gyfarfod wrth "ddrws pabell y cyfarfod," a'i arwain i mewn, i gael golwg ar y gyfundrefn aberthol yn ei gwahanol agweddau, fel ei sefydlwyd hi trwy Moses.

---

# GWAREIDDIAD YN EWROP.

UN o'r gwersi pwysicaf a ddysgir gan hanesiaeth ydyw, fod gwareiddiad yn symudol. Cyn bod Ewrop yn ddim amgen nag anialwch anhygyrch, yr oedd Asia yn meddu dinasoedd blodeuog, ymha rai yr oedd masnach a dysgeidiaeth wedi cyraedd tir uchel. Yn awr, y mae medr a dysgeidiaeth, masnach a chelfyddyd, wedi symud i Ewrop, a dinasoedd ac ymherodraethau Asia wedi diflanu. Ond er fod gwareiddiad yn symudol, eto nis gall y naill genedl ei gyfranu i'r llall. Ni bu'r Saeson yn alluog i'w gyfranu i'r Indiaid, na'r Dutch i'r Hottentotiaid. Gwnaeth y Rhufeiniaid ymgais i gario eu gwareiddiad i'r gwledydd a orchfygasant; ond ni bu yn alluog i gymeryd gwraidd; ac yn lle dyrchafu y cenhedloedd hyny, ni wnaeth yr ymgais at eu gwareiddio ond eu darostwng. Mae'n rhaid i wareiddiad pob cenedl dyfu yn naturiol o'r genedl ei hun. Mae hyn yn dangos yn eglur y dylai pob cenedl fod yn annibynol. Yr oedd sefyllfa cymdeithas wedi myned yn isel iawn o dan lywodraeth y Rhufeiniaid, ac yn parhâu i fyned yn îs o hyd; ac nid oes genym un drychfeddwl i ba ddyfnderoedd y buasai wedi suddo cyn hyn, oni bae i chwyldröad gymeryd lle nad oes genym hanes am ei fath er dechre'r byd. Yn y bedwaredd ganrif, yr oedd llywodraeth Rhufain yn cyraedd dros agos yr oll o Ewrop. Erbyn hyny nid oedd ond corff marw. Yr oedd gwroldeb ar faes y gwaed, uniondeb yn ngweinyddiad y cyfreithiau, a phurdeb mewn moesau, wedi myned i blith y pethau a fu. Ar ol gorchfygu eu holl elynion, wrth twynhâu cyfoeth Asia, a dilyn arferion

Groeg, fe gollodd y Rhufeiniaid eu purdeb a'u gwroldeb cynhenid; ac mewn amser yr oedd yr ymherodraeth a orchfygodd y byd wedi myned yn rhy wan, braidd, i ymgynnal dan ei phwysau ei hun. Pan yn y gwendid hwn, ymosodwyd arni gan genhedloedd barbaraidd o'r gogledd, a gorchfygwyd hi. Yn y bummed ganrif, ymsefydlodd y Gothiaid yn Spaen ac Italy, y Ffrancod yn Ffrainc, y Saxoniaid yn Mhrydain, a'r Huniaid yn Pannonia. Mae'n fwy na thebyg eu bod braidd wedi llwyr ddinystrio hen drigolion y gwledydd hyny, oblegid cymerodd cyfnewidiad sydyn a thrwyadl le yn ieithoedd ac arferion y cyfryw wledydd; cyfnewidiad nad allodd y gorchfygiad mwyaf llwyr erioed ei effeithio heb ddinystrio hen drigolion y wlad. Gorchfygodd William y Cyntaf Loegr, a daeth iaith y gorchfygwr yn iaith y llŷs; ond cadwodd y bobl eu hiaith a'u harferion er holl ymgais William i gael ganddynt eu hanghofio. Yr oedd cymeriad y barbariaid hyn ymhob peth yn groes i eiddo y Rhufeiniaid. Mewn gwybodaeth yr oeddynt lawer islaw iddynt; ond yr oeddynt yn wrol ac annibynol, ac yn meddu cryn lawer o unplygrwydd a haelfrydedd. Dysgid pob un o honynt i fod yn rhyfelwr o'i febyd, ac ystyrid pob gorchwyl, ond hela a rhyfela, yn annheilwng o ddyn rhydd. Gwylient dros eu rhyddid gyda llygad eiddigus iawn. Edrychent ar y brenin yn hytrach fel cadfridog, ac yr oedd ei awdurdod yn hynod gyfyngedig. Pan y byddai yn myned i ryfel, yr oedd pawb yn rhydd i'w ddilyn neu beidio. Yn fuan ar ol ymsefydlu yn nhaleithiau yr ymherodraeth Rufeinig, gwelsant fod yn angenrheidiol i bob un roddi i fyny ryw gymaint o'i ryddid, a myned dan ryw rwymau, er mwyn dïogelwch y wladwriaeth rhag gelynion oddiallan. Fel cydnabyddiaeth am ryw gyfran o'r wlad, rhwymai y pendefigion eu hunain i ymddangos yn y maes gyda nifer o'u dilynwyr, pan fyddai galwad am danynt. Rhanai y pendefigion eu cyfran, drachefn, rhwng eu canlynwyr neillduol eu hunain ar ammodau cyffelyb, ymhlith pa rai yr oeddynt yn llywodraethu braidd yn annibynol ar y brenin. Pan fyddai gelyn tramor yn bygwth gwlad, byddent yn gyffredin yn ymuno i'w wrthsefyll; ond ar adferiad heddwch, byddai pob un yn dychwelyd i'w gastell; ac yno ni chydnabyddai awdurdod neb ond yr eiddo ei hun. O herwydd ysbryd cythryblus ac annibynol y pendefigion, ac o herwydd fod y ffurflywodraeth yr oeddynt yn byw dani yn fanteisiol i'r ysbryd hwn ei ddangos ei hun, yr oedd yr annhrefn mwyaf yn ffŷnu. Yr oeddynt yn cario rhyfeloedd ymlaen â'u gelynion personol ar eu cyfrifoldeb eu hunain—y bobl wedi myned yn gaethweision—rhai wedi myned i'r sefyllfa hono trwy orfodaeth, a rhai yn wirfoddol, er mwyn bod dan amddiffyniad rhyw bendefig yn yr amseroedd cythryblus hyny. Gan fod y brenhinoedd yn ymdrechu cadw trefn, a dwyn y gwahanol wledydd i barchu y cyfreithiau, y mae hanes Ewrop am ganrifoedd yn hanes ymdrechfa rhwng y goron a'r bendefigaeth. Yn yr oesoedd hyny, nid oedd ganddynt yr un drychfeddwl am gosbi y troseddwr yn enw y wladwriaeth am dòri cyfraith y tir; ond byddai y gŵr a fyddai wedi derbyn y cam yn *dïal* am y *sarhâd*, a byddai cyfeillion y troseddwr yn dïal arno yntau, nes y byddai cenhedlaethau yn myned heibio yn fynych cyn i'r ymrafael gael ei wastadhâu. Yr oedd Cristionogaeth yr oesoedd hyny hefyd wedi myned yn isel iawn. Pan ymsefydlodd y cenhedloedd barbaraidd yn nhaleithiau yr ymherodraeth Rufeinig, derbyniasant Gristionogaeth mewn enw, ond mewn enw yn unig. Nid newid eu crefydd,

ond newid gwrthddrych eu haddoliad, neu yn hytrach eu hofergoeledd, a wnaethant. Yr un ysbryd a'r un syniadau oedd yn eu meddiannu wrth addoli y gwir Dduw âg wrth addoli eu heilunod. Yr oedd eglwys Rhufain yn ddigon diegwyddor i feithrin ofergoeledd yn nghalonau y barbariaid anwybodus, er mwyn ei manteision ei hun. "Achubwch eich eneidiau o afael dinystr," ebe St. Egidius, esgob Noyon, "tra y mae y moddion genych. Deuwch â rhoddion a degwm i wŷr eglwysig; deuwch yn amlach i'r eglwys; erfyniwch am nawdd y seintiau: os gwnewch hyn, gellwch ddyfod i'r farn ddiweddaf, a gofyn yn ddigryn i'r Barnwr, Dyro i ni, O Arglwydd, canys yr ydym ni wedi rhoddi i ti!" Er mwyn dangos i ba ddyfnderoedd yr oedd crefydd wedi suddo yn y cyfnod hwn, gellir nodi "Gŵyl yr asyn," yr hon a gynnelid i goffâu y fföedigaeth i'r Aipht. Gosodid geneth ieuanc a baban yn ei breichiau ar gefn asyn, yr hwn a arweinid i'r eglwys. Byddai yr asyn yn cael ei ddysgu i benlinio mewn manau prïodol; ac ar ddiwedd y gwasanaeth byddai'r offeiriad, yn lle gollwng y gynnulleidfa gyda'r geiriau arferol, yn brefu dair gwaith mor debyg i asyn ag y gallai, a'r gynnulleidfa yn ei ateb trwy frefu dair gwaith. Mae'n debyg fod y darllenydd yn barnu, os oeddynt yn gallu efelychu yr asyn yn ei lais mor berffaith ag ymhob peth arall, eu bod yn gallu myned trwy'r rhan hon o'r gwasanaeth yn hynod lwyddiannus. Yr oedd y fath ofergoeledd yn yr eglwys, a'r fath annhrefn yn y wladwriaeth, yn rhwym o gario effaith niweidiol ar sefyllfa foesol a chymdeithasol Ewrop. O'r bummed ganrif hyd tua diwedd yr unfed ganrif ar ddeg, yr oedd nos dywell fel y fagddu wedi ymdaenu dros y gwahanol wledydd—mor dywyll ydoedd, fel yr oedd amryw frenhinoedd, esgobion, a gwleidyddion enwocaf Ewrop, yn analluog i ysgrifenu eu henwau eu hunain. Tua diwedd yr unfed ganrif ar ddeg, y mae gwawr yn dechreu ymddangos; ac o'r amser hwnw hyd yn awr y mae y goleuni wedi cryfhâu.

Yn awr, ymdrechwn nodi y pethau a fu yn brif offerynau i ddwyn oddiamgylch y cyfnewidiad hwn.

Y cyntaf a gawn ei enwi ydyw,—

*Rhyfeloedd y Groes.*—Yn yr amseroedd hyny o anwybodaeth ac ofergoeledd, ystyrid fod myned ar bererindod i wlad Canaan yn iawn am y pechodau mwyaf erchyll. Tra bu y wlad o dan lywodraeth yr Arabiaid, yr oedd rhyddid i'r pererinion fyned a dyfod fel yr ewyllysient; ond pan oresgynodd y Tyrciaid Syria, tua chanol yr unfed ganrif ar ddeg, cymerasant bob cyfleüsdra i daflu anfri ac anmharch arnynt. Cynhyrfodd yr hanes am ddyoddefiadau y pererinion ddigofaint yn erbyn y Tyrciaid drwy holl wledydd crêd. Llwyddodd Pedr y Mynach, yn benaf, i berswadio tywysogion Ewrop i fyned i waredu y tir sanctaidd o ddwylaw y Mahometaniaid. Parhäodd y rhyfel hwn am oddeutu dau gant o flynyddoedd, a chyfrifir fod dros dair miliwn o Ewropëaid wedi colli eu bywydau ynddo. Bu y rhyfel hwn yn foddion i hyrwyddo cynnydd gwareiddiad mewn gwahanol ffyrdd.

1. Bu yn foddion i ddwyn trigolion anwybodus Ewrop i gyffyrddiad â phobl fwy gwareiddiedig na hwy eu hunain. Ar y ffordd i'r dwyrain, yr oeddynt yn myned trwy Caercystenyn, y ddinas fwyaf gorwych ar y ddaear, a'r ddinas ag oedd yn cynnwys yr ychydig ddysgedigaeth oedd yn aros yn y rhan hon o'r byd. Cafodd yr arosiad bŷr a wnaethant yno

effaith ddaionus ar eu meddyliau; oblegid yr ydym yn cael eu bod yn siarad gydag edmygedd am fawredd a chyfoeth Caercystenyn. Yr oedd eu gelynion hefyd yn y cyfnod hwn yn llawer mwy gwareiddiedig a deallus na hwy: a chan y byddent o angenrheidrwydd yn dyfod i gyffyrddiad mynych â hwy, mae'n sicr eu bod wedi dysgu llawer oddiwrthynt. Ar ol teithio mor bell, a dyfod i gyffyrddiad â phobl uwch mewn gwareiddiad na hwy eu hunain, dychwelodd llawer o'r Crwysgadwyr adref gyda syniadau mwy ëang a llawer ychwaneg o wybodaeth. Yn yr ymgyrchoedd hyn, daethant yn gydnabyddus â daearyddiaeth, hanesiaeth, a dyfeisiau y Dwyrain, yr hyn a fu yn foddion i roddi symbyliad newydd i'w meddyliau hwy, a thrwyddynt hwy, i Ewrop yn gyffredinol.

2. Ennillodd y goron lawer o awdurdod. Yr oedd yn ofynol i'r pendefigion gael llawer o arian i fyned gyda'u canlynwyr mor bell; ac o herwydd eu bod yn dysgwyl cyfoeth ac etifeddiaethau yn y Dwyrain, yr oeddynt yn awyddus i werthu eu meddiannau gartref. Gan nad oedd yr un o frenhinoedd mwyaf Ewrop yn y Crwysgad cyntaf, yr oeddynt mewn cyfleusdra da i'w prynu a'u chwanegu at eu hetifeddiaethau eu hunain. Hefyd, bu feirw llawer o'r pendefigion yn y rhyfel hwn heb adael plant ar eu hôl; ac yn ol cyfraith pob gwlad y pryd hwnw, yr oedd eu meddiannau yn myned i'r brenin. Cymerodd gwahanol frenhinoedd Ewrop fantais oddiwrth y chwanegiad hwn mewn cyfoeth, ac oddiwrth absennoldeb y fath nifer o'r Arglwyddi, i chwanegu llawer at awdurdod y goron; a thrwy hyny daethant yn alluog i gadw trefn, ac i orfodi pawb i roddi ufudd-dod i'r cyfreithiau.

3. Effeithiodd Rhyfeloedd y Groes yn ddaionus ar fasnach Ewrop. Trwy gyflenwi y byddinoedd anferth â lluniaeth, a thrwy barotôi llongau i'w cludo i Caercystenyn, ennillodd Venice, Pisa, a Genoa, gyfoeth mawr. Agorodd llwyddiant y Crwysgadwyr fasnach y Dwyrain iddynt; ac yn fuan dechreuodd nwyddau Asia ddylifo i'r dinasoedd hyn. Y mae'n ymddangos fod amaethyddiaeth hefyd yn uwch yn y Dwyrain nag yn y Gorllewin yn y cyfnod hwn; oblegid yr ydym yn cael fod y milwyr Ewropëaidd wedi dwyn llawer o hâdau ac offerynau adref, a llawer o awgrymiadau am y dull goreu i drin tir. Bu'r naill beth a'r llall yn foddion i roddi mwy o fywyd ac yni yn y gwahanol wledydd, ac yn fuan dechreuodd pethau wisgo gwêdd newydd.

4. Daeth y gwahanol wledydd yn fwy tawel. Gan fod y Crwysgadwyr dan nawdd Eglwys Rhufain, ysgymunid yn ddiarbed pwy bynag a'u haflonyddai, neu a gyffyrddai â'u heiddo: dechreuodd heddwch ac iawn drefn ffynu, a daeth y cyfreithiau i gael chwaneg o barch.

*Rhoddwyd cam pwysig ymlaen pan ennillodd y dinasoedd eu rhyddid.*—Mewn amseroedd mor gythryblus, yr oedd yn angenrheidiol i ddinasoedd a phentrefi osod eu hunain dan nawdd rhyw bendefig, ac felly fyned i raddau pell o dan ei awdurdod. Trwy orthrwm y pendefigion, yr oedd y dinasoedd wedi myned i sefyllfa isel a thlawd iawn. Nis gallai eu trigolion brïodi na rhoddi i brïodas heb ganiatâd eu harglwydd. Nis gallent adael eu meddiannau i'w perthynasau, na phenodi gwarcheidwaid i gymeryd gofal am eu plant. Yr oedd y fath orthrwm yn lladd pob diwydrwydd ac awydd i gasglu cyfoeth. Gwelsom ddinasoedd Italy yn dyfod yn uchel mewn cyfoeth trwy eu masnach â'r Crwysgadwyr; a chan fod ymherawdwyr Germany, awdurdod pa rai oedd yn cyraedd dros Italy,

yn dlodion ac mewn helbul gartref, yr oeddynt yn awyddus i werthu eu rhyddid iddynt. Rhoddwyd awdurdod i'r dinaswyr ddewis eu swyddogion o'u plith eu hunain, a thrwy hyny daethant yn annibynol ar yr arglwyddi. Mewn amseroedd mor derfysglyd, yr oedd trigolion y dinasoedd yn cael eu dysgu i drîn arfau; ac o herwydd eu nifer a'u cyfoeth, yr oeddynt yn alluog i estyn eu nawdd i'r rhai oedd yn sefyll mewn angen am dano, ac felly dŷnu llawer oddiwrth bwysigrwydd arglwyddi y wlad. Trwy hyn ennillodd y goron, a chollodd y bendefigaeth, lawer o awdurdod; oblegid yr oedd yn naturiol i'r dinasoedd ochri yr un ffordd â'r brenin yn erbyn y pendefigion oedd wedi arfer eu gorthrymu. Ennillodd dinasoedd Ffrainc eu rhyddid yn fuan ar ol dinasoedd Italy; ac ymhen rhai ugeiniau o flynyddoedd, daeth dinasoedd Prydain i feddu yr un breintiau. Wedi ennill eu rhyddid bwrdeisiol, daethant yn fuan i feddu llais yn ffurfiad deddfau y wlad. Yr amser hwnw ystyrid nad oedd yn dêg trethu yr un dyn rhydd ond trwy ei gydsyniad. Yr oedd y pendefigion yn arfer eistedd gyda'u penadur mewn cynghor i drîn materion y deyrnas: ac wedi i'r dinaswyr gael eu rhyddid personol a bwrdeisiol, cawsant hawl, tua dechre y bedwaredd ganrif ar ddeg, i anfon cynnrychiolwyr i'r cynghor hwn. Y mae yr elfen hon bob amser wedi bod ar un law yn rhwystr i'r goron ennill gormod o awdurdod, tra ar y law arall, yn cadw dylanwad y bendefigaeth o fewn ei derfynau priodol. Y mae dylanwad y cynnrychiolwyr hyn wedi bod o blaid rhyddid ac uniondeb; ac y mae yn deilwng o sylw mai hwy yn unig sydd wedi dangos un gofal am iawnderau y bobl.

*Rhyddhâd trigolion y wlad.*—Parodd y fath gyfnewidiad yn sefyllfa trigolion y dinasoedd anesmwythder yn meddyliau y rhan hono o'r boblogaeth oedd yn byw yn y wlad. Yr oedd rhan fawr o'r dosbarth hwn yn gaethweision. Pan fyddai rhyw bendefig yn gwerthu ei etifeddiaeth, byddai ei llafurwyr yn cael eu gwerthu gyda hi. Trwy ddylanwad y goron, ac ymdrechiadau cynnrychiolwyr y dinasoedd, cawsant yn raddol eu rhyddid. Daeth y caethwas yn amaethwr y tir hwnw ag yr oedd wedi arfer ei drîn i un arall. Gyda rhyddid daeth diwydrwydd a bywyd newydd. Dechreuodd syniadau newyddion ffŷnu yn eu plith, a rhagolygon newyddion ymagor o'u blaen. Daeth y wlad yn fwy tawel a boddlawn, ac i roddi mwy o barch i'r deddfau.

*Gweinyddiad têg o'r cyfreithiau.*—Wedi i'r bobl gael llais yn ffurfiad y cyfreithiau, y cam nesaf oedd cael gweinyddiad têg a diduedd o honynt. Tuag at gyraedd hyn, yr oedd yn angenrheidiol,—1. Diddymu hawl y pendefigion i gario rhyfeloedd ymlaen yn erbyn eu gelynion personol. Pan fyddai un yn tybio ei fod wedi derbyn cam neu sarhâd, ni feddyliai am appelio at neb ond at ei gleddyf ei hun. Wedi casglu ei geraint a'i gyfeillion ynghyd, arweiniai hwynt yn erbyn ei elyn, yr hwn, wedi gwneuthur parotöadau cyffelyb, a'i cyfarfyddai ar y maes. Am ganrifoedd bu gwledydd Ewrop yn cael eu hanrheithio gan y rhyfeloedd hyn. Arferai y goron ei holl awdurdod, ac arferai yr eglwys ei holl ddylanwad, ac yr oedd hwnw yn fawr y pryd hwnw, i'w difodi. Cyhoeddodd un esgob ei fod wedi derbyn llythyr o'r nefoedd yn gwahardd y rhyfeloedd hyn. Cafodd y llythyr hwn effaith ddaionus iawn ar feddyliau y pendefigion. Penderfynwyd nad oedd yn gyfreithlawn i neb ymosod ar ei elyn ar un o ŵyliau yr eglwys, nac o ddiwedd dydd Iau hyd ddechre

dydd Llun (dyddiau a ystyrid yn fwy cysegredig na'r lleill gan yr eglwys) ymhob wythnos. Yn raddol, fel yr oedd gwybodaeth yn cynnyddu, a syniadau cywirach am gyfiawnder yn ennill tir, darfyddodd y drwg hwn. —2. Rhoddwyd terfyn ar ddiheurbrawf *(ordeal)*, ac ymladd *(judicial combat)*. Os byddai un yn cael ei gyhuddo o ryw drosedd, gallai brofi ei ddiniweidrwydd drwy drochi ei fraich mewn dwfr berwedig, neu drwy gerdded ar haiarn poeth; ac os byddai wedi iachâu mewn rhyw amser penodol, ystyrid fod hyny yn ddigon i brofi ei fod yn ddieuog. Neu gallai herio ei gyhuddwr i ymladd, a thybid fod y nefoedd yn cyfryngu ac yn rhoddi y fuddugoliaeth i'r diniwed. Trwy ymdrechiadau y gwahanol frenhinoedd, a dylanwad yr eglwys, aeth yr ymladdau hyn o arferiad cyn diwedd y drydedd ganrif ar ddeg. 3. Trwy roddi hawl i appelio o lŷs y pendefig i lŷs y brenin, a thrwy osod dedfryd llŷs y blaenaf yn agored i gael ei newid yn y llŷs brenhinol, rhoddwyd cam pwysig ymlaen at gael gweinyddiad têg o gyfiawnder. Daeth troseddau i gael edrych arnynt, nid yn sarhâd ar bersonau unigol, ond yn sarhâd ar y gyfraith, ac yn niweidiol i'r wladwriaeth. Dechreuwyd edrych ar y barnwyr brenhinol, pa rai oeddynt yn ymweled â phob rhan o'r deyrnas, fel yr unig rai oedd â gallu a hawl i weinyddu cyfiawnder. Pan oedd y byd yn dechreu agor ei lygaid i sylwi ar yr annhrefn oedd yn ffŷnu, darganfyddwyd yn Italy, gopi o *Pandects* Justinian—casgliad talfyredig o ddeddfau Rhufain a wnaed gan ddau ar bymtheg o gyfreithwyr, trwy orchymyn yr ymherawdwr Justinian. Tarawyd dynion dysgedig â syndod at ei berffeithrwydd a'i degwch. Wedi dechreu cofnodi rhagreolau *(precedents)*, a chael cyfraith ysgrifenedig, yr oedd yn angenrheidiol cael rhyw ddosbarth o ddynion i ymroddi i'w hastudio; ac felly daeth rhywbeth heblaw medr i drîn arfau i gael edrych arno yn anrhydeddus.

*Y gwahanol deyrnasoedd yn dyfod i gymeryd dyddordeb yn helynt eu gilydd.*—Tra yr oedd awdurdod y goron mor gyfyngedig, a thra yr oedd annhrefn ymhob gwlad, yr oedd gwahanol deyrnasoedd Ewrop yn byw ar wahân, heb hamdden na thuedd i ymyraeth yn materion eu gilydd. Yn y bymthegfed ganrif, wedi i'r brenhinoedd hyn ennill llawer o awdurdod, a chael eu teyrnasoedd i drefn, dechreuasant edrych o'u hamgylch, a chymeryd dyddordeb yn helyntion eu gilydd. Erbyn hyn, trwy brïodas Ferdinand, brenin Aragon, âg Isabella, brenhines Castile, yr oedd Spaen wedi cyraedd ei maintioli mwyaf, ac yr oedd Ffrainc wedi estyn llawer ar ei therfynau. Wedi i wahanol deyrnasoedd Ewrop gyraedd y fath faintioli, ac ennill y fath nerth, dechreuasant ofni rhag i ryw un ddyfod yn ddigon galluog i ddarostwng y lleill. Esgorodd yr ofnau hyn ar athrawiaeth—y bwysicaf mewn gwleidyddiaeth ddiweddar —mantoliad gallu. O hyny hyd yn awr, i gynnal yr athrawiaeth hon i fyny, y mae dyfais gwleidyddion wedi bod ar ei lawn waith, ac afonydd o waed wedi eu tywallt. Pan oedd brenhinoedd y gwahanol deyrnasoedd yn dibynu mewn rhyfel ar y milwyr a ddygai y pendefigion i'r maes, yr oedd eu gweithrediadau yn araf ac aneffeithiol; ond mor fuan ag y daethant i feddu byddinoedd sefydlog, dechreuodd pethau newid. Dan yr esgus o fod yn barod i gyfarfod unrhyw ruthr sydyn o Loegr, yr oedd Charles VII. o Ffrainc yn cadw naw mil o wŷr meirch, ac un fil ar bymtheg o wŷr traed dan arfau yn wastadol. Dilynwyd ei esiampl gan frenhinoedd eraill Ewrop; ac yn fuan yr oedd ganddynt fyddinoedd a

allent weithredu yn gyflym ac effeithiol mewn gwlad dramor. O'r bymthegfed ganrif hyd yn awr, y mae yn anmhosibl ysgrifenu hanes yr un deyrnas bwysig, heb, i raddau helaeth, ysgrifenu hanes y teyrnasoedd amgylchynol.

*Cynnydd masnach.*—I gyfarfod â'r draul anferth sydd yn myned i gynnal y byddinoedd mawrion a gedwir dan arfau, y mae cyllidau y gwahanol deyrnasoedd, o herwydd cynnydd eu masnach, wedi cynnyddu yn fawr. Am ganrifoedd, o herwydd yr annhrefn a'r yspeilwyr oedd ymhob gwlad, bu masnach mewn sefyllfa isel iawn. Yn y cyfnod hwn yr oedd York a Llundain mor ddyeithr i'w gilydd, braidd, â phe buasai un yn Lloegr a'r llall yn yr America. Pan adferwyd iawn drefn i'r gwahanol deyrnasoedd, dechreuodd eu masnach adfywio. Yn nechre y bedwaredd ganrif ar ddeg, yr oedd dinasoedd Italy yn cario masnach fywiog ac ennillfawr â'r India trwy borthladdoedd y Môr Coch. Erbyn hyn yr oedd sidan wedi dyfod mor gyffredin, fel yr ymddangosodd mil o ddinaswyr Genoa mewn gorymdaith wedi eu gwisgo ynddo. Yn y ganrif hon yr oedd Flanders mor enwog am ei gwisgoedd llïan a gwlanen âg Italy am ei sidan. Cyn amser Edward III., byddai yr holl wlân Prydeinig yn cael ei yru drosodd i Flanders i'w weithio yn ddillad. Trwy gynnyg cyflog uchel iddynt, llwyddodd Edward i gael gan rai o wehyddion y wlad hono i ymsefydlu yn Lloegr, ac i ddysgu eu celfyddyd i'r Saeson. Hyd y bymthegfed ganrif, yr oedd morwriaeth Ewrop yn gyfyngedig i Fôr y Canoldir a'r Baltic. O herwydd ei sefyllfa gyfleus, Flanders oedd marchnad fawr y byd. Yno y dygid nwyddau o'r dwyrain a glànau y Baltic, ac yno yr äi marsiandwyr y gwahanol wledydd i'w prynu. Yn y ganrif hon cymerodd cyfnewidiad pwysig mewn morwriaeth le; cyfnewidiad a fu yn effeithiol i newid llwybr masnach. Don Henry o Portugal, un o'r tywysogion mwyaf deallus ac anturiaethus a fu yn eistedd ar orsedd erioed, oedd y cyntaf i weled y gwasanaeth a allai y nodwydd *(magnetic needle)* fod i'r morwr. O dan deyrnasiad y tywysog hwn, amgylchodd Cadben Diaz Benrhyn Gobaith Da. Yn fuan wedi hyn, hwyliodd Vasco de Gama gyda phedair o longau yr un ffordd, a chyrhaeddodd ddinas Calicut yn yr India yn llwyddiannus. Mor fuan ag y deallodd yr Arabiaid, y rhai a garient nwyddau yr India i gyfarfod yr Italiaid i borthladdoedd y Môr Coch, fod Gama wedi agor ffordd newydd i'r India, dechreuasant wenwyno meddyliau yr Indiaid yn ei erbyn, a bu agos iddynt ei ddinystrio. Wedi dyfod trwy lawer o beryglon a chyfyngderau, llwyddodd i ddychwelyd; a mawr oedd llawenydd trigolion Portugal pan gyrhaeddodd adref. Gwelsant fod masnach yr India ar unwaith wedi dyfod i'w dwylaw. Anfonwyd Alvarez de Cabral gyda thair ar ddeg o longau i'r India, yr hwn, ar y ffordd, a ddarganfyddodd Brazil, ac a gymerodd feddiant o honi yn enw brenin Portugal. Yn lle dilyn dull heddychol Gama, sefydlodd Cabral ddylanwad Portugal trwy rym arfau. Anfonwyd Albuquerque, dyn hynod am ei wroldeb a'i gallineb, i orphen y gwaith a ddechreuwyd gan Cabral. Darostyngwyd rhan helaeth o'r India, a gorfodwyd y tywysogion brodorol i gydnabod uchafiaeth brenin Portugal.

Tra yr oedd y dygwyddiadau hyn yn cymeryd lle yn y dwyrain, darganfyddwyd America gan Christopher Columbus. Wedi cynnyg ei wasanaeth yn ofer i Genoa a Phortugal, llwyddodd i ennill cefnogaeth

Isabella o Spaen. Ar y trydydd dydd o Awst, 1492, hwyliodd o borthladd Palos gyda thair o longau bychain, ac ar ol croesi y Werydd, ar y deuddegfed o Hydref, darganfyddodd ynys, a galwodd hi San Salvador. Yn fuan wedi hyny, darganfyddodd amryw fân ynysoedd eraill, y rhai, fel y tybiai, oedd yn perthyn i'r cyfandir mawr gorllewinol. Er mai Columbus oedd y cyntaf i ddarganfod y cyfandir hwn, eto Americus Vespucius, brodor o Florence, trwy gyhoeddi hanes ei fordaith iddo, a gafodd yr anrhydedd o roddi ei enw arno. Yn fuan ar ol ymsefydlu yn yr America, daeth y Spaeniaid i ddeall fod yno ddwy ymherodraeth fawr a chyfoethog; ac mor fuan ag y deallasant am danynt, penderfynasant eu darostwng a meddiannu eu cyfoeth. Gyda phum' cant o wŷr, darostyngodd Cortes Mexico, a darostyngodd Pizarro Peru gyda dau gant. Gwnaeth mŵngloddiau aur ac arian Mexico a Peru Spaen y deyrnas gyfoethocaf yn yr holl fyd. Cafodd y dygwyddiadau pwysig hyn—agoriad ffordd newydd i'r India, a dygiad y fath swm anferth o aur ac arian i arferiad—effaith fawr ar fasnach Ewrop. Yr oedd aur Peru yn angenrheidiol i gario'r fasnach â'r India ymlaen, oblegid telid am y nwyddau a ddygid oddiyno mewn aur ac arian. Dylifai nwyddau o'r Dwyrain i Ewrop, a dylifai arian o Ewrop i'r Dwyrain. Effeithiodd y fath ychwanegiad at yr aur a'r arian oedd mewn cylchrediad i godi pris llafur ac ymborth yn fawr. Oni bae am fŵngloddiau Mexico a Peru, buasai cyflog y gweithiwr yn llawer llai; ond buasai angenrheidiau bywyd yn îs ar gyfer hyny. Er mwyn dangos hyn, gallwn nodi deddf a wnaed yn Mhrydain, yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, i benodi pris llafur ac ymborth.

LLAFUR.

| | c. | |
|---|---|---|
| Am drîn gwair a chwŷnu .... .... | 1 | y dydd (heb fwyd). |
| Medelwyr yn Awst .... .... | 3 | " |
| Saer maen a Saer coed .... .... | 3½ | " |

NWYDDAU.

| | s. | c. |
|---|---|---|
| Gwenith (y chwarter) .... .... | 3 | 4 |
| Ych tew .... .... .... | 16 | 0 |
| Dafad .... .... .... | 1 | 2 |
| Mochyn .... .... .... | 3 | 4 |
| Gŵydd .... .... .... | 0 | 2½ |
| Cwrw (y galwyn) .... .... | 0 | 1 |
| Pâr o esgidiau .... .... .... | 0 | 4 |

*Cynnydd dysgeidiaeth a llênyddiaeth.*—Pan y mae cyfoeth gwlad yn cynnyddu, trwy gynnydd ei masnach, y mae gwybodaeth yn amlhâu, a llênyddiaeth yn myned rhagddi. Am ganrifoedd bu anwybodaeth Ewrop yn ei chadw yn dlawd, a'i thlodi yn ei chadw yn anwybodus. Yr oedd y naill yn cynnorthwyo y llall i'w chadw yn isel a thruenus. Yr ydym wedi cymeryd rhyw frâs-olwg ar hanes trigolion y gwahanol wledydd yn ennill eu rhyddid, ac hefyd ar gynnydd masnach ac iawn drefn hyd yr unfed ganrif ar bymtheg. Yn awr ymdrechwn gymeryd golwg led frysiog ar gynnydd gwybodaeth a llênyddiaeth i'r un amser. Y cam cyntaf a wnaed tuag at wneyd dysgeidiaeth yn gyffredinol oedd sefydlu ysgolion o dan ofal llëygwyr. Cyn hyn, yr oedd ysgolion mewn mynachlogydd, o dan ofal y mynachod, y rhai oeddynt yn anwybodus ac

ofergoelus eu hunain, ac yn tybio fod anwybodaeth yn fanteisiol i dduwioldeb. Edrychid ar weithoedd yr awduron clasurol fel llyfrau peryglus i'r ieuenctyd i'w darllen, ac ystyrid Virgil a Horace rywbeth yn debyg i fel yr edrycha llawer o'r Cymry ar Twm o'r Nant neu Jack Glàn y Gors. Yr oedd yr ysgolion hyn yn llawer mwy tueddol i feithrin anwybodaeth na dysgeidiaeth. Tua dechre yr unfed ganrif ar ddeg, agorodd amryw o wŷr llëyg, y rhai oeddynt wedi bod yn astudio dan yr Arabiaid yn Spaen, ysgolion yn y gwahanol wledydd, a dechreuasant gyfranu addysg mewn ysbryd mwy rhydd. Dechreuodd llênyddiaeth adfywio; ac er nad oes rhyw lawer o chwaeth nac o athrylith i'w gweled yn nghynnyrchion y cyfnod hwnw, eto yr oedd rhyw fath o fywyd yn well na'r tawelwch annaturiol yr oedd Ewrop wedi bod ynddo am gyhyd o amser. Nid ydym yn cael fod dim â fawr o werth ynddo wedi ei ysgrifenu cyn y drydedd ganrif ar ddeg. Yn y ganrif hon dechreuodd dosbarth o feirdd, a elwid *Troubadours*, ysgrifenu chwedlau rhamantol am Arthur, Charles Fawr, a gwroniaid Rhyfeloedd y Groes, pa rai a genid gyda'r delyn o flaen marchogion a boneddigesau. Mae y cyfansoddiadau hyn yn cynnwys cryn lawer o fywiogrwydd, a rhyw gymaint o farddoniaeth; ond nid oedd gan feirdd y cyfnod hwn un drychfeddwl am dŷnu cymeriadau y dynion, na rhoddi darlun têg o arferion a moesau yr oesoedd y byddent yn ysgrifenu am danynt. Yn yr oesoedd ofergoelus hyny derbynid y chwedlau gwylltaf a mwyaf afresymol fel gwirioneddau diammheuol. Yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, rhoddodd y chwedlau rhamantol hyn le i'r chwedlau allegol, ymha rai yr edrychid ar deimladau, rhinweddau, a nwydau llygredig, fel personau. Ystyrir fod Dante, Ariosto, a Tasso, wedi cario y dull hwn mor agos at berffeithrwydd ag sydd yn bosibl. Yn y ganrif hon ysgrifenai Petrarch ganeuon serch gyda llawer o deimlad, ond yn amddifad o'r naturioldeb a'r symlrwydd hwnw ag sydd yn hanfodol mewn cyfansoddiadau o'r dosbarth hwn. Ychydig yn ddiweddarach yn y ganrif hon, ysgrifenodd Boccaccio ei *Decameron*, nifer o chwedlau difyrus ac addysgiadol; ac y mae yn deilwng o sylw mai yn y cyfansoddiad hwn y rhoddir y darlun têg cyntaf o foesau ac arferion. Yn yr un ganrif, cyfansoddodd Geoffrey Chaucer, tad barddoniaeth Seisonig, ei *Canterbury Tales*, ar ddull y Decameron. Yr oedd Chaucer yn meddu pob peth ag sydd yn angenrheidiol i wneyd bardd o'r dosbarth cyntaf. O herwydd ei adnabyddiaeth helaeth o'r natur ddynol, llwyddodd i dŷnu pob cymeriad i berffeithrwydd. Teimla y darllenydd fod pob un yn berson byw—yn ddyn yn meddu cnawd ac esgyrn, a'r holl fân neillduolion hyny a welwn bob dydd yn dyfod i'r golwg yn nghymeriadau ein cymydogion. Y mae y marchog, y mynach, y cyfreithiwr, a'r masnachydd, yn cael eu dwyn yn fyw o'n blaen. Er fod ei iaith yn anhawdd ei deall, o herwydd y cyfnewidiad mawr sydd wedi cymeryd lle yn yr iaith Saesoneg er y pryd yr oedd ef yn blodeuo, ac felly ychydig mewn cymhariaeth sydd yn gydnabyddus â'i gyfansoddiadau, eto, cydnabyddir yn lled gyffredinol nad oes onid dau enw o fewn cylch llênyddiaeth Prydain teilwng i'w rhoddi wrth ei ochr, sef Shakspeare a Milton. O herwydd y rhyfeloedd cartrefol rhwng teuluoedd York a Lancaster, pa rai a barhasant am yspaid maith o amser, ni chafodd Chaucer yr un olynydd teilwng hyd amser Elizabeth. Bu amgylchiadau cyffelyb yn foddion i rwystro llênyddiaeth ymlaen yn Ffrainc hyd amser

Francis y Cyntaf. Yn y cyfnod hwn, ni chynnyrchwyd dim o nemawr werth mewn llênyddiaeth yn un o'r ddwy wlad. Bu llênyddiaeth yn fwy ffodus yn Italy yn y cyfnod hwn, ac aeth fwy ymlaen nag yn yr un wlad arall yn Ewrop.

*Arferion a dyfeisiau.*—Pan y mae gwlad yn isel mewn gwareiddiad, y mae y trigolion yn ymwisgo mewn dull coegwych. Y mae barbariaid hyd heddyw yn eu haddurno eu hunain â phlu, &c.; ond y mae gwareiddiad uchel bob amser yn syml. Yn yr oesoedd tywyll, yr oedd y dulliau rhyfeddaf a mwyaf dichwaeth a digrifol o ymwisgo yn ffŷnu. Gwisgai'r boneddigion esgidiau mor hirion nes yr oeddynt dan angenrheidrwydd i roddi cadwen o'u blaen i'r pen glin i'w dal i fyny. Yr oedd eu dillad wedi eu gwneyd i fyny o glytiau o wahanol liwiau, un lawes yn lâs, a'r llall yn werdd; un hosan yn goch a'r llall yn wen; botasen am un troed ac esgid am y troed arall. Yn y seithfed ganrif y dechreuwyd adeiladu tai o gèryg yn Lloegr; ac wedi hyny, am hir amser, nid oeddynt ond hynod afluniaidd ac anghysurus. Gosodid brwyn ar lawr yn lle coed neu gèryg, ac nid oedd ganddynt wydr ar y ffenestri, na simneïau hyd amser y brenin John; hyd hyny gadewid i'r mŵg ddïanc allan y ffordd y gwelai yn dda. Ni arferid tân ond yn unig i barotôi bwyd; a byddai raid i'r myfyrwyr yn Oxford a Cambridge, hyd amser Harri'r Wythfed, "redeg i dwymno eu hunain." Un o'r pethau hynotaf yn hanes y cenhedloedd a ymsefydlasant yn nhaleithiau yr ymherodraeth Rufeinig ydyw, y parch a delid ganddynt i'r merched. Ni roddai y Groegiaid na'r Rhufeiniaid, nac un o'r hen genhedloedd, nemawr barch i'r merched; ac edrychent arnynt fel crëaduriaid wedi eu gwneyd yn hollol at wasanaeth dynion, heb un cymhwysder ynddynt i ffurfio rhan o gymdeithas. Ond yr oedd eu sefyllfa yn wahanol iawn ymhlith y cenhedloedd gogleddol. Edrychent arnynt fel crëaduriaid cyfartal ymhob modd iddynt eu hunain. Ar y teimlad hwn y sylfaenwyd marchofyddiaeth *(chivalry)*, sefydliad ag oedd yn llawn o ffolineb, ond eto yn cynnwys rhai elfenau anrhydeddus. Byddai y marchog yn ei gyhoeddi ei hunan yn wâs gostyngedig i ryw foneddiges brydferth. Ymladdai a dyoddefai bob caledi yn dawel er ei mwyn, ac ystyriai ei hanrhydedd yn gysylltiedig â'i anrhydedd ei hun. Cafodd hyn effaith ddaionus ar feddyliau y merched, a daethant yn fwy teilwng o'r parch â ddangosid iddynt. Daeth ymlyniad y dynion wrthynt yn ffrwyth serch ac nid nwyd, a daeth ffurfio teulu a chartref yn bosibl. Bu hyn yn foddion i ddwyn mwy o weddusrwydd i'r arferion, ac o burdeb i'r moesau. Bu yr un pethau ag a fu'n cadw dysgedigaeth a llênyddiaeth mewn sefyllfa isel yn rhwystrau i nemawr o gynnydd gael ei wneyd mewn gwyddor a chelfyddyd am yspaid maith. Yn y drydedd ganrif ar ddeg, yr oedd Roger Bacon, un o'r dynion mwyaf a welodd y byd erioed, yr hwn a elwid yn dad athroniaeth, yn byw. Dyfeisiodd y chŵyddwydr, a phowdwr gŵn, a rhoddodd awgrymiadau am y pellddrych *(telescope)*, drychwydrau *(spectacles)*, mapiau, &c. O herwydd anwybodaeth yr oes yr oedd yn byw ynddi, edrychid arno fel un yn dal cymundeb â'r diafol, a bu llawer o'i ddyfeisiau yn gorwedd yn llonydd am flynyddoedd. Dyfeisiodd Murphy, Dutchman, gwmpawd y morwr. Dygwyd y gelfyddyd o wneyd melinau gwynt o'r Dwyrain gan y Crwysgadwyr, a daeth y gelfyddyd o wneyd papyr o'r un man. Dyfeisiodd Richard Walingford awrleisiau; ond ni

ddaethant i arferiad cyffredinol hyd yn ddiweddar iawn—nid oedd ond dau yn Mhrydain yn amser Edward y Cyntaf. Yn y ganrif hon hefyd y dechreuwyd arfer glô fel tanwydd yn Mhrydain. Yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, dyfeisiwyd llestri pridd, tyndalebau *(drafts for money)*, cardiau i ddifyru Charles VI., o Ffrainc, ac *oil-painting*, a dygwyd magnelau i arferiad. Yn y bymthegfed ganrif, gwnaed amryw ddiwygiadau yn y gelfyddyd o argraffu, dyfeisiwyd cerfiadaeth *(engraving)*, gan Albert Durer, dygwyd pympiau a gwydr i arferiad yn Mhrydain, a dyfeisiwyd oriaduron gan Peter Hale.

Wrth adolygu y cyfnod sydd wedi bod dan sylw, gwelwn fod symudiad mawr wedi ei wneyd, a bod y symudiad hwnw yn yr iawn gyfeiriad—ymlaen ac i fyny. Pe cymharem sefyllfa Ewrop yn yr unfed ganrif ar ddeg, â'i sefyllfa yn yr unfed ganrif ar bymtheg, caem fod gwahaniaeth mawr rhwng y ddau gyfnod. Gellir crynhoi y prif bethau sydd yn gwneyd y gwahaniaeth i ychydig le.

1. Yn yr unfed ganrif ar ddeg, yr oedd dylanwad y goron yn rhy fach, a gallu'r bendefigaeth yn rhy gref; ond erbyn yr unfed ganrif ar bymtheg, yr oedd dylanwad y goron wedi dyfod yn llawer rhy fawr. Am yspaid maith, bu'r dylanwad yr oedd y goron yn ei ennill yn barhäus yn fanteisiol i'r gwahanol deyrnasoedd; oblegid yr oedd yn gwneyd y llywodraeth yn ddigon cref i gadw trefn, ac i gosbi y troseddwyr; ond cynnyddodd ei gallu hyd nes y daeth yn anfanteisiol i ryddid y deiliaid. Pan ddaeth eu hadeg, dangosodd y gwahanol frenhinoedd nad oedd yr ewyllys yn eisieu; ac am ganrifoedd y mae Ewrop wedi bod yn gruddfan dan eu gorthrwm.

2. Cyn yr unfed ganrif ar bymtheg, yr oedd y bobl yn ofergoelus iawn—yn credu y chwedlau gwylltaf a ffolaf—yn cymeryd eu harwain gan yr offeiriaid, heb byth fyned i'r drafferth i edrych gyda dim "a oedd y pethau hyn felly." Erbyn hyn yr oedd cyfnewidiad mawr yn dechreu cymeryd lle. Yr oedd y bobl yn dechreu dyfod i farnu drostynt eu hunain. Nid oedd Wickliff, a Huss, a Jerome, wedi byw yn ofer. Athrawiaeth fawr Huss yn gystal a Luther oedd, mai cydwybod y *dyn ei hun* oedd i farnu, ac nad oedd gan esgobion na chynghorau hawl i farnu drosto. Am yr athrawiaeth hon, gellir dyweyd fel y dywedodd Fuller am athrawiaethau Wickliff, pan yn sôn am waith ei elynion yn taflu ei ludw i'r afon, "They were cast into the Swift, a neighbouring brook, running hard by. Thus this brook hath conveyed his ashes into Avon, Avon into Severn, Severn into the narrow seas, then into the main ocean. And thus the ashes of Wickliff are the emblem of his doctrine, which now is dispersed all the world over." Dygodd yr annibyniaeth meddwl hwn ffrwyth toreithiog mewn crefydd, llênyddiaeth, a gwyddor.

3. Am ganrifoedd yr oedd y meddwl wedi bod yn cael ei gymeryd i fyny gan chwedlau anhygoel, cwestiynau anorphen, a dychymygion gwâg—pethau na fwriadwyd i ddyn eu deall, ac na fyddent o un gwerth ymarferol iddo pe gallai eu deall. Erbyn diwedd y cyfnod sydd wedi bod dan sylw, yr oedd y meddwl wedi dyfod yn llawer mwy ymarferol, ac i'w gyfyngu ei hunan at y pethau hyny ag y gellir eu gwybod. Daeth pobl i ddeall fod gan ddyn rywbeth amgenach i'w wneyd yn y byd na chwilio am gàreg yr athronydd, &c.; ac o hyny hyd yn awr, y mae gwybodaeth a chelfyddyd wedi dyfod ymlaen yn gyflym.

4. Am gyfnod hir bu y bobl yn arfer ymostwng yn dawel i'r awdurdodau gwladol ymhob peth, heb gymaint a meddwl fod y fath beth ag iawnderau yn perthyn iddynt. Pan fyddai rhyfel cartrefol mewn gwlad, personau ac nid cwestiynau a fyddai yr achos o hóno. Pa un o ddau oedd i fod yn frenin, ac nid hawliau y bobl, a fyddai ger bron. Erbyn yr unfed ganrif ar bymtheg, yr oedd y bobl yn dechreu dyfod i ddeall eu hiawnderau i raddau. Yr oedd nerthoedd yn dechreu gweithio yn ddystaw a graddol am lawer o amser—mor ddystaw fel nad oedd na brenin na phâb yn sylwi arnynt—eto, yn myned ymlaen gyda gallu anorchfygol; yn ennill goruchafiaeth trwy nerth moesol yn gyffredin, ond ar rai adegau yn ffrwydro fel mynydd tanllyd, ac yn hyrddio y gormeswyr ymaith fel mân ûs o flaen corwynt, fel yn Ffrainc yn amser y chwyldröad, ac yn Lloegr yn amser Charles y Cyntaf. Y maent yn gweithio y dyddiau hyn yn Mhrydain, ac y maent yn sicr o orchfygu yn fuan neu yn hwyr.

For freedom's battle once begun,
Bequeathed by bleeding sire to son,
Though baffled off, is ever won.

---

# AMAETHYDDIAETH CYMRU.

Mae darganfyddiadau daearegwyr, fferyllwyr, a llysieuwyr, yn profi yn eglur nad oes un alwedigaeth yn gofyn am gydgyfarfyddiad cynifer o wybodaethau âg amaethyddiaeth, os ydyw i gael ei dwyn ymlaen ar egwyddorion dealladwy a dibynadwy, ac mewn ufudd-dod i ddeddfau a gofynion natur; ac eto, gydag eithriadau poenus a cholledus o fychain, nid oes un alwedigaeth yn llaw dynion llai eu dysg a'u gwybodaeth nag yw amaethwyr. Cyfaddefa y sawl sydd yn gwybod fwyaf am egwyddorion amaethyddiaeth, nad yw hi eto ond yn ei mabandod, ac fod yn alluadwy gwneyd llawer rhagor o'r ddaear nag sydd wedi cael ei wneyd hyd yn hyn, ac y gellir yn hawdd beri i ddau laswelltyn dyfu a blaguro lle y mae un yn awr yn cael gwaith caled i ddïanc rhag trengu. Nid rhyfedd, ynte, fod *diffygion* yn amaethyddiaeth *Cymru*, canys, hyd yn ddiweddar, yr oedd digon o honynt ynglŷn âg amaethyddiaeth Lloegr, lle mae gan y trigolion fanteision yn bresennol i ddarllen a meistroli cynnwysiad y gwahanol lyfrau sydd wedi cael eu cyhoeddi yn eu hiaith, yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, ar wahanol ganghenau amaethyddiaeth, a lle y gallant weled â'u llygaid eu hunain y gwahanol brawfiadau sydd wedi cael eu gwneyd gan ddynion gwybodus a chyfoethog, er mwyn profi y buddioldeb o fabwysiadu dulliau newyddion o drîn y ddaear, fel na byddo un achos i ddynion heb swllt i'w wario ar brawfiadau, fel y cyfryw, ac ar gynlluniau newyddion, os nad ydys eisoes wedi profi yr atebant y dyben proffesedig mewn golwg, ymdrafferthu

yn eu cylch. Mae gan y Saeson hefyd Golegau Amaethyddol, yn y rhai yr esbonir holl egwyddorion amaethyddiaeth, ynghyda phob gwyddon a ddŵg berthynas â hi, tra nad oes gan y Cymro ond ychydig iawn o lyfrau gwasanaethgar ar amaethyddiaeth yn ei iaith ei hun; a chan nad ydyw ein mamiaith yn iaith gwyddon, gorfyddir y rhai a lefarant, neu a ysgrifenant ar y testun hwn, wneyd defnydd o eiriau gwyddonol Saesoneg wedi neu heb eu cyfieithu i'r Gymraeg; a chan nad oes ond nifer fechan o amaethwyr Cymreig wedi derbyn addysg gyffredinol, chwaith glasurol neu wyddonol, nid sŷn eu bod yn diflasu ac yn cael eu dychrynu gan y geiriau y mae yn anmhosibl peidio eu defnyddio wrth draethu ar faterion sydd wedi cael eu dehongli gan ddynion y gorfuwyd hwynt i *grëu* geiriau newyddion i osod allan eu syniadau newyddion. Wrth ystyried yr amgylchiadau anfanteisiol dan ba rai, mewn llawer ystyr, y llafuria y Cymry, mewn cymhariaeth â'r Saeson, eu tyddynod, nid ydym yn rhyfeddu fod diffygion yn dynodi eu dull o drîn y ddaear, ond sŷnu yr ydym ni eu bod yn medru gwneyd gystal ag y gwnânt. Ac y mae cyfiawnder a chware têg yn gofyn i ni wrthdystio yn erbyn barn estroniaid o Saeson neu Ysgotiaid ar ddull y Cymry o drîn eu daear. Credu yr ydym nad oes neb ond Cymro addysgiedig a phrofiadol, ac wedi gweled dull y Saeson a chenhedloedd eraill o amaethu, ag sydd yn gymhwys i iawn farnu diffygion amaethyddiaeth yn Nghymru, a nodi y *gwir* a'r *holl* achosion o honynt, ynghyda'r moddion goreu i'w defnyddio, mewn trefn i wella y cynlluniau sydd yn awr mewn ymarferiad. Nid oes un ffaith yn fwy hysbys yn y Dywysogaeth na'r camsyniadau dinystriol y mae y Saeson a'r Ysgotiaid, er yn amaethwyr llwyddiannus yn eu gwlad eu hunain, wedi wneyd wrth geisio diwygio dull yr hen Gymry o geisio perswadio eu mynydd-dir i roddi bara i'w bobl, a gwellt i'w haniteiliaid. Yn lle ymgynghori â'r brodorion, ac astudio y gwahaniaeth sydd rhwng daear Cymry âg un Lloegr neu Ysgotland, ynghyda hinsawdd y wlad, uchder y tir, pellder marchnadleoedd (hyd yn ddiweddar, pan y mae ffyrdd haiarn wedi gwneyd pawb a'r pellaf yn gymydogion), diystyrent a gwawdient bob cynllun o eiddo y Cymry, a dygent i mewn y drefn Seisonig neu Ysgotaidd yn grynswth, heb newid dim arni er ei chyfaddasu ar gyfer amgylchiadau gwlad a wahaniaethai gymaint ymhob ystyr amaethyddol oddiwrth eu gwledydd hwy eu hunain.

Yn gyntaf, ni a enwn rai o'r prif ddiffygion yn amaethyddiaeth Cymru; ac wrth nodi y moddion angenrheidiol i'w defnyddio er eu gwella, ni a goffäwn y gwahanol achosion o'r diffygion hyny. Ymddengys diffygion yn Amaethyddiaeth Cymru yn y pethau canlynol:—(1.) Fod llawer o'r tir heb gael ei sychu neu ei *ddrainio*. (2.) Fod y rhan oreu o'r achles, sef y biswal, yn cael ei wastraffu. (3.) Fod y meusydd mewn llawer ardal yn dwyn cymaint o chwŷn âg o ŷd. (4.) Fod mîn neu ochrau y cloddiau yn cael eu gadael heb eu gwrteithio. (5.) Fod ŷd yn cael ei hâu mewn tir mawnog. (6.) Fod cnydau o ŷd yn cael dilyn eu gilydd am flynyddau o'r bron. (7.) Fod rhy fach o achles, neu achles anmhrïodol, yn cael ei roddi i'r tir. Ac yn ddiweddaf, fod yr achles a ddyferir gan grëaduriaid a borant yn y meusydd, yn cael ei adael i grasu yn deisenau yn lle cael ei daenu bob dydd ar hŷd wyneb y tir.

Y diffyg cyntaf y cawn sylwi arno ydyw, y diffyg o sychu neu *ddrainio*

y tir. Nid oes eisieu gwastraffu llon'd cwilsen o inc i brofi na ddylid dim *hau* ŷd mewn tir heb fod yn sych, am y cariai y dwfr i ffordd rinwedd yr achles, neu fe'i gwanhâ gymaint fel na bydd ond dwfr ac achles, neu megys y dywed potiwr am wydraid gwan o wirod—taw "*dŵr* a gin." ydyw, ac nid "*gin* a dŵr." Peth arall: nid yw gwrês yr haul, yr hwn a alluoga dir sych i fagu a meithrin yr hâd a heuir ynddo, yn gwneyd dim i dir gwlŷb ond troi y dwfr sydd ynddo yn anwedd; ac y mae ei sychu, dros dipyn, yn gymaint gorchwyl ag a all yr haul gyflawni! sychu y dwfr yn y tir ac nid gwresogi y tir a wna yr haul dan yr amgylchiadau hyn. Nid ar bridd ac achles yn unig y bydd byw blanigyn a llysieuyn, ond ar gylchrediad awyr trwy ddaear wedi ei rhwyllogi gan *ddrains*. Mae yn ofynol i'r ddaear fod wedi cael ei gwneyd yn ddigon rhwyllog i'r gwlyb, a'r awyr, a'r achles i dreiddio trwyddi, fel y gallo y llysieuyn, trwy ei wreiddiau, gael ei damaid yn ymyl ac yn ddidrafferth. Heblaw hyn, mae tir gwlyb yn llawn surni, ac nid oes a fyno un porwr, nac yn eidion, nac yn geffyl, nac yn ddafad, nac ychwaith hyd yn nôd yn asyn, a chyffwrdd â blewyn a dyfo ar dir heb ei sychu, pan dröer ef yn dir pawr, *os* bydd rhyw flewyn gwell i'w gael yn rhyw ran arall o'r maes. Afreidiol ydyw enwi yr anghyflëusdra o droi a thrîn daear ag y mae yr anifeiliaid yn suddo i lawr hyd at eu boliau wrth ei throi, neu yr afresymoldeb o ddysgwyl cnŵd mewn tir mor laith fel y rhaid i lawer o'r hâd bydru ynddo, yn lle egino.

(2.) Y *biswal* ydyw hanfod achles anifeiliaid, ac eto gadewir i hwn redeg ffwrdd i nentydd ac afonydd, fel pe na byddai ond gwenwyn. Yr un peth fyddai gwrthod trwyth y ddalen o China, a bwyta y dail, â bod yn euog o'r fath waith a hyn. Dylai y domen dail gael ei beisgawnu mor ofalus â dâs o wair, a dylid cuddio ei gwyneb â phridd fel y gweithier hi trwyddi, fel toes gan surdoes, ac y dïogeler y *gases* rhag dïanc o hóni: dylai fod dan dô fel na byddo y gwlaw yn cario ymaith ei rhinwedd; ac er mwyn ei chadw yn llaith, dylid, yn awr ac yn y man, dywallt ystêneidiau o biswal dros ei gwyneb; ac er mwyn bod digon o hwnw wrth law, dylai fod *tank* yn y buarth i dderbyn pob dyferyn o fiswal a ddaw oddiwrth y crëaduriaid, a byddai yn ofynol bod *drains* o'r beudai a'r ystablau, a'r cytiau llôi a'r moch, yn arwain i'r *tank*. Caiff yr amaethwr ei dalu yn dda am iawn gymysgu a beisgawnu ei domen dail, a gofalu am fod pob gwelltyn wedi pydru, hyd nes byddo yr holl dwmpath yn un talp du, ac yn tòri fel ymenyn. Gall yr amaethwr, os oes rhedyn ar ei dir, ychwanegu ei achles trwy eu lladd pan yn *wyrdd*, canys cynnwysant y pryd hwnw lawer o elfenau sebonawl, y rhai a ellir eu dïogelu rhag dïanc yn ngwrês yr haul trwy eu cuddio â phridd neu laid; a phe gwneid ond gosod achles ffres a mawn bob yn ail haen, byddai yr holl gymysgedd, ond iddo gael poethi *(ferment)* i berffeithrwydd, yn llawn mor rinweddol âg achles pur, digymysg, allan o fuarth anifeiliaid. Gweithreder yn ol y cyfarwyddiadau canlynol:—Cymerer amryw lwythi cert o fawn o'r pwll, a gosoder hwynt mewn rhyw le sych i sychu gronyn cyn gwneyd defnydd o honynt; yna carier hwynt i'r man lle bwriedir adeiladu y domen dail; gosoder i lawr sylfaen o fawn, yn chwech modfedd o drwch, a phymtheg troedfedd o lêd; ar ei phen gosoder modfedd o dom da o'r buarth, ac yna chwech modfedd yn rhagor o fawn, a thros hyny bedair modfedd o dom, ac felly ymlaen, bob

yn ail haen, hyd nes cyrhaeddo y dâs yr uchder o bedair neu bump troedfedd. Dylai yr holl dâs wedi hyn gael ei hamgylchu gan fur o fawn, a'i chuddio â'r un peth. Y cyfartaledd rhwng mawn ac achles fydd—saith llwyth o'r olaf ar gyfer un ar hugain o'r blaenaf, os bydd y tywydd yn fwyn, ond gofynir rhagor o dom os bydd yr hîn yn oer. Dros y dâs dylid yn awr wasgaru lludw neu galch, yn y cyfartaledd o un llwyth cèrt i wyth llwyth ar hugain o'r cymysgedd. Ni ddylai fod y dom wedi poethi llawer cyn y caffo ei ddefnyddio, ac os gwlychir ef â biswal, neu ddyferion y domen, bydd yr effeithiau yn fwy cyflym. Ni ddylid gwasgu y dâs i lawr, ond gadawer iddi ostwng yn ol ei phwysau ei hun. Os bydd y gwrês a grëir gan yr ymboethiad yn fawr iawn, gellir troi y dâs, ac ychwanegu rhagor o fawn. Gwna hyn gadw i fyny y gwrês hyd nes byddo yr holl dalp wedi cael ei wneyd yn *un* priddyn du unffurf, fel nad ellid gwahaniaethu y mawn oddiwrth y dom, na'r dom oddiwrth y mawn. Gellir ei ddefnyddio wedi hyn yn ol yr un cyfartaledd ag y gwnaethid taenu dom buarth ar hŷd faes.

(3.) Bai a cholled fawr ydyw gadael ochrau y meusydd heb eu gwrteithio. Yn Lloegr gwrteithir pob modfedd o'r maes hyd at waelod y cloddiau; ond yn Nghymru, mewn aneirif leoedd, mae erwau cyfain o ddaear yn cael eu hesgeuluso, gan ddwyn dim ond chwŷn, a'r rhai hyny yn cael eu gadael i *hadu*, a gwasgaru eu hadau gwenwynllyd dros y meusydd cylchynol.

(4.) Hauir ŷd mewn *mawndir*, heb ystyried taw math o achles parod ydyw hwnw o waith a pharotöad natur, gan ei fod yn gyfangwbl gynnwysedig o lysiau wedi pydru. Tybiwn y dichon i'r hyn a ganlyn fod o wasanaeth i amaethwyr ag sydd â mawndir ar eu tyddynod. Yn Lincolnshire yr oedd gwastad-dir ëang o fawndir yn gorwedd ar làn y môr, ac yr oedd y môr yn uwch na'r mawndir hwn. Dïogelid y tir rhag gorlifiadau y môr gan gloddiau uchel a llydain. Y peth cyntaf a wnawd oedd tòri camlas trwy ganol y gwastad-dir, yr hwn a atebai ddau ddyben —ffordd i dramwyo trwyddo, a derbynle i'r dwfr a redai o'r gwahanol *ddrains* a wnawd ynddo er mwyn ei sychu. Wedi ei sychu, tröwyd ef yn gŵysi trwchus, dyfnion, a llosgwyd y rhai hyny, a hauwyd maip yn y tir, a chariwyd hwynt i ffwrdd i gael eu bwyta ar ddaear galed, neu i'w gwerthu. Yr *ail* flwyddyn gwnawd yr un peth, a'r drydedd flwyddyn dilynwyd yr un cynllun, ac felly ymlaen, hyd nes dynesu at y clai, pan y cloddiwyd ffosydd yn hwnw, ac oddeutu pedair llath oddiwrth eu gilydd, pan y taenwyd y clai oeddid wedi ei gloddio dros y ddaear rhwng y ffosydd, a llanwyd hwythau eu hunain â mawn. Pan fyddai digon o ddyfnder yn y clai, taenid deg ar hugain certaid o hóno dros bob erw, a'r canlyniad oedd i'r clai ymgylymu â'r mawn a'i ddifa, fel nas gwelsid arwyddion o'i fodolaeth. Nid oes dim rhagor o losgi i fod, gan y gwnai hyny leihâu y clai. Yr oedd y mawn yn Lincolnshire yn bum' troedfedd o ddyfnder, ond y mae wedi cael ei lyncu i fyny yn llwyr gan y clai, ac y mae yr holl wastad-dir yn awr yn dir pawr digon toreithiog i gynnal eidion, a bwysa ugain pwys y chwarter, am ugain wythnos. Y rheswm paham y cymeradwyir hâu *Swedes* am y pedair blynedd cyntaf yw, eu bod yn werth llawer iawn pan eu carier ymaith oddiar y man lle tyfasant. Cyfodwyd cymaint â deugain tunnell yr erw ar y mawndir hwn. *Drilid* hwynt yn rhesi wyth ar hugain o fodfeddi oddiwrth eu gilydd, a

deg modfedd oddiwrth eu gilydd yn y rhês; ac yn ol y cyfartaledd hwn, cymerai pob meipen i fyny ddau gant a phedwar ugain o le. Yn awr, y mae 6,272,640 o fodfeddi ysgwâr mewn erw o dir, ac, a'u gosod oddiwrth eu gilydd yn ol y pellder a enwyd, gellid cyfodi 22,4074/7 o faip ar un erw o dir. Yn ol tri phwys y feipen, byddent yn ddeg tunnell ar hugain yr erw; yn ol pedwar pwys y feipen, cyrhaeddent ddeugain tunnell yr erw; yn ol pum' pwys y feipen, cyrhaeddent ddeg tunnell a deugain, a deg pwys yr erw. Gwnai ddeg tunnell ar hugain o *Swedes* yr erw, yn ol 6c. y *bushel*, o 80 pwys, gyraedd 21p. yr erw; a deugain tunnell yr erw, yn ol 1s. y *bushel*, gyraedd 56p. yr erw. Pe ceid y prisiau hyn, ni thalai dim cystal â *Swedes* mewn mawndir newydd ei dòri i fyny. Cyfodid ar y mawndir hwn gymaint a deugain tunnell o *carrots* gwŷnion, a chyfodid o bedwar i wyth chwarter a hanner o wenith ar fawndir wedi ei *glaio*, oblegid clai ar y cyntaf ydyw yr unig achles a ofyn. Cymysger mawn â chalch, a gwna y cymysgedd gymaint o lês, fel *top dressing*, â *guano*. Mae y prawf wedi cael ei wneyd.

(6.) Fod cnydau o ŷd yn cael dilyn eu gilydd am flynyddau o'r bron heb ddim achles ond y tro cyntaf. Nid oes un ddaear yn Mhrydain yn ddigon toreithiog i allu dal y fath drêth ddyspyddawl â hon heb, cyn y cnŵd diweddaf, gyhoeddi y ffaith trwy chwŷn a phob math o ffwlach. Byddai yr un peth dysgwyl i ddyn neu anifail weithio, y naill wythnos ar ol y llall, heb roddi iddo ddim bwyd.

(7.) Mae rhy fach o achles, neu achles anmhrïodol, yn cael ei roddi i'r ddaear, heb ystyried taw yr unig gynllun prïodol i achlesu daear ydyw dychwelyd iddi bob blwyddyn yr elfenau a gymerwyd o hóni gan y cnŵd blaenorol. Bydd gwerth *amaethyddol* achles buarth yn ol *rhinwedd* bwyd yr anifeiliaid. Os ar wair a gwellt y porthir hwynt, nis gellir dychwelyd, a bod yn ofalus am y biswal, sef ei hanfod, ond yr elfenau a'u cyfansoddant; ond beth am elfenau yr esgyrn, y gïau, y brasder, a'r gwêr, y caws, a'r ymenyn, a gymerwyd allan o'r ddaear.

Ac yn ddiweddaf, ni wneir defnydd iawn o'r achles a ddyferir gan yr anifeiliaid a borant y meusydd yn yr hâf. Gadewir iddo grasu yn deisenau yn lle ei wasgaru ar hyd wyneb y caeau. Ni chyffwrdd un crëadur â'r manau a or-achlesir gan y dyferion hyn hyd y flwyddyn nesaf, tra, os gwasgerir ef y diwrnod y disgyno, tŷf meillion ar y manau ymhen ychydig wythnosau, ar ol gwlaw, a phorir hwynt yn llwm gan yr anifeiliaid. Yn Switzerland, y mae dernyn o ucheldir yn perthyn i bob tyddyn yn y gwastad-diroedd culion wrth odreon y mynyddoedd. Mae ffordd bell o'r gwaelod i'r ucheldir hwn, ac anmhosibl ydyw cario achles iddo, oblegid yn y gauaf gorchuddir ef gan drwch mawr o eira. Nid yw yn alluadwy ei achlesu ond yn ystod yr hâf. Gŷrir y gwartheg blithion a hesbion i'r ucheldir hwn dros fisoedd yr hâf, a chymerir eu gofal gan eneth a hogyn: gorchwyl yr eneth ydyw gwneyd caws ac ymenyn, a gwaith yr hogyn ydyw bugeilio yr anifeiliaid, a dysgwyl iddynt domi, pan y gwesgyr eu dyferion âg ysgubell a garia bob amser gydag ef, ac yn y dull hwn achlesir tir pawr.

Yr ydym wedi enwi rhai o brif ddiffygion amaethyddiaeth yn Nghymru—o'r hyn lleiaf, y rhai a ystyriwn ni y rhai penaf, ac y mae yn awr yn bryd nodi yr achosion sydd wedi, ac yn, cynnyrchu y diffygion hyn. Ystyriwn taw prinder arian—prinder gwybodaeth—absennoldeb

*leases*—a gormodedd o ymgeiswyr am dyddynod, ydyw y prif achosion fod amaethyddiaeth mor bell yn ol yn y Dywysogaeth.

Mae ychydig yn gwybod y ffordd i drîn eu daear yn well nag y gwnânt, ond nid oes ganddynt ddigon o arian i wneyd hyny; tra mae digon o arian gan eraill, ond heb wybodaeth o egwyddorion cyntaf amaethyddiaeth; a cheir ychydig nifer yn meddu gwybodaeth ac arian, ond yn ofni gwella eu tyddynod rhag arswyd y cyfodir eu hardreth; ac nid yn ddiachos y petrusant wella eiddo eraill, gan fod, ysywaeth, ddigon o esiamplau o arglwyddi yn trethu gwelliannau cyn i'w hawdwyr gael eu digolledu am eu gwneyd. Nis gellir trîn daear mwy nag y gellir dwyn ymlaen unrhyw alwedigaeth arall heb *arian*. Ar lawer o *estates* mawrion yn Lloegr, ni osodir tyddyn i un deiliad os na fedr roddi profion boddhäol ei fod yn berchen digon o arian i'w alluogi i wario—os bydd gofyn—10p. ar bob erw a gynnwys y tyddyn. Dylai yr arglwyddi tir yn Nghymru ddilyn eu hesiampl trwy ommedd gosod eu tyddynod i bersonau heb fodd i'w hiawn drîn. Mae eisieu *capital* yn enwedig ar amaethwyr, yn gymaint â bod eu harian yn hŵy yn dychwelyd i'w llogellau nag arian masnachwyr. Rhaid iddynt roddi coel blwyddyn i'r ddaear cyn y medr hi ad-dalu iddynt am ei thrîn, a rhaid i lawer o amser fyned heibio cyn y tâl yr anifeiliaid am eu magu a'u pesgi. Y nôd yr ymdrecha y Sais yn bresennol ei gyraedd ydyw troi cîg llo yn gîg eidion, a chîg oen yn gîg myharen mewn dwy flynedd. Ni oddef *natur* iddo wneyd hyn mewn llai o amser.

Dylai fod gan yr amaethwr ddigon o arian i dalu am arloesi tir gwyllt, o ba un y mae digonedd yn Nghymru; sychu ffosdiroedd, os ydynt ar ei dyddyn; ac y maent ar filoedd o leoedd; a dylai fod yn alluog i brynu *artificial manures*, a bwydydd i'w anifeiliaid, tra byddo yn llafurio i ddwyn ei dyddyn i gyflwr o ddiwylliad a hunangynnaliaeth, ac i'w alluogi i ddysgwyl am yr amserau goreu i werthu gwahanol gynnyrchion ei ffarm, yn lle gorfod ymadael â hwynt am y geiniog iselaf er mwyn talu ei rent, neu wneyd i fyny ryw symiau eraill gofynedig oddiwrtho wrth drîn ei dyddyn. Gellir dyblu a threblu gwerth llawer tyddyn pe medrai y deiliad ond hebgor can' punt neu ddau i'w treulio i wneyd gwelliannau.

Gwnai llai o erwau y tro i lawer deiliad fel tyddyn, pe byddai yn berchen digon o arian i'w gwrteithio fel y dylai, a mwy buddiol ac ennillfawr ydyw ychydig erwau wedi eu gwrteithio yn drwyadl, na llawer wedi eu hanner gwrteithio. Gormod o ddaear, o herwydd diffyg arian, sydd dan law y rhan fwyaf o amaethwyr. A chyn byth y gellir gwneyd yr hyn ddylid ei wneyd i beth mor ddrud a daear—*luxury* y gŵr goludog, ys dywed y *Times*—rhaid i un neu ddau gyfnewidiad gymeryd lle: rhaid gosod y tyddynod mawrion i ddynion yn berchen digon o arian i'w trîn yn brïodol; neu, ynte, rhaid eu rhanu yn erwau, a hanner erwau, a'u gosod i lafurwyr, y rhai a'u trinant â'r bâl a'r rhaw, fel gardd, yr hyn ydyw y dull goreu o drîn unrhyw fath, a phob math, o ddaear. Nid yw sefyllfa dymmorol deiliad gwan yn ceisio dal a thrîn tyddyn heb ddigon o arian, hanner mor gysurus âg eiddo llafurwr dyddiol; mae yr olaf yn byw yn well, yn llai ei ofal fil o weithiau, ac nid yw, yn gyffredin, yn gweithio mor galed a'r blaenaf. Ac ni wnai y llafurwr dyddiol newid byd â'r gŵr y gweithia ar ei dir. Nid yw yn alluadwy i ddeiliad tlawd wneyd cyfiawnder âg ef ei hun, nag â thyddyn ei feistr, heb ddigon o

arian i'w wrteithio yn drwyadl; ac y mae llawer un, wrth geisio gwneyd i fyny ddiffyg arian, trwy orlafur personol, a gorlafur ei deulu, wedi gwneyd cam âg ef ei hun, ac â'i dylwyth, heb wella un mymryn ar ei amgylchiadau.

*Anwybodaeth* sydd achos toreithiog arall o ddiffygion mewn amaethyddiaeth yn Nghymru. Gŵyr pob dyn canolig o wybodus fod cysylltiad agos yn bodoli rhwng daeareg âg amaethyddiaeth, a bod ffrwythlondeb neu anffrwythlondeb pob daear yn dibynu yn *naturiol* (h.y. heb gymhorth gwrtaith ac achles) ar gyfansoddiad y graig, o ba un, wedi ei malurio, ynghyda llysiau a phlanigion wedi pydru, y gwneir i fyny bob math o ddaear. Ac nid yw yn awr yn beth anarferol i bwrcasydd, pan welo hysbysiad fod tyddyn ar werth, i ymgynghori â *Geological Map*, er mwyn gwybod ar ba fath o *formation* mae y ffarm yn gorwedd. Edrycher dros *fap* Cymru, a cheir gweled taw y graig lâs, neu y llechgraig, sydd yn gorwedd dan y rhan fwyaf o'n gwlad. Ceir darnau bychain o hóni, megys yn Siroedd Brycheiniog, Caerfyrddin, Penfro, ac eraill ellid eu henwi, yn gorphwys ar y dywodgraig goch, a darnau bychain yn gorphwys, hwnt ac yma, ar y graig lwyd, neu y *traprock*, a'r priddyn a geir oddiwrth y creigiau hyn ydyw yr un goreu o lawer tuag at gyfodi ŷd a phorfa. Fel y byddo y graig, felly hefyd y bydd y priddyn a ddaw oddiwrthi. Ni chynnwys y graig lâs, neu y llechen, fawr ddim tuag at gynnaliaeth llysiau a phlanigion, heb son am fagwraeth a chynnydd, tra, o'r tu arall, y cynnwys y graig gôch, a'r graig lwyd, holl ddefnyddiau *mettelaidd* ŷd a phorfa, a phob peth a dŷf allan o'r ddaear.

Mae anwybodaeth o fferylliaeth amaethyddol yn anghymhwyso un dyn i wrteithio daear yn ol egwyddorion gwyddonol. Mae yn ofynol deall fferylliaeth y ddaear, fferylliaeth yr awyr, fferylliaeth dwfr, fferylliaeth achlesau, a fferylliaeth llysiau a phlanigion.

Pe deallai amaethwr fferylliaeth *priddyn*, a phe medrai ei elfenu, gallai ddyweyd pa sawl rhan o hóno sydd wedi deillio o'r creigiau, pa sawl rhan o lysiau wedi pydru, a pha sawl rhan o'r gwlybwr o'r awyr: o'r awyr y daeth y rhan a ellir losgi o hóno, ac o'r gwlybwr y daeth y rhan a dröir yn anwedd wrth ei llosgi, ac o'r metteloedd y daeth y rhan anlosgadwy o hóno. Mae yn rhaid llosgi pob math o ŷd a llysiau, os ydys am wybod sut ymborth maent yn ofyn gael: dengys y *lludw* y rhan *fettelaidd* o'r ymborth: ni ddywed gelwydd i foddio neb. Gwyddys fod planigion ac anifeiliaid yn cynnwys, heblaw elfenau cyfansoddiadol awyr a dwfr, megys *oxygen, hydrogen, nitrogen, carbon,* amrai briddoedd a metteloedd. Yn y gwaed, er enghraifft, ceir *chlorine, phosphorus, sulphur,* a rhanau mettelaidd *potassa, soda,* calch, a *magnesia*, ynghyda haiarn ac olion *manganese*. Mewn *ŷd* a *phorfa* mae *silica* (fflint) yn elfen hanfodol, a dywedir fod gwenith a choffi yn cynnwys copr, tra mae planigion eraill yn cynnwys metteloedd eraill. Yn awr, mae yn rhaid fod yr elfenau hyn wedi deillio yn uniongyrchol, neu yn anuniongyrchol, o'r creigiau, a'r gofyniad naturiol yw, A ydyw y rhai hyn yn abl i'w gyfranu? Cyfrifir fod y graig a elwir *granite* yn cuddio dwy fil o filldiroedd ysgwâr yn Mhrydain, ac yn cynnwys, yn ol elfeniad ei metteloedd, *silica, alumina, soda, potassa, magnesia,* calch, a haiarn. Mae y creigiau llwydion *(traprocks)* yn fwy ëang eu dosbarthiad na'r *granite*, ac yr un mor amrywiol yn eu cyfansoddiad, ac yn cynnwys yr elfenau uchod mewn cyfartaledd mwy ffafriol fyth.

Mewn llawer o'r rhanau mwyaf ffrwythlawn o Ysgotland, megys y Lothians, Fife, a Berwickshire, mae y creigiau llwydion wedi tòri trwy y creig-haenau *(strata)*, ac wedi ychwanegu at amrywiaeth elfenau cyfansoddiadol y priddyn.

Er mwyn dangos fod rhanau o wenith, haidd, ceirch, a ffâ, wedi deilliaw oddiwrth fetteloedd y creigiau, sylwer ar y daflen ganlynol, yr hon a brawf fod gwahaniaeth yn y *quantity* a gymer pob un o'r ddaear. Mae can' pwys o ludw gwenith, haidd, ceirch, a ffâ, yn cynnwys bob un,

| | Gwenith. | Haidd. | Ceirch. | Ffâ. |
|---|---|---|---|---|
| Potash ........ | 19 | 12 | 6 | 19½ |
| Soda .......... | 20½ | 12 | 5 | 38 |
| Lime.......... | 8 | 4½ | 3 | 7¾ |
| Magnesia ...... | 8 | 8 | 2½ | 7½ |
| Alumina ...... | 2 | 1 | 0½ | 1½ |
| Oxide of Iron .. | 0 | olion | 1½ | 0 |
| Silica ........ | 34 | 50 | 76½ | 6 |
| Sulphuric Acid | 4 | 2½ | 1½ | 4 |
| Phosphoirc Acid | 3½ | 9 | 3 | 13¾ |
| Chlorine ...... | 1 | 1 | ½ | 2 |
| | 100 | 100 | 100 | 100 |

Fel prawf o ffrwythlondeb y creigiau llwydion, gellir coffâu y ffaith y gwna dyfrhâu maes â dwfr wedi rhedeg drwyddynt a throstynt, ychwanegu cynnydd porfa arno yn ddirfawr; ac y mae ei ddylanwad ar y berw dŵr *(water-cress)*, pan dŷf yn y cyfryw ddwfr, bron yn anghredadwy o ffafriol i dyfiant.

Gwybodaeth o fferylliaeth pob llysieuyn a phlanigyn a dŷf allan o'r ddaear sydd anhebgorol angenrheidiol tuag at roddi ei ymborth prïodol i bob un o honynt. Nid yw dyn, anifeiliaid y maes, ehediaid y nefoedd, a phŷsg y môr, yn amrywio mwy yn natur eu hymborth nag y mae llysiau, ŷdau, a phlanigion, yn amrywio yn eu bwydydd hwythau. Mae *cîg*-ddannedd gan grëaduriaid ysglyfaethus, ac ordeiniwyd hwynt, fel dyn, i fyw, mewn rhan, ar gîg; ni chyffwrdd crëaduriaid *heb* y cyfryw ddannedd âg un math o gîg fel ymborth. Mae y daflen uchod yn profi mai nid yr un *faint* o'r un *elfenau* a gymerir o'r metteloedd yn y ddaear gan bob un o'r ŷdau. Mae ambell ŷd, fel ambell lysieuyn, neu blanigyn, yn fwy gwancus nag un arall, ac yn gofyn mwy at ei gynnaliaeth. Hyd nes elo unrhyw lysieuyn, ŷdyn, neu blanigyn i *hadu*, nid yw yn sugno cymaint o'i faeth a'i gynnaliaeth oddiwrth *fetteloedd* y ddaear; a dyna paham y gellir tòri *clover*, neu wair, ddwy neu dair gwaith yr un tymmor heb niweidio ffrwythlondeb y tir, ond gofalu tòri neu ladd *cyn* hadu. Mae gwybodaeth o fferylliaeth achlesau yn angenrheidiol anhebgorol i'r amaethwr. Fel prawf fod i bob llysieuyn ei ddewisfwyd a'i ddanteithion, mae Lawes, trwy achlesu yr *un* maes â *gwahanol* achlesau, wedi peri iddo gynnyrchu llysiau yr unrhyw mor amrywiol. Mae gwybodaeth o fferylliaeth *pob* peth a dŷf trwy y ddaear yn arwain i wybodaeth o'r iawn ymborth i bob llysieuyn.

Nid oes dim tebygolrwydd y gwna un dyn synwyrol, pan yn berchen *capital*, osod hwnw allan ar dir ei feistr, i wneyd gwelliannau arno, heb

gael *lease*, neu ryw fath o gyttundeb, â'i dïogela rhag colled. Gellir mabwysiadu amryw gynlluniau er mwyn dïogelu y deiliad pan yn gwella tir ei arglwydd. Gall y meistr dalu y gôst, a pheri i'r deiliad dalu llôg blynyddol am yr arian; neu, ynte, gellir defnyddio y cynllun canlynol: Golyger fod un cae yn costio, wrth ei arloesi, sychu, digaregu, &c., 30p.,—yna taled y meistr tir 20p., os nad ydyw i fod yn llaw y deiliad dros fwy nag un tymmor: os dros ddau dymmor, bydded i'r deiliad ddychwelyd iddo 10p. o'r gôst; ac os dros dri thymmor, bydded iddo ddychwelyd iddo y 10p. arall. Bydd y deiliad wedi, nid yn unig ei ddigolledu, ond bydd wedi cael ei dalu yn dda am ei arian a'i lafur. Mae rhai arglwyddi mor ddigydwybod a thrachwantus, neu anghenus, fel y gwnânt godi yr ardreth ar y deiliad sydd wedi gwella eu tyddynod ar ei draul ei hunan, neu, os gommedd dalu treth a llôg am ei arian ei hun, â'i chwys, a'i lafur, gosodir y ffarm i ryw un arall a fyddo boddlawn i dalu y gwahaniaeth yn yr ardreth. Arwain hyn ni yn naturiol at y

*Cydymgais dinystriol sydd am ffermydd pan yr hysbysir eu bod i'w gosod.*—Mae tlodi rhai arglwyddi, a'u hawydd i gael y geiniog uchaf am eu tyddynod, ynghydag awydd direswm personau am danynt, a'r rhent braidd yn hollol anmhosibl i un dyn ei wneyd o honynt, yn ddigon i ddarostwng y ddaear fwyaf doreithiog yn naturiol, neu trwy rym gwrtaith, neu bob un o'r ddau, i gyflwr o ddiffrwythder perffaith. Ni falia yr arglwydd am ddim ond am ei ardreth, na'r deiliad, pa faint o gam a wna â thyddyn ei feistr, ond iddo, yn rhyw sut, wneyd ei rent o hóno. Mae yr arglwydd a'r deiliad yn cydyspeilio y ddaear, ac yn aberthu gwerth dyfodol a pharhäus y ffarm trwy sugno ei mêr a'i chalon wrth geisio gormod o rent am dani. Nis gwyddom pa un sydd fwyaf niweidiol i ffarm—meistr tlawd, neu, ynte, ddeiliad tlawd. Ni wna dyn o *gapital* gynnyg cymeryd tyddyn os nad all ennill bywioliaeth gysurus wrth ei drîn, yn gystal a thalu rhent am dano. Nid ydyw yn dychymygu am dalu ei ardreth trwy yspeilio ei gylla, a'i gefn, a'i deulu, o'r cysuron y medrai efe sicrhâu iddynt pe dewisasai ddefnyddio ei arian gyda rhyw alwedigaeth arall.

Mae yr *achosion* o'r diffygion yn amaethyddiaeth Cymru, ag ydys wedi eu henwi, yn dadguddio yn eglur y *moddion* a ddylid eu harfer er eu *gwella*. Gellir yn ddïau wneyd defnydd mawr o *fferylliaeth* yn ei chysylltiad âg amaethyddiaeth. Gorchwyl fferylliaeth amaethyddol yw dangos pa elfenau sydd yn cyfansoddi y pethau a dyfant o'r ddaear, a phenderfynu y cyfartaledd rhwng y rhanau o'r ymborth a dŷn y llysieuyn o fetteloedd y ddaear, ac o'r awyr, a'r gwlybwr; a'r unig egwyddor yn ol pa un y dylid achlesu tir ydyw dychwelyd yn yr un elfenau a'r cyfartaledd iddo, yr hyn a gymerwyd o hóno gan y cnŵd blaenorol, gan nad pa beth bynag oedd hwnw. Medr fferylliaeth benderfynu y gwahaniaeth yn ymborth y gwahanol gnydau a gyfodir ar unrhyw faes, a'r gwahaniaeth yn nylanwad dyspyddawl y cnydau hyny ar fetteloedd y ddaear. Mae y ffaith seml fod miloedd a miloedd o anifeiliaid corniog, gwlanog, a cheffylau, yn cael eu magu yn Nghymru, a'u gwerthu i'r Saeson, yn profi fod yr elfenau hyny ag sydd yn ffurfio esgyrn a chrwyn y rhai hyn wedi cael eu cymeryd o'r ddaear, ac y dylid *gorchuddio* y pawr-diroedd a'r *un* elfenau mewn rhyw ffurf o *phosphates*. Defnydd esgyrn a gymerwyd o'r ddaear, a defnydd esgyrn ddylid ddychwelyd iddo. *Fferylliaeth* yn unig

a fedr esbonio *paham* na wna yr un achles y tro i gnydau *gwynion* ag i rai *gwyrddion*. Os ydys am gyfodi cnydau o ŷd neu laswellt cryfion, dylid defnyddio achlesau *nitrogenous*. Nis gwyddys am ddim a gynnyrcha y fath effeithiau buan a hanner gwyrthiol a *nitrate of soda* a halen ar gnŵd eiddil o wenith neu geirch.

Os ydys am gyfodi cnŵd o laswellt têg, tyner, îraidd, mwyn, achleser â *phosphates*, neu esgyrn, a *superphosphates*. Mae dau dwll bwyd gan bob llysieuyn a phlanigyn, a thröant y *cyfan* yn rhan o honynt eu hunain. Nid oes eisieu arnynt hwy i waredu dim fel dyn ac anifail. Pigant eu tamaid o'r ddaear trwy eu gwreiddiau, ac o'r awyr a'r gwlybwr trwy eu dail, y rhai a gyfansoddant eu *lungs* neu eu hysgyfaint. Pa fwyaf llïosog ydyw gwreiddiau unrhyw lysieuyn, mwyaf i gyd ydyw ei allu i sugno ymborth o'r ddaear, a mwyaf dibynol ydyw ar y ddaear am ei gynnaliaeth: pa lïosocaf fyddo ei ddail, mwyaf i gyd yw ei allu i dynu maeth o'r awyr a'r gwlybwr, a mwyaf dibynol ydyw ar y rhai hyny am ei gynnaliaeth. Mae *mwy* o ddail ar gnydau gwyrddion na gwynion: cymharer gwenith â maip neu fresych. Nid yw *gwreiddiau* maip a *carrots*, neu fresych, neu datws, fawr at eu *dail*. Esbonir y pethau hyn yn rhwydd ac eglur gan *fferylliaeth:* rhydd *resymau* dros ei gweithredoedd. Nid oes un rhan o Natur yn gwneyd ei gwaith heb ddeddfau a rheolau.

Dyben defnyddio peiriannau ydyw arbed *amser*, *llafur*, ac *arian*. *Ennill*, ymhob ystyr, ydyw defnydd o beiriannau. Gŵyr pob amaethwr taw y creaduriaid drutaf o gylch ei dŷ ydyw *dynion* a *cheffylau*, a bod yn ofynol iddynt wneyd llawer iawn o waith cyn y talont am eu cynnal. Lleihâu nifer y creaduriaid costus hyn heb leihâu gwaith y ffarm nac effeithio ar ei drwyadledd, ydyw y nôd y dylai pob amaethwr synwyrol a goleuedig gyrchu ato. Heb beiriannau nis gallasai y llaw-weithyddion mawr yn Lloegr byth gasglu y cyfoeth sydd wedi eu gwneyd yn dywysogion, ac wedi gwneyd Prydain yn gan' cyfoethacach nag y bu hi erioed o'r blaen. Mae yn llawn bryd i'r amaethwr ddilyn esiampl y *manufacturer*, a gosod offer llafurwaith am elfenau natur, a'u darostwng yn gaethweision iddo. Dyma gaethwasiaeth nad oes dim eisieu cywilyddio o'i herwydd, na gwneyd un esgusawd drosto. Dylai yr amaethwr dderbyn â chalon ddiolchgar, ac â breichiau agored, bob peiriant amaethyddol a *leihäo ei lafur* ac a *arbedo ei amser a'i arian*. Cymhared y draul o-ddyrnu a nithio yn ol yr hen ddull â'r dull trwy beiriannau, ac argyhoeddir ef yn fuan o'r dirfawr ennill ymhob ystyr, oddieithr ei fod mor bengam ac ystyfnig fel na chymer ei oleuo trwy *logic* ffigyrau. Yr unig ffordd anffaeledig i benderfynu gwasanaethgarwch peiriannau ydyw cymharu eu côst hwy âg *ychydig* ddynion ac anifeiliaid â chôst *llawer* o ddynion ac anifeiliaid *heb* beiriannau. *Un* gôst yw côst peiriannau, at yr hyn y dylid ychwanegu y gôst achlysurol o'u hadgyweirio; ond côst barhäus, yn nghwsg ac yn effro, yn segur neu ar waith, ydyw dynion ac anifeiliaid. Nid oes eisieu dim ar beiriannau ond *olew* a dwfr, a gwna yr olaf y tro yn aml heb y draul a'r drafferth o'i ferwi. Nid ydynt yn costio dim pan yn segur; ac y mae rhai o honynt, trwy gael eu hurio, wedi talu am danynt eu hunain *fel hyny*, drosodd a throsodd drachefn, heb son am eu gwasanaeth uniongyrchol i'w perchenogion. A chan fod Cymru yn wlad fynyddig a llawn nentydd, gellir gwneyd "gwas bach," a gwas

pawb a phob peth o'r dwfr, gan beri iddo weini i'r peiriannau, a thrwyddynt gorddi hufen, tòri gwair a gwellt, hollti maip a malu eithin, dyrnu yr ŷd, a'i nithio, a'i osod mewn sachau.

AWGRYMIADAU A GWELLIANNAU.

*Cnydau Gwyrddion.*—Bwyd gauaf. Mae y gauaf yn hŵy yn Nghymru nag yn Lloegr, ac o ganlyniad dylai yr amaethwr barotôi o chwech i saith mis o ogor ar gyfer ei anifeiliaid. Cael eu hanner newynu mae gwartheg a defaid mewn llawer ardal fynyddig yn Nghymru yn ystod misoedd oerion tywyll y gauaf. Yn lle hau maes neu ddau o faip, a chadw caeau cyfain heb grëadur yn eu pori trwy gydol y gauaf ar gyfer y gwartheg cyflo a'r mammogiaid, nid oes dim ond gwair neu wellt ar gyfer y blaenaf, a dim un blewyn gwell a thecach ar gyfer yr olaf; a'r canlyniad yw na fydd gan y fuwch a'r ddafad fawr o laeth ar gyfer y llo a'r oen, y rhai mewn canlyniad a fyddant fychain o gorffolaeth a salw eu gwêdd. Dylai fod digon o faip ar gyfer yr anifeiliaid, yn wartheg blithion, yn dda hesbion, a defaid. Yn yr un modd dylai fod cnŵd o *vetches*, a *rape*, a mwstard ar gyfer y ceffylau yn yr hâf, fel na byddo achos iddynt fwyta porfa y gwartheg. Wele ffaith i ddangos gwerth cnŵd gwyrdd i amaethwr yn misoedd y gauaf. Cae o saith erw o faip, ynghyda gwellt, oedd dros y gauaf unig gynnaliaeth ugain o wartheg blithion, un tarw, deugain o dda hesbion, deunaw o loi, a chwech o ddâ tewion. Yr oedd y maip wedi eu *pulpo*, a'r gwellt wedi ei dòri, er mwyn osgoi y gwastraff lleiaf.

*Eithin.*—Dyma ogor gauaf anmhrisiadwy o werthfawr. Yr amser prïodol idd eu hau ydyw y gwanwyn, ac ar un pryd â haidd neu geirch; a chan y gofyn eithin ddwy neu dair blynedd cyn cyraedd perffeithrwydd, cymeradwyir eu hau gyda *chlover* neu *ryegrass*, fel y ceir cnŵd o geirch y flwyddyn gyntaf, cnŵd o *glover* yr ail flwyddyn, a chnŵd o eithin y drydedd flwyddyn; os heuir *ryegrass*, bydd cnŵd o wair yr ail hâf, a gellir lladd yr eithin yr *ail* auaf. Dylai yr eithin cael eu hau yn ol y cyfartaledd o bedwar ar ddeg neu bymtheg pwys yr erw, neu ychydig yn rhagor. Mae yr hâd yn rhad, a'r un Ffrengig ydyw y goreu; y mae yn gwbl wahanol oddiwrth yr hâd Cymreig, ac yn llawer rhagorach nag ef. Dylai yr hâd gael ei osod mor ddwfn yn y ddaear â thair modfedd. Gellid eu lladd bob blwyddyn â phladur ddrysi, ac ni fyddant yn cael amser i ffurfio llawer o goed, ond byddant yn dirion, iraidd, a llawn nôdd. Gellir eu tòri; ond eu malu ydyw y cynllun goreu, ac y mae melin i'w chael i'r pwrpas. Gwnânt y tro i geffylau yn lle gwair yn y gauaf, ac y maent yr un mor wasanaethgar i wartheg blithion, gan y cynnyrchant lawer o laeth. Gellir gwybod gwerth eithin oddiwrth y ffaith ganlynol:—Ar ffarm, lle y cedwir deg ceffyl, ni roddir dim ond eithin iddynt dros fisoedd y gauaf. Mae tri llwyth yn ddigon i'r deg ceffyl am wythnos. Y gôst oedd fel y canlyn:—

| | | s. | c. | |
|---|---|---|---|---|
| Pris yr eithin pan eu prynid | ... | 1 | 0 | y llwyth. |
| Eu cario i'r tŷ ... ... | ... | 2 | 6 | " |
| Eu casglu ... ... | ... | 1 | 6 | " |
| | | 5 | 0 | |

Pymtheg swllt yr wythnos oedd côst deg ceffyl yn y gogor a ddefnyddid yn lle gwair; wrth reswm, caent mewn ychwanegiad at hyn bob un ei *fushel* o geirch yr wythnos.

*Cylchnewidiad cnydau.*—Cynllun pedair blynedd ar gyfer daear drom, gref:—

Y flwyddyn (1.) Braenaru ar gyfer gwenith.
" (2.) Gwenith.
" (3.) Ffa.
" (4.) Gwenith.

Y cynllun chwe' mlynedd ar gyfer daear gref:—

Y flwyddyn (1.) Braenaru ar gyfer gwenith.
" (2.) Haidd a hadau.
" (3.) Lladd yr hadau.
" (4.) Pori.
" (5.) Troi a hau ceirch.
" (6.) Gwenith.

Daear ysgafn:—

Y flwyddyn (1.) Braenaru ar gyfer maip.
" (2.) Haidd a hadau.
" (3.) Lladd.
" (4.) Pori.
" (5.) Troi a hau gwenith.

Y cynllun pedair blynedd:—

Y flwyddyn (1.) Braenaru ar gyfer maip.
" (2.) Haidd a hadau.
" (3 ) Lladd a throi ar gyfer gwenith.
" (4.) Gwenith.

Un cynllun arall:—

Y flwyddyn (1.) Troi gwndwn ar gyfer ceirch.
" (2.) Maip.
" (3.) Ceirch gwŷn.
" (4.) Haidd a *chlover*.

Os na fydd y tir yn addas i haidd gellir gwneyd y cyfnewidiad canlynol:—

Y flwyddyn (3.) Gwenith.
" (4.) Ceirch a *chlover*.

*Porthi anifeiliaid yn tŷ.*—Nid oes un ddadl nad *pori* ydyw y dull naturiol o gynnal mewn bodolaeth a phesgi anifail; ond pan orfodir dyn ac anifail i gynnilo, yr ydys dan yr angenrheidrwydd o wneyd llawer o bethau nad ydynt mor naturiol âg y maent yn fuddiol ac ennillgar. Pan borir maes gan anifeiliaid, gwyddir y gwastreffir mwy o'r borfa nag a borir, gan, rhwng sathru a thomi arni, y dinystrir llawer pryd ag a fuasai yn cael ei ddïogelu pe porthasid yr anifeiliaid yn y tŷ. Pan wneir hyn, nid oes *dim* yn myned yn wastraff; mae pob blewyn yn cael ei bori, a'r holl achles yn cael ei ddïogelu. Nid yw y gwartheg ar y tês yn cael eu herlid gan y cylion a'r clêr, a thrwy hyny yn rhoddi llai o laeth. Mae tipyn yn rhagor o drafferth a chôst, y mae yn wir, ond gwneir hyn i fyny, a mwy, trwy yr ennill. Cedwir mwy o grëaduriaid ar lai o dir; gwneir mwy o gaws ac ymenyn o'r gwartheg, a cheir mwy o achles oddiwrthynt. Mewn cymhariaeth i'r gôst o gadw dyn i dòri a chario bwyd i'r gwartheg, mae yr ennill yn annhraethol fwy. Cymerer fel

esiamplau y canlynol:—Maint y cae, chwe' erw; nifer a borthwyd, deg buwch, deg llo, saith ceffyl. Dechreuwyd tòri ar y 1af o Fai, ac ar y 12fed o Fehefin nid oedd dim o hanner y cae wedi cael ei ladd; ac yr oedd yr adladd yn addaw troi allan yn gnŵd toreithiog: cae o *glover* ydoedd hwn.

Esiampl arall:—

Dechreuwyd lladd cae o ddeuddeg erw *(clover)* ar y cyntaf o Fai; o'r amser hyny hyd at ddiwedd yr hâf, cadwodd ugain o wartheg blithion, deg neu ddeuddeg o fustych ieuainc, a deuddeg o geffylau. Dilynir yr un cynllun eleni, pan mae y cae yn ddau erw yn helaethach, a'r porfeledigion yn ychwaneg o ddwy fuwch a deunaw o loi.

Ein crêd ddiysgog er ys blynyddau ydyw, na ddylai Cymru gynnyg cyfodi dim rhagor o ŷd nag sydd yn ofynol i'w hau ar ol maip. Nid gwlad *ŷd*, ond gwlad *cîg*, ymenyn, a chaws, ydyw y Dywysogaeth: gwlad cîg a blith. Digon hawdd fyddai gallu profi fod yn rhatach i'r Cymry brynu na chyfodi eu bara. Mae wyth *bushel* o wenith y flwyddyn yn llawn cymaint o *fara* ag sydd eisieu ar un dyn: ychwaneged at hyn gyfartaledd priodol o gîg a *vegetables*, a dyna holl angenrheidiau y *cylla* wedi eu gwneyd i fyny. Os cyfrifir traul dynion ac anifeiliaid, ceir allan yn bur fuan fod *bara* Cymru yn costio yn ddrutach iddi na phe gwnai ei brynu gan estroniaid. Mae hinsawdd Cymru yn oer a llaith; mae y tymmorau yn ansicr; nid oes ond ychydig o'r ddaear yn *naturiol* ffafriol i ŷd; tra, o'r tu arall, mae yr holl wlad yn ffafriol i bori a phorfëydd. Pawr y fuwch, a rhydd ei llaeth, pan fydd y tipyn ŷd yn pydru yn y maes gan y gwlaw. Hyd yn ddiweddar yr oedd trefydd Cymru ymhell oddiwrth y mwyafrif o'r trigolion, a chyfleusderau i gyfnewid nwyddau yn anaml; ond yn awr, trwy y ffyrdd haiarn, dygir y pell yn agos, a gwneir dyeithriaid yn gymydogion. Gall y Cymro werthu ei ymenyn, ei wartheg, a'i ychain, ei ddefaid a'i wlân, yn ymyl drws ei dŷ, a dygir at e fîn y bara sydd arno ei eisieu heb achos iddo wlychu trwyn ei esgid wrth ei hôl. Credu yr ydym y crëa y ffyrdd haiarn *chwyldröad* yn y dull o drîn daear fynyddig a gwastad-dir y Dywysogaeth, ag y crëa gyfnod pwysig yn ei hanes; a gobeithio yr ydym y sefydlir ysgolion dyddiol pwrpasol ymhob cymydogaeth, fel y caffo plant pawb, a phlant y tlodion yn enwedig, gyfleusdra i gydredeg a chystadleua â phlant y Saeson anturiaethus ac arianol ar bob rhyw faes ag y byddo iddynt wneyd eu hymddangosiad fel ymgeiswyr am wobrau y bywyd hwn.

# HEN AELWYD FY NHAD.

HEN aelwyd anwyl, anwyl dŷ fy nhad,
  Er fod pob dim o'i chylch yn eithaf gwledig;
'R wy'n teimlo heddyw yn fy serch fawrhâd
  At hyd yn nôd ei choed, ei chalch, a'i chèrig;
Y swmmer praff o foncyff derwen fawr,
  Gan fŵg yn ddu, fantella 'r simne anferth,
A rhwng pentânau priddfein ar y llawr
  Pentwr o fawn yn bêraroglaidd goelcerth.
Ond nid ar aelwyd fel lle cynneu tân,
  Ar hyn o bryd, y bwriadaswn sylwi,
Ond fel meithrinfa egwyddorion glân,
  Wrth gychwyn gyrfa nad oes derfyn iddi.

'R oedd ar ein haelwyd un ar ddeg i'w harwain;
  Fel ymhob un ar ddeg (pob dau, ysywaeth),
Amrywiai tymher; 'r oedd yn waith lled gywrain
  Rhoi at bob tymher gyfaddasder triniaeth:
Ofnadwy gyfrifoldeb ydyw cychwyn
  Crëadur â'r Anfarwol i gyd-fyw!
Un gair anwyliadwrus yn nghlyw plentyn,
  Hwyrach, dry 'r fantol fawr ar glorian Duw:
O heuir gwenith, gwenith ddaw i'r wyneb;
  Un ffunud, os yr ysgall, ysgall esgyn;
Bydd ôl yr aelwyd ar ein tragwyddoldeb;
  Tu draw i'r llèn yr ymberffeithia 'r hedyn.

Gerllaw yr aelwyd crôg llyfrastell fechan;
  Ni fêdd amaethdai *Llëyn* lyfrgelloedd gwisgi;
Ond ni bu llyfrau gwell mewn coed *mihogan*,
  Os ydyw cynnwys esgus dros rifedi:
Y cwbl mor dda, nes tybiwn, pan yn fychan,
  Fod pobpeth argraffedig yn ddiwyrni;
Os pwysau Gair y Nef wna lyfrgell drom,
  'R oedd i bob un ei Fibl, yn frâs neu fân;
Am bregeth aml "ŵr dyeithr" caem ymgòm,
  O'i ddarllen bob 'n ail adnod wrth y tân
Y Sabbath gwlyb, dryghinog: (ond mewn crom-
  fachau,—chwi, bobl y dref, a'ch palmant glân,
Ystyriwch, ambell fynyd, bobl y wlad,
  Pan rodioch yn hamddenol i'ch capelau,
Y rhai sy â'u ffordd, fe allai, 'n ddeg ystâd
  Ar draws sybylltir lleidiog at y fferau).

Tad yr ysbrydoedd weithiau sy 'n ceryddu
  Pan mae y plant yn crwydro oddicartrau,
A chawsom ninnau "dadau 'n cnawd" i hyny,
  Pan lithrem o'r hen aelwyd i'n crwydriadau;

Mae tŷnfa plant at blant yn bur naturiol,
  Ant at eu gilydd draws y rhŷd a'r rhôs;
Ond 'n ol cydchwareu drwy y dydd yn siriol,
  Mae 'r gwaetha' 'n ôl, myn'd adre' gyda 'r nos:
Ar ol dychwelyd tua 'r buarth, llechu,
  Clustfeinio 'n nrws y tŷ am lais ein tad;
Mŷn pleser anghyfreithlawn gael ei dalu,
  A'r talu drud orbwysa 'r holl fwynhâd:
Yn araf heno tua 'r aelwyd tŷnid,
  Fel pe trwy oedi y dyhuddid soriant;
Ond amlaf caid mai yn y fynwes dygid
  Yr oll o'r gôsb, beth bynag oedd yr haeddiant.

Tra byddai 'n tad yn offrwm dros y teulu
  Ei weddus aberth moliant hwyr a borau,
Yr un ar ddeg o'i amgylch yn ymgrymu,
  A rhyw ddygwyddiad yn cynhyrfu 'n gwênau,
Cwrddem yn wastad lygad mam yn craffu
  Pob diffyg difrifoldeb o'n hwynebau:
Cydganem o'r *Grawnsypiau* hirnos gauaf—
  "Newyddion brâf," "Braint, braint," ac eraill
    lawer;
A chyn gorphwyso, byddai ein chwaer henaf
  Yn dysgu 'r plant oedd lai i dd'weyd y Pader.
Ond ni bu 'r nŷth yn gyfan hir flynyddoedd,
  Can's trefnwyd lle preswylfod pob rhyw ddyn,—
I Lundain, i'r Amerig, ac i'r nefoedd,
  Ehedeg trosodd wnaem o un i un.

Ryw fore, gwysiwyd oll yn nghyrhaedd galw
  I'r aelwyd, o'r lle troisom bawb i'w hynt,
I weini y gymwynas olaf, chwerw,
  I'r hwn oedd gyfarwyddwr arni gynt;
Ammheuem nes d'od adref,—can's ryw fodd
  Ni fŷn dyn gredu 'r gwaethaf am rai anwyl;
Ond teimlad fu 'n ymgroni ymddadglôdd,
  Pan gwrddwyd ar yr aelwyd bawb mewn arŵyl;
Cyn codi 'r arch, rhoes blaenor air i'w gânu,
  Yr emyn oedd, "Myn'd raid o'r tŷ i'r bedd,
"Yn rhwym un wêdd â'r defaid,"—ond galaru
  Wnaem ni na chaffem mwyach wel'd ei wêdd;
Gan wybod nad yw 'r palas hardd a helaeth,
  A'r dodrefn gwychaf o'r tu fewn i'w furiau,
Na 'r aelwyd glyttaf yn y Dywysogaeth,
  Heb dad a mam, yn cyfansoddi cartrau.

yn ei le. Ond ymhen ugain mlynedd wedi y cyhoeddiad brenhinol hwn, o herwydd prinder coed yn y deyrnas, yr oedd yr afon Thames yn llawn o lestri llawn o'r sylwedd condemniedig, ïe, cafodd dderbyniad i'r palas brenhinol ei hunan. ("*History of Fossil Fuel.*" 1841). Ac o hyny allan, y mae wedi dyfod i gael ei ddefnyddio yn gyffredinol; "nid ymgudd dim rhag ei wrês ef." Ac y mae yn un o'r nwyddau gwerthfawr hyny sydd wedi hynodi Prydain mewn masnach a chyfoeth ymhlith teyrnasoedd y byd. Un elfen bwysig yn nefnyddioldeb glô ydyw ei fod yn *gynnyrchydd gwrês.* O herwydd hyn y defnyddir ef i amcanion cymdeithasol a masnachol. Nid oes dim yn fwy hyfryd na chael ymdwymno wrth bentwr o dân glô yn oerder dydd y dwyreinwynt! Y mae y gâth, y mwnci, yn gystal a dyn, yn hoffi ei gymdeithas. Ac y mae yn dra defnyddiol i'r llaw-weithfëydd a'r celfyddydau. Gwerth arall yn y glô ydyw ei fod yn gynnyrchydd gallu (*force*), a'r gallu hwnw ydyw yr *ager.* Y mae cysylltiad agos rhwng y glô â'r ager. Dyma y gallu sydd wedi peri y fath chwyldröad ymhlith y celfyddydau, a'r fath ychwanegiad yn ngwareiddiad cyffredinol y ddynoliaeth. Yn y flwyddyn 1803, dygwyd allan i gymhwysiad ymarferol elfen ddefnyddiol arall o'r glô, sef *goleuni*—y mae yn gynnyrchydd *goleuni.* Tua'r flwyddyn a nodwyd, neu ychydig yn gynt, darfu i un o'r enw *Murdock* gael allan fod yna nwyon (*gases*) yn aros yn y glô, a bod yn bosibl eu dwyn yn wasanaethgar i gymdeithas. A dywedir y byddai y nosweithiau tywyllion ar ei ffordd adref, wrth groesi rhosydd anial Cornwall, yn arfer cario llon'd cŵd o'r nwy yma o dan ei fraich, a phibell oleuedig yn dyfod allan o hóno, ac y byddai weithiau yn gwasgu y cŵd, nes peri ychwanegiad yn y fflam; a dywedir y byddai y brodorion yn cadarnhâu mewn arswyd mai "*tafod tanllyd*" yr archddemon ei hun ydoedd! Erbyn hyn, y mae y *gas*, fel ei gelwir, wedi dyfod i arferiad cyffredinol. Nid oes odid yr un dreflan, o ddim maintioli, nad ydyw yn oleuedig ganddo, ac y mae tai cyhoeddus a neillduol yn mwynhâu ei belydrau. "Melus yn ddïau yw y goleuni." Y mae y fferyllydd yn dwyn allan o'r glô hefyd amryw sylweddau defnyddiol eraill megys y *naphtha* a'r *paraffin oil*, ïe, tynir allan o'i fynwes y pêrarogl hyfrydaf, a'r lliwiau prydferthaf!

Gosodir y glô yn y rhestr ddaearegol i orphwys yn y *gyfundrefn losgianol* (carboniferous system), a gosodir ei gynnyrch *bywydol* i lawr yn y cyfnod cyntefig, neu, fel y gelwir ef weithiau, cyfnod yr hen fywyd (*Palæozoic Period*). Cyfansoddir y gyfundraeth losgianol o wahanol fathau o greigiau, megys y gwelÿau glöawl, y grud melinaidd, y galchfaen fynyddog, a'r sials calchaidd. Ceir yma gymaint o amrywiaeth ag a geir yn y gyfundrefn Ddevonaidd, yr hon a orphwys yn y rhestr islaw iddi. Y mae creigiau y gyfundrefn hon yn unig yn mesur amryw filoedd o droedfeddi o drwch, ïe, mesura y glô ei hunan amryw filoedd. Y mae prif gyfoeth Prydain yn drysoredig yn y creigiau hyn, a gellir dyweyd eu bod yn werthfawrocach nag aur, ïe, nag aur coeth, i'r gymdeithas ddynol. Ceir y glô mewn rhyw ystâd ymhob ffurfiad o'r graig Laurentaidd, yr hon sydd isaf, i'r gwaddod diweddar, yr hon sydd uchaf; ond yn y gyfundrefn garboniferaidd y mae ei le priodol, am mai yma y ceir y dadblygiad helaethaf a chyflawnaf o hóno. Y mae y creigiau carboniferaidd yn sefyll ar arwynebedd ëang o'r ddaear, yn enwedig yn yr ynysoedd Prydeinig, yn Germany, Belgium, a Nova Scotia. Dywedir

fod mwy o lô yn cael ei godi yn flynyddol yn Mhrydain nag yn y gweddill o'r holl fyd; ac ofnir, os parhëir i'w ddefnyddio yn ol yr un cyfartaledd ag yr ydys yn awr, y bydd y cyflenwad wedi ei ddyhysbyddu, a hyny mewn tua dwy ganrif eto. Ond nid oes fawr o berygl o'r cyfeiriad yma; dïammheu y darganfyddir meusydd newyddion toreithiog eto, er, yn wir, mai cynnildeb ydyw y *policy* goreu gyda hyn fel pob peth arall. Ond, a chymeryd yn ganiatäol mai felly y bydd, gellir ei gael drachefn o wledydd eraill, ac, hwyrach, erbyn hyny, y bydd rhagluniaeth wedi dangos rhywbeth i ateb y dyben cystal yn gynnud yn ei le.

> "There are those who ask in unbelieving dread, for how few years to come
> Will the black cellars of the earth supply to him fuel for his winter?
> Fear not, O man! for thyself, nor for thy seed; with a multitude is plenty.
> God's blessing giveth increase, and with it larger than enough."

Y cwestiwn a ofynir gan y meddylgar ydyw, Pa beth ydyw glô, beth ydyw ei natur? Ai fel hyn y crëwyd ef, ai ynte a ydyw yn wahanol? Rhaid dyweyd fel atebiad i'r cwestiynau hyn ei fod yn awr yn wahanol i'r hyn y crëwyd ef, a'i fod wedi myned trwy gyfnewidiadau fferyllol pwysig, tuag at ei ddwyn i'w ffurf bresennol. Cadarnhëir y dybiaeth gan yr ymchwiliadau diweddaraf, sef, fod y glô wedi bod unwaith yn wahanol i'r hyn ydyw yn awr, a'i fod o darddiad *llysieuol.* Hynodrwydd arbenigol y cyfnod hwn ydoedd ei ffosylau llysieuol, ïe, gelwir ef gan Ddaearegwyr yn "Oes y Llysiau." Y mae dros chwe' chant o rywogaethau o lysiau wedi eu darganfod yn yr haenau glöawl; weithiau mor eglur nes y mae yn hawdd eu hadnabod, ond bryd arall wedi myned trwy gyfnewidiadau mor berffaith fel nas gellir eu gwahaniaethu. Felly gellir dyweyd fod y glô wedi ei ffurfio trwy gydgasgliad o goedydd a llysiau. A'r syniad a dderbynir ydyw fod y llysiau a'r coedydd hyn wedi tyfu yn y fan lle y gorweddent, ac nid wedi eu cludo yno gan lifogydd ac afonydd o fanau eraill; ac fel prawf o hyn ceir llawer o honynt yn sefyll yn sythion, eu gwraidd yn aros yn y *soil* lle y tyfasent. Y mae i bob haen o lô îswely, yn gynnwysedig o ryw fath o glai, yr hwn a elwir yr *îsglai* (underclay), ac y mae i'r haen dô hefyd, o fath o lechlô (*slate coal*). Y mae y llawr neu'r *platform*, yr hwn a gyfenwir yn îsglai cyfled â'r haen ei hunan, a'r tô yr un ffunud, ac yn yr îsglai hwn ceir olion o'r pren a elwir y *Stigmaria.* Tybid unwaith fod y Stigmaria yn bren perffaith ei hun, ond cadarnhëir erbyn hyn mai gwreiddyn i'r *Sigillaria* ydyw,—bod y gwreiddyn yn aros yn y llawr, ond fod y dail a'r brigau, trwy fwneiddiad, yn ffurfio yr haen sydd yn gorphwys ar y *platform.* Gellir dosbarthu y glôlysiau i dri dosbarth. 1. Y rhai coedaidd, yn cynnwys eto olion o ffurfiad bywydol. 2. Y rhai sydd yn cyfateb i'r llysiau presennol. 3. Y rhai nad oes dim tebygolrwydd rhyngddynt. Ymhlith y dosbarth cyntaf gallem nodi y *Peuce* a'r *Pinctes.* Yn yr ail ddosbarth gallem nodi y *Lepidodludrum, Lepidostrobus, Preooptius Neuropteris, Odontopleris,* &c. Ac yn y trydydd dosbarth cawn y *Calamites, Stigmaria, Sigillaria, Asterophylites,* &c. Y mae oes y llysiau yn profi i ni fod y rhinsawdd y pryd hwnw yn gynhes. Dywed Bron Briart fod yr awyr y pryd hwnw yn cynnwys mwy o *carbonic acid* nag yn awr. Y *carbon* ydyw maeth ac ymborth y llysiau, ac i ddiwallu y fath goedwigoedd ëang ag oedd y pryd hwnw, rhaid fod yr awyr yn llwythog o *garbon.* Dyna un rheswm paham y mae mor ychydig o'r *ffosylau anifeilaidd* i'w

cael yn y glô; buasai y *carbon* oedd yn ymborth i'r llysieuyn yn wenwyn i'r anifail. Ychydig o grëaduriaid oedd yn cyfanneddu ar wyneb y ddaear y pryd hwnw. Y llysiau oedd yn gorchuddio ei gwyneb, ac yn teyrnasu ymhob man. Gallasai angel y pryd hwnw wrth weled cymaint o lysiau yn tyfu ac yn marw, heb yr un crëadur i'w defnyddio, ofyn y cwestiwn, I ba beth y bu y golled hon? Ond nid colled oedd, ond ennill rhagddarbod yr oedd Duw dros ddyn—cyflenwi *cellar* y tŷ â digon o ddefnyddiau tanwydd erbyn yr adeg y gwnai y preswylydd ei ymddangosiad. "Achubaist ein blaen â bendithion daioni." Y mae llysiau y glô hefyd yn brawf o gynnydd yn mywyd y ddaear, ac yn amlygu dadblygiad o ddosbarthiadau yn y deyrnas lysieuol na wyddid am eu bodolaeth, oddieithr am eu presennoldeb yn y creigiau. Yr oedd llawer o unffurfiaeth yn llysieuaeth y cyfnod yna. Cyfansoddid yr hen goedwigoedd o ychydig rywogaethau o ffinydwydd, palmwydd, a rhedyn, ac ychydig o rai anadnabyddus; ond yr oeddynt hwy yn hynod doreithiog, ac yn rhagori mewn maintioli, er nad oeddent yn cyfateb mewn nerth, o herwydd mai ychydig o wrês oeddent yn ei fwynhâu. Cadarnhëir tri pheth mewn perthynas i'r cyfnod glô. 1. Fod y glô o darddiad llysieuol. 2. Fod y ddaear yn adeg ei barotöad yn orchuddiedig gan dyfiant llysieuol. 3. Fod yr hinsawdd yn dynerach nag yn bresennol. Y dadblygiad cyntaf o'r glô ydyw *mawn* (peat). Dyma'r *stage ddadblygol* gyntaf i'r glô,—y mawn, tebyg i'r hyn a welir yn ein corsydd Cymreig. Wedi hyny, trwy fod y nŵyon yn cael eu cadw rhag dïanc, y mae yn troi yr hyn a elwir y *lignite*—math o lô coedaidd. Ceir hwn yn y Cyfnod Trydyddol (*Tertian Period*), ac mewn rhai manau gwneir defnydd helaeth o hóno yn danwydd fel y gwneir â'r mawn yn Nghymru ac Iwerddon. Y mae amryw fathau o lô, a hyny yn ôl amseriad ei ffurfiad a maint y cyfnewidiadau yr aeth trwyddynt, megys, *(a)* y *glô pŷgaidd* (pitchy). Yr unig wahaniaeth rhwng hwn a'r lignite ydyw ei fod wedi bod yn hŵy yn y ddaear, ac felly mewn gradd pellach o fŵneiddiad. Gelwir hwn weithiau y *glô du*, i'w wahaniaethu oddiwrth y bignite neu y *glo brown* (brown coal). *(b)* Y *Maenlô* (Anthracite). Y mae hwn yn gorwedd braidd yn isel yn mynwes y ddaear, a thrwy fod yn agos i wrês y creigiau folcanaidd, wedi colli ei elfen bŷgaidd. *(c) Culm.* Y mae hwn yn gorwedd yn is i lawr na'r maenlô, ac nid yn unig yn ddigon isel i'w olosgi gan y gwrês, ond hefyd i'w ddryllio gan y gorwasgiad. *(d) Agerlô* (Steam Coal). Yn ddiweddar y darganfyddwyd hwn yn nghymydogaeth Abertawe, a rhoddwyd iddo yr enw agerlô, o herwydd ei gymhwysder i beiriannau yr agerlestri. Y mae yn galed, ac yn llosgi heb ddim mŵg, ac nid yw yn beryglus oddiwrth enyniad hunangynhyrfiol. *(d)* Y *Graphite;* bryd arall gelwir ef yn *plumbago* neu y *black-lead.* Dyma'r ffurf sydd i'r glô bob amser yn nghymydogaeth y creigiau tanllyd; y mae wedi colli ei natur losgadwy, sef y pŷg a'r hydrodyren, a dim ond y *carbon* yn aros. *(e)* Yr *Adamant* (diamond). Gwyddom fod tarddiad yr adamant yn aros mewn dirgelwch, ond y syniad ydyw ei fod o darddiad llysieuol. Nid yw ddim ond defnydd llysieuol wedi ei garboneiddio. Y mae Liebig yn gwneyd fod yr adamant, trwy ddadansoddiad yn dangos ei fod o darddiad llysieuol. Dyna'r llysiau a'r mawn, trwy gael digon o amser i fyned trwy ddigon o gyfnewidiadau, wedi myned yn adamant, y sylwedd caletaf mewn natur. Y mae cyfnod y glô yn cynnwys olion bywydol; heblaw llysiau, ceir ffosyl-

au o amryw gregin, pysg, ac ymlusgiaid. Ymysg y cregin ceir y *Nautilus*, *Bellinurus*, *Ortheras*, &c. Ymysg y pysgod ceir amryw; ac ymysg yr ymlusgiaid ceir *Apaleon pedestris*, a'r *Archegosaurus*, &c. Y mae Mr. Symond yn dyweyd fod Syr Charles Lyell a Mr. Dawson wedi darganfod ffosyl o ymlusgiaid oddifewn i'r pren Sigillaria; yr ydys wedi darganfod ymlusgiad o rywogaeth y llyffaint yn Ohio. Yr ydys yn cofio fod llyffant yn cael ei ddangos yn yr *Exhibition* yn Llundain oedd wedi ei ddarganfod yn y glô. O ba le y daeth, nis gwyddid, os nad oedd wedi disgyn oddiwrth y ffosyl a gaed yn Ohio? Ond y mae yr athrawiaeth o gael llyffant byw yn nghanol telpyn o lô yn afresymol. Y mae amryw wedi ceisio rhoddi rheswm dros ei bresennoldeb yn y fan y caed ef. Y mae *Professor* Owen yn dywedyd y gallasai syrthio dros enau y pwll, fel y gwneiff ugeiniau o honynt, pan yn ychydig ronynau o bwysau, a syrthio i'r dwfr heb dori yr un o'u hesgyrn; ac unwaith i lawr, ymlusgant i'r holltau tywyll, ac yno ymlechant. Yr ydym yn frysiog wedi myned trwy faes sydd braidd yn anhysbyddadwy; hwyrach y cawn hamdden eto rywbryd i sylwi ar y *meusydd glô* a'r fasnach löawl. Y mae y cyfnod hwn yn dysgu i ni amryw wersi.

1. Henafiaeth bywyd. 2. Fod marwolaeth yn y byd cyn crëadigaeth dyn. 3. Rhagddarbodaeth Duw dros, a rhagwelediad Duw o, ddyn er y dechreuad. 4. Doethineb Duw yn dwyn bywyd o farwolaeth.

"Nature is alone antique; the oldest art is a mushroom."

---

# Y GAIR GAN IOAN.

Er fod y term *gair*, fel y dywedwyd yn yr ysgrif o'r blaen, yn ëang ac amrywiol iawn yn ei ystyron yn yr iaith Roeg, yn gystal a geiriau cyfystyr mewn ieithoedd adnabyddus eraill, eto hwyrach y gallwn grynhôi y cyfan i dri o brif ystyron: sef,

I. Deall a rheswm fel sail ymadrodd. Crëadur rhesymol yn unig a all siarad neu ymadroddi yn brïodol.

II. Yr achos o, ac yn enwedig y rheswm am, unrhyw beth.

III. Gair yn ei ystyr brïodol, fel y mae yn wisg neu gorff y meddwl, a chyfrwng trosglwyddiad y naill feddwl i'r llall.

Yn awr, ein gorchwyl ni yn ein hysgrif hon fydd, ceisio edrych ar y Person mawr y cyfeirir ato gan Ioan, fel y Gair, yn unol â'r tri ystyr crybwylledig.

I. Ymdrechwn i edrych arno yn gyntaf fel dealltwriaeth a doethineb Duw, sail ymadrodd Duw, yn enwedig ei ymadrodd am y groes i ddyn fel pechadur—y Gair dwyfol a hollol ydyw Iesu Grist yn yr ystyr yma. Ac felly gelwir ef yn "Grist gallu a doethineb Duw;" y mae "holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig ynddo Ef." Ac yr oedd

Ioan wrth alw Iesu Grist y Gair, yn cymeryd i mewn bobpeth o werth am Dduw fel dadguddiad, o eiddo yr Iuddew a'r Pagan. Pa beth bynag a feddyliai Job a Solomon, yn eu darluniadau godidog o ddoethineb, y mae wedi ei gymeryd i mewn yn gryno yn yr ymadrodd hwn, y Gair. Ac os meddyliai y Groegiaid ryw beth o werth am Dduw yn eu "deall cyfriniol," eu byd deallol, &c., y mae yr enw hwn ar Grist yn ddigon ëang i gymeryd hyny hefyd i mewn iddo ei hun; ac y mae y Person hwn y Gair gyda golwg arnynt oll.

Y farn a ffyna yn y cyffredin yw nas gellir meddwl yn brïodol ond trwy gyfrwng geiriau. Pan yr ä unrhyw ddyn i feddwl am dynu cynllun unrhyw beth, rhaid iddo am ryw fath o eiriau. Dichon na bydd y geiriau a ddefnyddia y mwyaf pwrpasol, ond rhaid iddo er hyny am danynt. Heb hyn nis gall edrych ar y cyfryw gynllun ar wahân oddiwrth wrthddrychau eraill—ystyried ei wahanol ranau fel y safant ar eu penau eu hunain, fel y daliant gysylltiad â'u gilydd i wneyd i fyny un oll cyflawn a pherffaith, &c.; ond trwy gyfrwng enwau a geiriau, medr y cynllunydd droi ei gynlluniau yn ôl ac ymlaen yn ei feddwl, nes o'r diwedd eu dwyn i raddau boddhäol iddo ei hun, yn berffaith, fel y cyfryw. Yr un peth,—ond mewn ystyr anfeidrol, anfeidrol uwch, wrth gwrs—a ellir ddyweyd am Dduw, mae yn debyg; yr oedd raid iddo yntau am air tuag at feddwl yn brïodol. Ond nid ydoedd un cyfrwng prïodol i'w feddyliau anfeidrol Ef, ond y Gair anfeidrol, ei Fab ei hun; trwy y Gair hwn y meddyliodd ac y perffeithiodd efe ei gynlluniau anfeidrol a thragywyddol. Y mae meddwl a llefariad felly, ysbryd a gair, yn anwahanol addiwrth eu gilydd. Yr un peth, medd un ysgrifenydd, yw dyweyd y gellir meddwl heb *air* â dyweyd y gellir meddwl heb feddwl—mae dyn yn meddwl trwy lefaru yn fewnol. Gwir fod a fyno iaith dyn â'r anianol a'r corfforol. Ond y mae iaith ynddi ei hun yn yr ysbryd pur, ïe, yn yr Ysbryd anfeidrol, yn anwahanol oddiwrth feddwl, a'r meddwl oddiwrthi hithau; o herwydd gair neu ymadrodd yw dealliad y meddwl—sydd yn rhoddi ffurf ac agweddiad iddo megys. Ond y Gair hwnw sydd yn sail pob gair, yw y Gair personol, Mab Duw ei hun.

Awgrymir y ddysgeidiaeth hon yn aml yn y Bibl. Dywedir fod defnyddiad y gair Heb., *amer*—llefaru—yn dyfod o'r unoldeb hanfodol sydd rhwng meddwl a llefariad—cynnwysa y ddau—y meddwl fel lleferydd mewnol, a'r llefariad fel meddwl allanol a chlywadwy. Gellir, y mae yn ymddangos, ddyweyd yr un peth gyda golwg ar y gair *hâhgâh* (y gair a gyfieithir yn y cyffredin yn y Bibl myfyrio). Weithiau y mae y gair yn arwyddo meddwl neu fyfyrdod, megys yn yr adnodau canlynol:—"Nac ymadawed llyfr y gyfraith hon o'th enau, eithr *myfyria* ynddo ddydd a nos. *Myfyriaf* hefyd ar dy holl waith, ac am dy weithredoedd y chwedleuaf." Bryd arall y mae yn arwyddo llefariad allan y meddwl—dyma enghraifft neu ddwy er dangos hyny:—"Ni ddywed fy ngwefusau anwiredd, ac ni *thraetha* fy nhafod dwyll. Fy nhafod innau a *lefara* am dy gyfiawnder. Ni *leisiant* chwaith â'u gwddf." Y mae yr uchod, yn gystal ag amryw eraill a ellid ddyfynu, yn rhagddangos y berthynas anwahanadwy sydd rhwng meddwl a *gair*. Fel y dywed Eusebius, ac Augustine hefyd o ran hyny, nad yw y gair a ddaw allan o'u geneuau ac sydd ar eu tafodau, ond rhyw gyhoeddiad teimladwy *(sensible)* o'r gair mewnol, cynnyrchydd yr un allanol; a hwn, y

gair mewnol, yw y gair mewn ystyr brïodol a gwirioneddol, ac nid yr un a ddaw o'r genau trwy y llais. Ac y mae y berthynas sydd rhwng y meddwl crëedig a gair crëedig, yn ddiammheu, yn fath o gysgod o'r berthynas sydd rhwng y meddwl digrëedig â'r gair digrëedig—y mae y Gair Dwyfol yn sail i'r meddyliau Dwyfol. A gallem feddwl mai hyn yw un rheswm pam y gelwir Crist yn "Gyntafanedig pob crëadur, dechreuad crëadigaeth Duw," &c. Y mae efe felly nid yn unig yn weithredol, ond hefyd yn feddyliol—y *dechreuad* a'r *cyntaf* hollol ydyw Efe, neu fel y mae Efe ei hun yn dyweyd am dano ei hun, dan yr enw Doethineb, yn llyfr y Dïarhebion:—"Yr Arglwydd a'm meddiannodd i yn nechreuad ei ffordd, cyn ei weithredoedd erioed." A ganlyn ydyw cyfieithiad y Deg a Thriugain o'r geiriau hyn: "Yr Arglwydd a'm gwnaeth i yn ddechreuad ffordd i'w, neu at ei weithredoedd"—nid oedd un ffordd i Dduw i wneyd dim ond y Mab: Efe oedd y ffordd i'r Tad i wneyd y cwbl a wnaethpwyd. Awgryma y Bibl fod pobpeth mawr Duw *o'r* Tad, ond *trwy* y Mab. Gallwn weled hyn yn y rhanau canlynol o'r Ysgrythyr. "Eithr i ni," medd Paul, "nid oes ond un Duw, *o'r* hwn y mae pob peth, a ninnau ynddo Ef"—neu, a ninnau iddo Ef; "ac un Arglwydd Iesu Grist, *trwy* yr hwn y mae pob peth, a ninnau *trwyddo* Ef." Etô, "Canys o *hôno* Ef, a *thrwyddo* Ef, ac *iddo* Ef, y mae pob peth. Pob dim a grëwyd *trwyddo* Ef ac *erddo* Ef," &c. Felly y mae pobpeth mawr Duw *o'r* Tad, a *thrwy* y Mab. Y Mab fel y Gair tragywyddol a bontiodd y gagendor mawr oedd rhwng anfeidroldeb a diddymdra, modd y gallasai Duw—bôd hollol, bôd oedd yn oll yn oll ynddo ei hun—daflu i fodolaeth wrthddrychau ag oedd yn arall iddo ef ei hun; ïe, gwrthddrychau ag oedd i raddau, rai o honynt o leiaf, mewn rhyw ystyriaethau, yn annibynol arno Ef ei hun.

Gallwn ddywedyd hyn, dybygid, mewn modd neillduol mewn perthynas i drefn fawr yr iachawdwriaeth. Nis gallasai Duw byth feddwl am achub pechadur ond trwy y Mab fel Gair—trwyddo Ef y *startiodd* y meddyliau hêdd yn Nuw yn nhragywyddoldeb, yn gystal ag y dygwyd hwynt allan yn actau hêdd yn nghyflawnder yr amser; y Gair Dwyfol a hollol yw ffynnonell fawr pob gair sydd mewn bod. Ni buasai yr un gair yn bod oni bae *y Gair*. Rhyw ymherodraeth o fudandod cyffredinol fuasai ymherodraeth Duw, heb un gair yn tòri allan yn un lle, oni bae y Gair anfeidrol. A hwyrach y gellid dyweyd mai rhyw hanfod o fudandod anfeidrol fuasai hanfod y Duwdod, heb siarad un gair byth mewn crëadigaeth, rhagluniaeth, nac iachawdwriaeth, oni bae y Gair Dwyfol, y Mab. Efe felly ydyw sylfaen Ddwyfol yr Hanfod Ddwyfol i siarad—yn enwedig siarad maddeuant i bechaduriaid o ddynolryw. Ac i ni, gweddus ydyw mawl wrth geisio meddwl am hanfod Duw, o herwydd ei bod yn hanfod â digon o amrywiaeth gogoneddus ynddi i fod yn sail trefn iachawdwriaeth i wrthryfelwyr yn erbyn y Duw mawr hwn.

II.—Edrychwn ar Grist yn ol yr ail ystyr a nodwyd i'r term Gair; sef yr achos o, a'r rheswm am, unrhyw beth; yn benaf yr olaf. Dyma reswm mawr Duw am y cwbl, y Gair—dyma ei Baham mawr Ef, ei Fab ei hun fel Gair. Cryn anhawsdra yn aml ydyw dyfod o hyd i'r *paham* yma gyda golwg ar lawer o bethau; ond *paham* mawr Duw am bob peth ydyw y Gair tragywyddol. Paham y crëodd, y cynnalia, ac yr achub Efe y byd, ydyw y Gair. "Pob dim a grëwyd," medd yr Apostol,

"trwyddo Ef ac *erddo* Ef." Er ei fwyn Ef y gwnaethpwyd yr oll ag a wnaethpwyd. Ei Fab ei hun yw rheswm mawr Duw am faint, llun, &c., y grëadigaeth yma, yn gystal ag am ei bodolaeth. Sut y darfu i Dduw—Bôd hollol, Bôd oedd yn oll ynddo ei hun, fel y dywedwyd—sut y darfu iddo alw i fodolaeth wrthddrychau oeddent yn arall iddo Ef? Y Gair yw y rheswm mawr—"pob dim a grëwyd erddo Ef." Ni buasai Duw byth yn estyn y nefoedd, nag yn lledu y ddaear, o hóno ei hun, oni bae y Gair—"pob dim a grëwyd erddo Ef." Yr un un, dybygid, hefyd, ydyw rheswm mawr Duw am oddef a chaniatâu i ddrygau ddyfod i mewn i'w lywodraeth. Pa fodd y caniatäwyd i bechod, yr hyn sydd mor ddrwg ynddo ei hun, ac mor niweidiol i bawb eraill, osod gwadn ei droed i lawr ar un o'r bydoedd gogoneddus a gylchynant orsedd yr Hwn sydd â'i ewyllys a'i allu yn anfeidrol? Wel, nid oes ond dystawrwydd yn teyrnasu ymhob man; ïe, os nad oes rhyw sibrwd gwan yn ymdòri allan yn adsain twrf dyfroedd lawer dirgeledigaethau y Gair. Tebyg iawn na buasai Duw yn caniatâu i'r gelyn ddinystrio a chwalu un darn o'i grëadigaeth ogoneddus Ef yn y nefoedd, nac ar y ddaear chwaith, oni bae ei fod yn gweled digon o reswm yn y Gair "i grynhôi ynghyd yr holl bethau yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo Ef." Y mae y meddwl ystyriol yn methu peidio cwestiyno, Paham y crëodd Duw yr angelion a bechasant? canys y mae rhyw awgrymiadau yn y Bibl yn dangos mai ynddynt hwy, rywfodd, y gwreiddiodd pechod; megys fod y diafol yn pechu o'r dechreuad, a'i fod yn dad y celwydd. Wel, os ynddynt hwy y dechreuodd, sut y darfu i Dduw grëu y bôdau truenus hyn, pan y gwyddai pa beth oedd y canlyniad i fod? Hwyrach na chawn ni byth ateb manwl i ryw gwestiwn fel hyn; ond yr ydym wedi cael rheswm mawr Duw am y cwbl: y Gair. Sut na buasai Duw yn caniatâu i ddaear pechod ymfalurio ymaith yn gymylau o lwch marwolaeth i ymchwareu am byth yn nyfnderoedd y pydew diwaelod y foment y daeth pechod i gyffyrddiad â hi? Y rheswm mawr am hyn yw y Gair. "Y mae Efe," medd Paul, "cyn pob peth, ac ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll." Peth rhyfedd na buasai pechod ein rhïeni cyntaf yn agor agorfa lydan o Eden ardd i uffern dân, a'u llyncu hwy yn fyw yno ar unwaith, fel Cora, Dathan, ac Abiram, gynt, er rhoddi terfyn tragywyddol ar eu hymryson yn eu personau hwy eu hunain. Yr oedd yn rhyfedd. Ond y rheswm am hyny yw Iesu Grist fel Gair:—"Mae Efe cyn pob peth, ac ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll." Cafodd Duw yn y Gair ddigonol reswm i gylchu y grëadigaeth â'i allu mawr i'w hattal rhag ymddryllio, er i bechod, yn ei holl allu i chwalu a dryllio ddyfod i gyffyrddiad â hi: "ynddo Ef y mae pob peth yn cydsefyll."

Pe yr edrychem eto ar y mater hwn yn ei berthynas neillduol â threfn yr efengyl; rheswm mawr Duw am bob peth hóno yw ei Fab fel Gair. Paham y meddyliodd Duw am ddyrchafu dyn wedi iddo fyned i lawr? Y Gair yw y paham mawr. Sut y meddyliodd Efe wedi hyny am ddyrchafu dyn yn hytrach na'r angel a syrthiasai? Yr un yw y rheswm mawr: "pob peth a wnaethpwyd erddo Ef." Pa fodd y mae y Duw sanctaidd, yr hwn sydd lanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg, yn medru maddeu anwiredd, camwedd, a phechod? O! y mae plant bach yr Ysgol Sul yn Nghymru yn barod i ateb mai *Iesu Grist*—y Gair—yw y rheswm am hyny. Felly, *un* rheswm mawr sydd gan Dduw am y

cwbl, sef y Gair. Ac, yn wir, *un* pob peth mawr sydd yn aml. Gellir olrhain pob peth bychan, yn y cyffredin, nes ei golli mewn rhyw un peth mawr. Gellir olrhain y pelydr gwan nes ei golli mewn un haul mawr. Y mae yn hawdd dilyn y nant fach nes ei cholli yn yr afon fawr, a'r afon fawr yn yr un môr mwy. *Un* pobpeth mawr sydd. *Un* amser, *un* tragywyddoldeb; *un* nefoedd, *un* uffern; *un* Duw, *un* Cyfryngwr; *un* pobpeth mawr: ac felly, *un* rheswm mawr sydd gan Dduw am bob peth—y Gair. Gallwn olrhain rhesymau llai y Goruchaf nes eu colli yn yr un rheswm mawr, y Gair. Dilynwn ei *bahamau* llai Ef nes eu colli yn yr un paham mawr. Paham yr arbeda Duw y pechadur euog? Y mae y plentyn, fel y dywedwyd, yn barod i ateb, 'O herwydd aberth mawr Calfaria—dyma y paham am y ffaith ryfedd yna. Paham am aberth y groes wedi hyny? Yr ateb parod yw, "O herwydd ei fawr gariad, trwy yr hwn y carodd efe nyni"—hynyna yw y rheswm am hyny. Ond paham am y cariad yma wedi'n? Wel, wel, dyma ni erbyn hyn heb ddim genym i wneyd ond ymgolli yn yr un môr anfeidrol, heb ddim gwaelod byth na glàn yn perthyn iddo—y Gair tragywyddol ei hun! A chysur cryf i bechadur wrth feddwl, ysgrifenu, a darllen, am reswm mawr y natur Ddwyfol, yw ei fod trwy yr ymgnawdoli a'r marw a wnaeth yn y byd yma yn ei holl fawredd a'i ogoniant, yn rheswm gan Dduw i *faddeu*, fel y mae yn galw ar y pechaduriaid mwyaf ar y ddaear i ddyfod i *ymresymu* âg Ef gyda golwg ar y pwnc o faddeuant:—"Deuwch," medd Efe, "ac *ymresymwn;* pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt càn wyned â'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlân."

III. Sylwn ar Grist yn unol â'r trydydd ystyr crybwylledig i'r term *Gair*, sef gwisg neu gorff y meddwl, a chyfrwng trosglwyddiad y naill feddwl i'r llall. A diammheuol ydyw mai yn unol â'r ystyr hwn, yn benaf, y galwodd Ioan yr Ail Berson yn yr hanfod Ddwyfol, *y Gair*. Ymddengys mai anfynych iawn yn y Testament Newydd y mae y term *logos* yn cael ei arfer yn yr ystyr o *ratio;* ond yn yr ystyr o *oratio* neu *verbum* y defnyddir ef. Er fod Ioan yn ymddangos yn bur hoff o'r term hwn, eto, mae yn debyg (gwel Delitzsch's Bib. Psych.) mai ei ystyr ganddo bob amser yw Gair. Weithiau golyga *air* uniongyrchol Crist, pen. ii. 22; weithiau gair Duw, pen. x, 35; bryd arall gair y prophwydi a'r holl Ysgrythyr, pen. xii. 38, a xv. 25;. bryd arall, drachefn, holl eiriau neu athrawiaethau Crist, pen. viii. 31; a holl air Duw, pen. xvii. 17. Felly, pa un bynag ai y Gair, Gair y bywyd, neu Gair Duw, &c., a gyfarfyddwn ni yn ysgrifeniadau Ioan, golyga y term bob amser, mae yn debyg, ryw fath o *air* neu *ymadrodd*. Ac yn unol â'r ystyr hwn i'r term, yn benaf, yn ddiau, y mae i ni edrych ar y Gair personol a Dwyfol ganddo, yr hwn y dywedir am dano ei fod yn y dechreuad gyda Duw, a'i fod ef ei hun yn Dduw. Gair yr hanfod Ddwyfol ydyw *y Gair—exponent* y Natur Ddwyfol ydyw. Nid yn unig y mae yn Air ewyllys Duw, ond y mae yn Air ei natur Ef; *expression* y Natur Ddwyfol iddi ei hun, ar ryw olwg, ydyw; a Duw oedd y Gair; ynddo a thrwyddo Ef y mae Duw wedi rhoddi hanfodiad gwrthddrychol i'w feddyliau a'i gynghorau tragywyddol ei hun yn ei olwg ei hun er tragywyddoldeb. Y mae y term gair yn bur hapus yn yr iaith Gymraeg i ddangos y mater dan sylw. Tardda, y mae yn ymddangos, o'r gwreiddair *ga*—myned neu ddyfod allan. Felly ydyw yma. Pa beth ydyw Iesu Grist fel Gair? Dyna

ydyw, Duw yn dyfod allan—allan o hono ei hun, i'w olwg ei hunan a'r grëadigaeth, yn enwedig yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Diammheu fod rhyw wirionedd mawr o dan yr hen dybiaeth hono, a ffynai ymhlith llawer o'r cenhedloedd paganaidd, sef fod Duw yn Fôd rhy fawr a goruchel i wneyd un sylw o'r grëadigaeth mewn modd uniongyrchol, megys ei galw i fôd, a'i chynnal a'i llywodraethu mewn bôd wedi ei chrëu. Dichon fod rhywbeth yn hyn â'i sail ar y Gair. Hwyrach nad oedd y pagan yn gweled y peth ei hun oedd yn hyn. Ond dichon ei fod, trwy ryw fodd nas gwyddom ni, yn gweled cysgod y gwirionedd yn ymddrychu yn y pellder—*looming in the distance.* Fe allai mai rhyw Fôd rhyfedd fel hyny fuasai Duw oni bae y Gair; Bôd yn ymguddio yn ddystaw ynddo ei hun, heb ddyfod allan i siarad un gair mewn crëu, cynnal, nac achub. Ac y mae rhyw ymadroddion yn y Bibl yn ymddangos yn ffafriol i hyn—yn yr Hen Destament a'r Newydd. Dywed Dafydd, "Mor werthfawr yw dy feddyliau genyf, O Dduw! mor fawr yw eu swm hwynt!" Yn ol y LXX: "Mor anfesurol yw dy weithredoedd o garedigrwydd i mi! O pa mor anorchfygol, neu anfeidrol, yw eu gwreiddiau, neu eu dechreuad!" Y meddwl dybygid yw: Mor anfeidrol yw y meddyliau hyn yn y ffynnonell hollol o honynt cyn tarddu allan trwy y Gair. "Pwy a gyfarwyddodd Ysbryd yr Arglwydd?" medd Esaïah: neu yn ol Paul, "Pwy a wybu feddwl (*nous*) yr Arglwydd?" Eto dywed Paul yn 1 Cor. ii. 16: "Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd, yr hwn a'i cyfarwydda ef? ond y mae genym ni feddwl Crist." Nid yw ddichonadwy i ni wybod dim am feddwl Duw fel y mae yn *nous* —fel y mae yn *Air* yn unig y mae rhyw wybodaeth o hóno yn dyfod i ni; "Ond y mae genym ni feddwl Crist." "Ni welodd neb Dduw erioed," ebai y Gair ei hun; "yr uniganedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd Ef." Tebyg mai rhyw Fôd felly fuasai Efe oni bae y Gair; rhyw Fôd yn ymguddio ynddo ei hun byth heb ei weled mewn dim: ni welodd neb Dduw erioed yn y *meddwl,* tu draw megys, i'r Gair. A chyda golwg ar hyn, i raddau yn ddïau, y dywed yr Apostol Paul, "Y Duw anweledig—yr hwn sydd yn trigo mewn goleuni ni ellir dyfod ato, yr hwn nis gwelodd un dyn, ac nis dichon ei weled." A Duw anweledig yn trigo mewn goleuni nad ellid dyfod ato fuasai byth, oni bae y Gair; y mae hwn yn ddelw weledig o'r Duw anweledig, ac yn trigo mewn goleuni y gellir dyfod ato, i egluro y goleuni ni ellir dyfod ato.

Y mae Iesu Grist felly, nid yn unig yn *sail,* ac yn *rheswm* am y cynghor hedd a fu rhyngddynt ill dau, gyda golwg ar godi dyn; ond efe hefyd yw *dygydd allan, Gair* y cynghor hwn. Cynghor a fuasai byth—meddwl, syniad, ewyllys; meddwl o hedd, *idea* o gariad, ewyllys i achub, yn ymdroi, ac yn ymchwyddo, ac yn ymdòni, yn y meddwl Dwyfol, heb le i redeg allan i dragywyddoldeb oni bae y Gair. Ond trwy y Person mawr hwn, y mae y meddyliau *hedd* wedi dyfod yn ffeithiau hedd, y syniadau cariad wedi dyfod yn actau cariad, a'r ewyllys am achub yr euog wedi dyfod yn drefn achub, *yn* ac *wedi,* achub yr euog—mae y Gair yn *channel* ddigon llydan a dwfn i'r gronfa Ddwyfol o ras a gwirionedd oedd yn y meddwl anfeidrol, i redeg allan yn foroedd tònog o iachawdwriaeth i'n byd ni.

Nid ydyw gyflëus, nac fe allai gymhwys i ni, mewn ysgrif o fath hon, i fyned dros ragymadrodd Ioan i'w efengyl yn fanwl. Ond y mae yn

brofedigaeth i ni er hyny i gyffwrdd â rhai pethau ynddo, tuag at geisio egluro ymhellach ein testun goruchel. A'r peth cyntaf, a'r penaf hefyd, gallwn feddwl—sydd yn ein taro yma, yw Duw yn dyfod allan i ffurfio undeb gweithredol rhwng y natur Ddwyfol â'r ddynol, yn mherson y Mab—syniad mawr yr ymgnawdoliad yn dyfod yn ffaith fawr. A gallwn dybied mai y syniad hwn yw y penaf o ffyrdd Duw—hen syniad mawr yr ymgnawdoliad. Y mae hwn, ni a feddyliem, fel rhyw Himalaya anfeidrol yn dyrchu ei ben uwchlaw y mynyddoedd uchaf a orweddant ar gyfandir ëang meddyliau penaf Duw, i'w weled o bob cyfeiriad, ac yn dylanwadu ar bob peth. Ond yr hyn a ddywed Ioan yn y bennod i. 14, yw fod y syniad hwn wedi dyfod yn ffaith: "A'r Gair," ebe efe, "a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." Gwnaeth rhai o'r paganiaid goreu hanner breuddwydio fod hyn i gymeryd lle rywbryd a rywffordd; dywedodd rhai o'r prophwydi goreu ei fod yn sicr o gymeryd lle yn nghyflawnder yr amser; a gwelodd yr Iuddewon goreu ei gysgod gannoedd o flynyddoedd cyn iddo gymeryd lle. Y fath ydoedd ei fawredd aruthrol a gogoneddus fel yr oedd yn taflu ei gysgod o'i flaen gannoedd a miloedd o flynyddoedd cyn iddo ef ei hun ddyfod i'r golwg. Eithr yr hyn a gyhoedda Ioan yma yw ei fod Ef ei hunan wedi ymddangos yn sylweddol! "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." Gofynodd rhyw un yn y cyfddydd—Solomon, onidê?—"Ai gwir yw y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear?" "Tybed fod y fath beth rhyfedd yn ddichonadwy?" fel pe dywedasai. Ydyw, medd Ioan, y mae yn ddichónadwy—y mae *wedi* cymeryd lle, y mae yn ffaith: "A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni." Y mae wedi bod yn pabellu yn ein plith ni; yr ydym ni wedi bod yn cydfyw âg Ef am flynyddoedd, wedi bod yn ei deimlo â'n dwylaw, a'i weled â'n llygaid lawer gwaith. Y mae fy mhen i wedi bod yn pwyso ar ei fynwes Ef, ac yr wyf yn siŵr mai mynwes o gîg a gwaed oedd hi; ond yr ydwyf yn siŵr hefyd, fel pe yr ychwanegai, o rywbeth mwy ac uwch mewn cysylltiad âg Ef:—'Ni a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megys yr Uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd'—rhyw ogoniant oedd ei ogoniant Ef nas gallasai fod yn eiddo neb ond ei Dad ac yntau; nid oedd yn debyg i ddim arall; Duw wedi ymddangos yn y cnawd yn ddiddadl ydoedd Efe; nid oedd yn debyg i neb arall mewn dim: "Ni a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megys yr Uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd."

Ac yn awr, trwy i'r Gair ddyfod yn gnawd, a thabernaclu gyda dyn ar y ddaear, daeth iaith yr Hanfod Ddwyfol yn iaith yr hanfod ddynol. Trwy i'r Gair ddyfod yn gnawd a thrigo gyda dyn ar y ddaear, siaradwyd pethau nefol a thragywyddol Duw yn ymadroddion daearol ac amserol dyn. Trwy i'r Gair ddyfod yn gnawd a thrigo yn ein plith ni, y mae y syniadau tragywyddol hyny, oeddynt yn methu cael gair digon mawr a llydan i fod yn hanner gwisg am danynt, ond y Gair anfeidrol —y mae y syniadau mawrion hyn, meddwn, y rhai oedd o'r blaen yn siarad â thafod megys o dân Dwyfol, y Gair *heb* ei wneuthur yn gnawd, yn siarad yn awr â thafod megys o bridd, y Gair *wedi* ei wneuthur yn gnawd. Gallwn ni, teulu y ddaear, ddyweyd yn awr, gyda golwg ar feddyliau cyfammod tragywyddol Duw, fel y dywedodd y Cretiaid a'r Arabiaid ar ddydd y Pentecost gynt, gyda golwg ar yr Apostolion yn

# YR IWERDDON, Y WEINYDDIAETH, A'R ETHOLIAD CYFFREDINOL.

Y MAE yn eglur mai y pwnc mawr a benderfynir gan etholwyr y Deyrnas Gyfunol, yn yr ymrysonfa etholiadol a gymer le yn nechre mis Tachwedd nesaf, ydyw, dadgysylltiad, ynghyda dadwaddoliad yr Eglwys Wyddelig. Y mae yn amlwg fod y pwnc Gwyddelig wedi symud llawer, ac wedi symud yn gyflym, er pan y cafodd y TRAETHODYDD gyfle o'r blaen i roddi barn ar y mater. Y pryd hyny, yr oedd dadgysylltiad yr Eglwys yn yr Iwerddon yn un o bynciau y dyfodol pell; ond yn awr y mae yn bwnc presennol, ac wedi cyffröi ein gwlad o Bantry Bay hyd Fôr y Gogledd, ac o Gulfôr Dover hyd Ynysoedd yr Orkney. Yr ydym ninnau yn anfoddlawn i'n rhifyn presennol gael ei anfon i'r byd heb gymeryd cyfleusdra i ddyweyd ein golygiadau ar bwnc y dydd, ac ar y sefyllfa boliticaidd yn yr Iwerddon. Dymunwn i'r darllenydd ddeall mai oddiar safle y gwleidiadydd yr ydym yn bwriadu ystyried y mater, yn hytrach nag oddiar safle y diwygiwr Eglwysig. Gan hyny, dadleuwn dros ddadgysylltiad a dadwaddoliad yr Eglwys Wyddelig. nid ar y tir yr ydym yn barod i wrthwynebu sefydliadau gwladol o grefydd yn gyffredinol, ond am fod undeb y wladwriaeth, cyfiawnder, a gwleidyddiaeth ddoeth a chymmodlawn tuag at yr Iwerddon, yn galw am hyny.

Y mae bron ddeugain mlynedd er pan ddywedodd Syr Robert Peel, nad oedd, o'r braidd, flwyddyn wedi myned heibio er pan basiwyd yr "*Act of Union,*" yn yr hon y llywodraethwyd yr Iwerddon fel rhanau eraill o'r deyrnas, yn ol cwrs arferol y gyfraith. A pheth yw sefyllfa y wlad hono yn bresennol? Fel hyn y cyfarchai Mr. Gladstone etholwyr Dê-orllewin Lancashire ar y mater hwn:—

"Foneddigion, yn fuan wedi derbyn yr anrhydedd o gael fy newis yn un o'ch cynnrychiolwyr, fel aelod o Weinyddiaeth Iarll Russell, gyda'r teimladau mwyaf gofidus y deallais i a'm cydswyddwyr, fod sefyllfa yr Iwerddon yn nechre y flwyddyn 1866 y fath, ag i'n gorfodi, os mynem gyflawni y ddyledswydd flaenaf o ddiogelu bywydau a meddiannau deiliaid heddychlawn ei Mawrhydi yn y wlad hono, i ofyn am foddion ychwanegol i'n galluogi i'w chyflawni; a'r moddion ychwanegol yr oeddym dan yr angenrheidrwydd o'u gofyn, y mae yn ofidus genym ddyweyd, oedd yr hyn a elwir yn gyffredin yn attaliad deddf yr *Habeas Corpus*, hyny ydyw, gosod o'r neilldu am y foment brif amddiffyniad rhyddid—rhyddid personol —pob un o honom * * * * Ar y cyntaf, os wyf yn cofio yn dda, gofynasom am yr attaliad hwn am dymmor o chwe' mis. Cyn pen y chwe' mis, newidiwyd y Weinyddiaeth, a chafodd ein holynwyr allan mai un o'u dyledswyddau cyntaf oedd ceisio attaliad pellach ar ddeddf yr *Habeas Corpus*, ac o bryd i bryd, adnewyddent eu cais. Ni fynwn i chwi dybied am foment fy mod yn meddwl eu bod yn ceisio hyny heb achos; ond pan ddaw tymmor yr attaliad presennol i ben, bydd yr Iwerddon wedi parhâu am dair blynedd yn amddifad o'r gyfraith hono sydd yn gwarantu rhyddid personol, ac a ystyrir yn egwyddor sylfaenol ein rhyddid fel Prydeinwyr. Chwi a gydsyniwch â mi ynghylch pwysigrwydd a difrifoldeb y fath sefyllfa, a rhaid i mi gyfaddef nas gallaf ddeall mynegiad a ddarllenais yn y newyddiaduron yr wythnos ddiweddaf, yr hwn nid ammheuir, ac ni wedir ei gywirdeb, yr hwn a ddywed, i Brif Weinidog y Goron, a phrif Gynghorydd ei Mawrhydi, ar adeg pan yr attaliasid am dair blynedd yn un o'r tair teyrnas y rhyddid personol a sicrhëir gan y Cyfansoddiad * * *

fynegu ei farn y gellid llòngyfarch y wlad ar sefyllfa bresennol yr Iwerddon. Beth! os arferwyd y geiriau hyn yn fwriadol, nis gallaf ddesgrifio i chwi fy syndod at y gwallgofrwydd a arddangosant. Clywsom am wledydd eraill, gwledydd ar y Cyfandir, lle y darostyngwyd aufoddlonrwydd y werin trwy fraich nerthol y fyddin, a lle yr ymffrostiai y brenhinoedd yn y tawelwch a gynnyrchasid. Nid wyf am gymharu yr Iwerddon â gwledydd eraill o ran cyfreithlondeb y moddion a ddefnyddiwyd i'w darostwng; ond hyn a ddywedaf, fod moddion i'w darostwng wedi eu defnyddio—a hyny yn gyfiawn—ond moddion a ddefnyddiwyd; ac yn anffodus nad yw tawelwch presennol yr Iwerddon i'w briodoli i'r ffaith fod genym yno, fel yma, boblogaeth y gellir ei galw yn unfrydol yn ei hufudd-dod i'r cyfreithiau, a'u hoffder tuag at sefydliadau y wlad; ond y mae genym bóblogaeth, rhan fawr o ba un a edrychant, naill ai gyda chasineb, neu gyda difaterwch sarug, ar y goreu, ar weinyddiad y gyfraith, ar y swyddogion hyny a appwyntiwyd i gadw yr heddwch, ac ar y sefydliadau hyny a garwn. A thra y pery hyn, a thra y cedwir heddwch yn yr Iwerddon trwy allu milwrol * * na chelwch oddiwrthych eich hunain y ffaith hon, pan y cyrhaeddoch yr eithafoedd pryd y gorfyddir i chwi osod o'r neilldu warantau rhyddid personol y deiliaid, eich bod o fewn cam i ryfel cartrefol."*

Geiriau difrifol ydyw y rhai hyn; ac eto yr ydym yn darllen fod ein gwleidiadwyr Toryaidd yn llongyfarch eu hunain, eu gilydd, a'r wlad, ar sefyllfa bresennol yr Iwerddon; fod Ffeniaeth wedi ei ddarostwng, ac fod y carcharau yn weigion o garcharorion politicaidd, a hyny pan y mae prif ddïogelwch rhyddid personol y deiliaid wedi ei dynu ymaith, a phan y mae yn angenrheidiol cadw yn yr Iwerddon, o dan lywyddiaeth un o'n câdfridogion mwyaf galluog a medrus, gynifer o filwyr i gadw heddwch. Pe dywedem wrth ein llywodraethwyr, "Gelwch ymaith eich milwyr—lleihëwch nifer eich byddin o heddgeidwaid yn yr Iwerddon," beth fyddai y canlyniad? Y mae yr atebiad i'w roddi mewn gair—*Chwyldröad!* A oes rhyw un yn ammheu hyn? A oes un o'n gwleidiadwyr yn ammheu na fuasai yr Iwerddon mewn llawn wrthryfel y gauaf diweddaf, o Dublin i Galway, ac o Valentia i Belfast, oni bae fod yr Iwerddon mewn cysylltiad â gwlad arall, fwy nerthol, oedd yn abl i'w chadw danodd? "Beth gan hyny yw y canlyniad?" ebai Mr. Disraeli, yn 1844. "Ei chysylltiad â Lloegr yw yr achos o sefyllfa bresennol yr Iwerddon. Gan mai ei chysylltiad â Lloegr sydd wedi attal chwyldröad, a chan mai chwyldröad yw yr unig feddyginiaeth, gan hyny y mae Lloegr yn y sefyllfa adgas o fod yn achos o holl drueni yr Iwerddon. Beth, gan hyny, yw dyledswydd Gweinidog Seisonig? Cynnyrchu trwy wleidyddiaeth y cyfnewidiadau hyny a gynnyrchai chwyldröad trwy rym arfau." Attolwg, beth ydoedd y wleidyddiaeth a argymhellid yn 1844 gan wron presennol y "*Church and State Defence Association?*" Hyn: "Y foment," meddai, "y cânt Weinyddiaeth gref, llywiadaeth gyfiawn, a *chydraddoldeb eglwysig*, ceir trefn yn yr Iwerddon, ac, mewn canlyniad, wellhâd yn sefyllfa y bobl." Y mae llawer o bethau a phersonau wedi newid er 1844; gan hyny, pa ryfedd fod y *chameleon* politicaidd gan Disraeli wedi newid? Y mae ein darllenwyr yn deall fod Mr. Disraeli wedi newid tipyn er 1844, er fod yr Eglwys yr un yn awr ag ydoedd y pryd hyny. Cawn weled, fel yr awn ymlaen, beth oedd golygiadau Mr. Disraeli ar gydraddoldeb Eglwysig yn 1868. Fe allai y gallwn lwyddo hefyd i ddangos fod y dyn hynod hwn wedi newid fwy nag unwaith er dechre y Senedd-dymmor diweddaf. Gan hyny nid rhyfedd ei fod wedi newid cymaint mewn yspaid pedair blynedd ar hugain.

* Awst 5ed, 1 68, yn St. Helen.

Fe allai y gellir dyweyd mai dwy brif gangen sydd i'r pwnc Gwyddelig —sef y Tir a'r Eglwys. Ond gan mai yr olaf sydd yn awr ger bron yr etholwyr—er fod yn debyg yr amcenir penderfynu y cyntaf yn y Senedd nesaf—ni a gyfyngwn ein sylwadau at yr Eglwys. Yr ydym mewn rhifyn blaenorol o'r TRAETHODYDD wedi myned yn lled fanwl i hanesiaeth ac ystadegaeth yr Eglwys Wyddelig. Gan hyny, nid ydym yn bwriadu blino ein darllenwyr â llawer o ffigyrau. Ond y mae yn rhaid i ni wrth ychydig. Yn ol cyfrifiad 1861, yr oedd poblogaeth yr Iwerddon yn 5,798,967. Yr oedd 4,505,263 o'r rhai hyn yn Babyddion, ac 1,293,702 yn Brotestaniaid o bob enwad. Y mae yn ymddangos mai nifer aelodau yr Eglwys Esgobyddol Brotestanaidd ydoedd 693,357; ond erbyn gwneyd ymchwiliad manwl i'r ystadegau hyn, y mae yn eglur nad yw eu nifer yn gymaint. Yn yr Iwerddon, y mae enwad o bobl yn galw eu hunain yn Wesleyaid; ond nid oes ganddynt weinidogion ordeiniedig, er fod iddynt eu pregethwyr a'u capelau. Fel yr hen Fethodistiaid Calfinaidd a Wesleyaidd, cymunant yn Eglwys eu plwyf. Rhestrwyd y rhai hyn, ynghyda llawer o'r Methodistiaid Wesleyaidd, fel aelodau o'r Eglwys Wladol. Y mae ffaith arall i'w chofio mewn cysylltiad â'r cyfrifiad hwn. Ymddengys fod offeiriaid yr Eglwys Sefydledig wedi dangos pryder nid bychan i chwyddo rhifedi y boblogaeth esgobaethol. Perswadiwyd teuluoedd yr Anghydffurfwyr i restru eu hunain fel aelodau o'r Eglwys Sefydledig; bygythiai stewardiaid y tenantiaid os na wnaent hyn; ac arferai meistriaid gwaith orfodaeth ar eu gweithwyr i'r un amcan. Fel hyn, trwy foddion annhêg, ïe, a thwyllodrus, fe chwanegwyd rhai miloedd o Anghydffurfwyr Protestanaidd at ystadegau yr Eglwys Wyddelig. Y mae yn debyg fod y gwahanol ddosbarthiadau hyn yn gwneyd i fyny 93,357, felly yn gadael 600,000 o aelodau yn yr Eglwys Sefydledig yn 1861. Yn ol yr un côfrifiad, yr oedd yn yr Iwerddon 523,291 o Bresbyteriaid; ond gan fod sail i gredu fod lliaws mawr o'r rhai hyn wedi eu rhestru ymhlith yr Eglwysi, gellir dyweyd fod nifer y Presbyteriaid yn 600,000. Y mae genym felly 1,200,000 o Esgobaethwyr Protestanaidd a Phresbyteraidd, a 93,702 o Ymneillduwyr, a *thros bedair miliwn a hanner o Babyddion.* Y mae cyllid blynyddol yr Eglwys Wyddelig yn 700,000p. Wele, gan hyny, y cyfoeth mawr eglwysig hwn yn meddiant 600,000 o Eglwyswyr, tra y mae 5,198,967 y tu allan iddi—y mwyafrif mawr yn wrthwynebol iddi—ond eto, naill ai yn uniongyrchol neu yn anuniongyrchol, yn cyfranu at ei chynnaliaeth. Dyna ran o'n rhesymiad ystadegol yn erbyn y sefydliad hwn, ac ni a feddyliem ei fod yn siarad cyfrolau. "Y mae y byd yn llawn o sefydliadau Eglwysig, o'r Môr Gwyn hyd Fôr y Canoldir; sefydliadau Eglwysig o'r Volga hyd yr Atlantic; ond nid yn un man y mae eglwys y lleiafrif yn unig yn mwynhâu breintiau sefydliad. Edrycher i America. Yno ceir pob ffurf o Gristionogaeth, o Formoniaeth, os gellir golygu Mormoniaeth yn Gristionogaeth, hyd at Babyddiaeth. Mewn rhai manau chwi gewch yr egwyddor wirfoddol. Mewn manau eraill chwi gewch lïaws o grefyddau wedi eu cysylltu â'r llywodraeth. Mewn rhai manau chwi gewch un eglwys mewn uchafiaeth. Ond nid yn un lle, o'r Cylch Gogleddol i Benrhyn Horn, y deuwch o hyd i Eglwys y lleiafrif—a hwnw yn fychan—yn unig Eglwys y Wladwriaeth. Edrychwch a sylwch ar ein hymherodraeth ni ein hunain. Y mae genym

Eglwys Sefydledig yn Lloegr, ond y mae yn Eglwys y mwyafrif.* Y mae yn yr Alban Eglwys Sefydledig, a phan ei sefydlwyd, yr oedd yn Eglwys y mwyafrif. * * * Yn ein trefedigaethau nid yw y wladwriaeth yn gwneyd llawer i gynnal crefydd; nid ydym mewn un o honynt yn gwaddoli, yn unig, grefydd y lleiafrif. Ië, hyd yn nôd yn y parthau hyny o'r ymherodraeth lle mae corff mawr y boblogaeth yn ymdroi mewn ofergoeledd ynfyd ac anfoesol, nid ydym wedi bod yn euog o'r ffolineb a'r anghyfiawnder o alw arnynt i dalu at gynnal Eglwys nad oes arnynt ei heisieu. Nid ydym wedi rhanu Bengal a'r Carnatic yn blwyfau, gan osod ynddynt bersoniaid cyflogedig ymhlith miliynau o Baganiaid a Mahometaniaid."†

Addefodd un o aelodau y weinyddiaeth bresennol—pe buasent yn awr yn dechreu gwleidydda yn yr Iwerddon, na fuasai neb yn breuddwydio am neillduo yr Eglwys Esgobaethol Brotestanaidd yn yr Iwerddon i fod yn eglwys waddoledig a chysylltiedig â'r llywodraeth, gan ei galw yn Eglwys Genhedlaethol. Ond o barthed i'r Iwerddon, y mae pethau eraill i'w hystyried heblaw cysylltu a gwaddoli Eglwys y lleiafrif. Yn Nghymru y mae corff mawr y bobl y tu allan i gylch yr Eglwys Wladol. Y mae yn debyg fod Ymneillduaeth a llànyddiaeth yn Nghymru bron yn yr un cyfartaledd ag ydyw yn yr Iwerddon, er fod y Parch. P. C. Ellis, o Lanfairfechan, mewn araeth ragorol a draddododd mewn Cyfarfod Clerigol a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Mangor, yn yr hon y galwai ar ei frodyr i ymddeffrôi i gyflawni yn fwy ffyddlawn a difrifol eu dyledswyddau, yn siarad fel y canlyn am sefyllfa gymhariaethol yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru â'r Eglwys Sefydledig yn yr Iwerddon:—"Credai efe," meddai yr adroddiad, "os dadsefydlid yr Eglwys yn yr Iwerddon, y byddai hyny yn farn gyfiawn ar glerigwyr yr Eglwys hono o herwydd eu diffygion; ac yr oedd efe yn argyhoeddedig y byddai i ymchwiliad ddangos fod clerigwyr yr Eglwys yn y wlad hon wedi syrthio gymaint yn fŷr o gyflawni eu dyledswyddau ag a wnaethai eu brodyr yn yr Iwerddon. Yr oedd efe yn crynu wrth feddwl beth a ddygai adroddiad am sefyllfa yr Eglwys yn Nghymru i'r golwg, gan ei fod ef yn credu fod ei sefyllfa yn waeth na'r eiddo Eglwys yr Iwerddon. Yr oedd efe yn deall ar awdurdod boneddwr oedd yn yr ystafell hono, nad allai yr Eglwys yn Nghymru hawlu mwy na 7 y cant o'r boblogaeth, tra yr oedd cyfartaledd Eglwyswyr yn yr Iwerddon yn 13 y cant. Os oedd yr Eglwys yn yr Iwerddon i gael ei dadsefydlu am nad oedd ganddi ond un am bob pump a hanner o'r boblogaeth, beth, gofynai, oedd i ddyfod bob o'r Eglwys yn Nghymru, yr hon nad allai hawlu mwy nag un am pymtheg? Os äi yr Eglwys yn yr Iwerddon i lawr, rhaid i'r Eglwys yn Nghymru yn sicr ei dilyn!"‡ Er hyn oll, ag ystyried y ffeithiau ystadegol hyn o safle gwleidyddion ymarferol, fe allai y goddefir i ni ddywedyd nad ydyw amgylchiadau Cymru a'r Iwerddon yn cyfateb yn hollol. Gan' mlynedd yn ôl, yr oedd corff mawr ein cenedl ni yn Llànwyr; ac mor ffafriol ydoedd y Tadau Methodistaidd i'r Eglwys y gŷrwyd hwy allan o hóni, fel yr oeddynt yn edrych arnynt eu hunain mewn ystyr yn eglwyswyr, ac yn gwneyd gwaith mawr yr

* Y mae yn amheüs a ydyw yr Eglwys Sefydledig erbyn hyn yn y mwyafrif yn Lloegr.
† Macaulay. Hansard, Vol. 79., tu dal. 1182. ‡ *North Wales Chronicle*, Aug. 8th, 1868.

Eglwys y tu allan i'w therfynau. Erbyn heddyw, y mae ein cenedl yn Anghydffurfwyr, ac yn wrth-sefydlwyr; ond hyd yn nôd heddyw, rhaid i ni addef nad yw yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru i ni yr hyn ydyw yr un Eglwys i'r Gwyddel. Protestaniaid ydym ni, ac y mae dylanwad y pulpud a'r wasg ymneillduol wedi cadw ein clerigwyr ucheleglwysig o fewn terfynau priodol, er fod yma a thraw arwyddion fod y lefain Pabyddol yn gweithio yn gryf yn yr Eglwys hyd yn nôd yn Nghymru ymneillduol. Ond fe allai na chamgymerem wrth ddywedyd fod corff mawr yr offeiriaid sydd yn gweinidogaethu i ddyrnaid bychan o bobl yn ein plwyfau Cymreig hyd yn hyn, o leiaf, yn Brotestaniaid gweddol dda. Ond yn yr Iwerddon y mae amgylchiadau yn dra gwahanol. Yno y mae y miliynau yn edrych ar y "gŵr boneddig â'i gôt ddu"—ys dywedai y Dëon Swift, yn *heretic*, yn weinidog eglwys gyfeiliornus. Yno edrychir ar y person ymhob plwyf yn cynnrychioli yr uchafiaeth eglwysig y dysgwyd ac y dysgir y Gwyddel i'w gasâu.

Y mae clochdŷ yr Eglwys Brotestanaidd, a'r persondŷ cysurus, yn dwyn i'w gof yn barhäus adgofion poenus darostyngiad ei genedl, creulonderau gwleidyddiaeth y gwrthweithiad Protestanaidd, ac ystoriau gwaedlyd rhyfel y degwm. Ac, rywfodd, y mae y Gwyddelod yn cysylltu y wleidyddiaeth sydd wedi amddiffyn ac attegu yr Eglwys Wladol yn ein gwlad, â dienyddiad eu Emmettiaid, ynghyda charchariad ac alltudiaeth eu gwladgarwyr.

Yn y sylwadau diweddaf yr oeddym yn cyfeirio yn benaf at deimladau y Pabydd Gwyddelig at yr Eglwys; ond attolwg, pa beth a ddywed y Presbyteriad ar y pwnc? Y mae ganddo yntau fantais arbenig i roddi barn ar y mater, ac fe ddywed amddiffynwyr yr Eglwys eu bod hwy, y Presbyteriaid, yn barod i ymladd ochr yn ochr â'r Llânwyr o'i phlaid. Na, nid felly. I'r sawl a ddarllenodd adroddiad o weithrediadau yr *Irish General Assembly* ddiweddaf, y mae yn eglur nad llawer o help a geir oddiwrth Bresbyteriaeth. Darfu i lawer o'i gweinidogion, a mwyafrif o'i gwŷr lleÿg, yn cynnrychioli bron fwyafrif o'i *Assembly*, wrthdystio yn erbyn y trefniadau eglwysig yn y wlad hono. Dywedant eu bod yn teimlo yn ddwys o herwydd "y cam a'r anghyfiawnder y mae y Presbyteriaid wedi eu dyoddef er ys dros ddau can' mlynedd." Uchafiaeth yr Eglwys Esgobaethol, meddant hwy, sydd wedi dal i fyny yr anghyfiawnder hwn, ac y mae yr argyhoeddiad mai dadgysylltiad, a hyny yn unig, a rydd derfyn arno, i'w ganfod yn rhedeg trwy y gwrthdystiad a osododd y lleiafrif ar fwrdd yr *Assembly* y flwyddyn hon. "Nid wyf," meddai Proffeswr Wallace, "yn sefyll yma i ddifrïo Eglwys Loegr mewn un modd; ond yr wyf yn gwrthod y sefydliad, ac yn gwrthwynebu ei uchafiaeth yn y wlad hon." Ac yn ol tystiolaeth un arall sydd yn perthyn i'r un eglwys, "Y mae y sefydliad wedi methu. Y mae Pabyddiaeth wedi cynnyddu o'i herwydd, y mae wedi cythruddo a chyffrôi poblogaeth fawr Dê a Gorllewin yr Iwerddon, y mae wedi sarhâu a dirmygu cyd-Brotestaniaid yn y Gogledd, y mae ei oruchafiaeth wedi crebychu, a pharlysu gweithrediadau y Presbyteriaid fel nad ydynt, hyd yn nôd yn y dalaeth y mae y mwyafrif o'r bobl yn perthyn iddynt, yn cael eu goddef i anfon cynnrychiolydd i'r Senedd." Nid yw, hyd yn nôd, ddosbarth o Wleidyddwyr Ceidwadol, yn barod i sefyll drosti, oblegid fel hyn y dywedodd Arglwydd Stanley: "Probably, not one

educated person in one hundred will contend that the ecclesiastical arrangements are satisfactory as they stand; I, certainly, shall not be that one." Ac onid oedd yn eglur oddiwrth areithiau egwan amddiffynwyr yr Eglwys Wyddelig, fod ei dyddiau wedi dyfod i'r pen, o herwydd ei bod yn gyfundraeth nad ydoedd yn dal ei chwilio? Ac yr ydym yn credu fod tlodi rhesymau amddiffynwyr yr Eglwys, wedi taraw y wlad â syndod; ni freuddwydiodd darllenwyr ein newyddiaduron fod càn lleied i'w ddyweyd drosti; edrychant arni fel sefydliad anamddiffynadwy, ac o ganlyniad, y mae y farn gyhoeddus er ys dyddiau bellach wedi boddloni i'w gadael i'w thynged.

Ond os nad ellir oedi dydd ei dinystr trwy ddwyn rhesymau ymlaen o'i phlaid, fe ellir gwneyd rhywbeth trwy gynhyrfu rhagfarnau a dygasedd sectaidd y bobl. "Y mae cynghrair rhwng Tractariaeth a'r Babaeth"—"Dim Pabyddiaeth," ebe Mephistophelis y Weinyddiaeth Doryaidd yn mherson y Prif Weinidog. Ha wŷr fach! wele amddiffynwr gallu tymmorol y Pab—yr hwn a fu—yn ystod yr amser y bu yn arweinydd y Gwrthwynebiad—yn malddodi, ac yn chwareu i ddwylaw y blaid Ultramontaidd yn y Senedd, y mae hwn hefyd ymhlith prophwydi Uchel Brotestanaidd ein gwlad. "Cysegr-yspail"—"Na roddwch law rhy frysiog ar hawliau meddiannaeth,"—ebe esgobion a phersoniaid cysurus y sefydliad. "Cofiwch gyttundeb yr *Union*—cyfammod 1829—Llŵ y coroniad, a'r perygl o ddigio Protestaniaid teyrngarol yr Iwerddon," ebe pleidwyr yr Eglwys yn y Senedd. Dyma yw byrdwn y rhai sydd yn dadleu dros barhâd y sefydliad. Os nad ellir cael rhesymau gwell na'r rhai hyn dros ei chadw i fyny, y mae yn hawdd sicrhâu fod dydd ei dinystr yn ymyl.

Y mae ein gwleidyddwyr yn barod i ystyried y cwestiwn—Pa beth sydd i'w wneyd? Y mae tri dosbarth o wleidiadwyr â'u cynlluniau ger bron y wlad. (1.) Y Diwygwyr. (2.) Y Gwaddolwyr. (3.) Y Dadgysylltwyr, a'r Dadwaddolwyr. Y mae un dosbarth yn credu y gellir diwygio yr Eglwys. Y mae y rhai hyn yn dysgwyl yn bryderus am adroddiad y Dirprwywyr Eglwysig. A thyna, mae yn debyg, fydd diwygiad y Dirprwywyr—lleihâu ac ad-drefnu yr Esgobaethau a chyflogau yr Esgobion—diddymu swyddogaethau cysylltiedig â'r Eglwysi Cadeiriol—lleihâu nifer y Dëoniaid, a gostwng tipyn ar gyflogau y rhai a adewir—cefnogi tenantiaid eglwysig i brynu eu *leases*—ail ddosbarthu y cyllid eglwysig—ynghyda galluogi y meistri tir i brynu y degwm. Dyma, fe allai, a fydd prif linellau adroddiad y Dirprwywyr, pan ei cyflwynir i'r wlad. Ond y mae y drwg mawr yn aros, sef fod y cyfoeth a'r uchafiaeth Eglwysig yn parhâu, er hyn oll, yn nwylaw lleiafrif bychan o'r bobl. Ystyriwn y cynnyg i ail ddosbarthu cyllid yr Eglwys. "Y mae yn amlwg," meddai Mr. Gladstone, "fod symud ymaith gamwri yr Eglwys Wyddelig yn golygu un o ddau beth, naill ai cymeryd clerigwyr Munster a Connaught i'r dyben i sefydlu mwy o honynt, a'u gwneyd yn fwy comfforddus yn Ulster a Leinster; neu ynte y mae yn golygu, os ydych am fyned ymlaen i symud ymaith bob camwri a berthyn i'r Eglwys Wyddelig * * * *na fydd dim wedi ei adael o hôni.*" Yr ydym wedi cwrdd yn lled fynych â dau ymresymiad o eiddo ein gwrthwynebwyr. Dywedir wrthym fod yr Eglwys Wyddelig yn Eglwys Genadol, ac hefyd, fod gan yr offeiriaid yr un hawl i'r degwm âg sydd gan ein tirfeddianwyr i'w

ystadau. Yn awr, os mabwysiedir cynllun y Dirprwywyr Eglwysig o ad-drefnu y cyfoeth Eglwysig, trwy gymeryd ymaith yr offeiriaid a'u cyfoeth o'r plwyfau hyny lle y mae Protestaniaid yn hynod o ran eu habsennoldeb,—ac yn ol y cyfrif diweddaf (1861) yr oedd 199* o'r rhai hyn,—a'u gosod yn Ulster a Leinster, lle y mae yr Esgobaethwyr Protestanaidd yn fwyaf llïosog—pa beth sydd yn dyfod o'r ddadl, fod yr Eglwys Wyddelig yn "Eglwys Genadol?" Os yw yn Genadol—y mae angen am y gweinidog Protestanaidd yn y 199 o blwyfau lle nad oes yr un Protestant ynddynt, i ddal i fyny oleuni y gwirionedd yn nghanol tywyllwch caddugol Pabyddiaeth. Ac os ad-drefnir y cyllid eglwysig, trwy gymeryd degymau rhanau helaeth o un dalaeth, er budd i Brotestaniaid y taleithiau Gogleddol, beth sydd yn dyfod o'r ymresymiad sydd yn sylfaenedig, meddant hwy, ar hawliau a breiniau tiriogaethol? Onid yw degymau Esgobaeth Kilmore,† lle nad yw y Protestaniaid ond 1·1 cant—yn perthyn iddi hi, ac nid i Dublin a Belfast. Ac os dywedir wrthym fod hawl y clerigwr i'r degwm yr un â hawl y tirfeddiannydd i'w diroedd, hyn yr ydym yn ei ddyweyd, fod cyfraith y wlad yn ymddwyn at hawliau yr olaf yn dra gwahanol i'r modd yr ymddygir at y cyntaf. Y mae y gyfraith yn awr yn dyweyd wrth aml i glerigwr—mewn effaith, Rhaid i mi gymeryd darn o'th fywioliaeth ar ol dy ddydd, a'i osod at blwyf arall. Beth pe gwneid fel hyn â thiroedd ein mawrion? Beth pe byddai i Ddirprwyaeth gael ei phenodi gan y Goron i chwilio i ddeddfau tiroedd, ac i ddosbarthiad tiriogaethau ein Pendefigaeth? Beth pe cynnygiai y Ddirprwyaeth fod angen am ddosbarthiad mwy cyfartal—fod gan rai ormod, a rhai rhy fychan o dir, gan gynnyg fod darnau ëang o diriogaethau ein pendefigion i'w cymeryd oddiarnynt, a'u rhoddi ar ol eu dyddiau hwy at ystâdau ein tirfeddiannwyr bychain? Yr ydym yn gwybod y cynhwrf a barai cynnygion o'r fath. Ac eto, os yw hawliau y clerigwr a'r pendefig yr un, y mae y Dirprwywyr Eglwysig yn Lloegr a'r Iwerddon yn gwneyd peth cyffelyb i hyn bob blwyddyn â meddiannau Eglwysig. Y mae gwrthddadl arall yn cyfodi allan o gynllun yr ad-ddosbarthiad, sef hyn: os diddymir bywioliaethau, gan osod y gweinidogion a osodwyd arnynt mewn plwyfau eraill lle y mae mwy o angen am eu gwasanaeth, yr ydych, ar unwaith, yn tòri y cysylltiad, o ran amcanion uchaf y sefydliad gwladol, sydd yn bodoli rhwng y plwyfau a amddifadwyd, â'r Llywodraeth. Nid oes dim ond y cysylltiad arianol yn aros; ac y mae hwn yn cael ei gadw i fyny, nid er bûdd i'r rhai hyny sydd yn talu yr arian, ond er mantais i eraill. Fel hyn y mae amddiffynwyr y Sefydliad mewn rhan yn ddadgysylltwyr, ac yn ddadwaddolwyr, ac yn rhoddi ergyd dinystriol i'r gyfundraeth blwyfod a orfolir gan glerigwyr ein gwlad.

Y mae genym air i'w ddyweyd hefyd o barth i gynnygiad arall o eiddo y Ddirprwyaeth Eglwysig,—ac y mae nodau Disräelaidd ar hwn—sef y cynnyg i'r tiriogaethwyr Gwyddelig brynu y degymau. Y mae hanes yr Iwerddon yn dangos i gyfraith ddiweddaf y degymau, roddi terfyn ar ryfel y degwm yn y wlad hono; ac y mae yr un dosbarth eto yn tybied, ond cael y Gwyddel i dalu rhent ac nid degwm, y darfyddai y twrw mawr ynghylch yr Eglwys Wyddelig. Ond y mae y

* *Civil parishes* yw y rhai hyn. † Yn Esgobaeth Kilmore yr oedd y Pabyddion yn 98·9 y cant yn 1861.

drwg wedi myned yn rhy ddwfn, a'r amser yn rhy bell i wellhâu amgylchiadau yr Iwerddon trwy wleidyddiaeth mor arwynebol. Nid ydym yn ystyried y cynnyg hwn yn un drwg, ond ei gael mewn undeb â mesur o ddadgysylltiad a dadwaddoliad. Yn wir, yr ydym yn rhagweled fod cynnyg o'r fath yn rhwym o gael ei ddwyn ymlaen mewn unrhyw fesur a gynnygir tuag at gario allan *resolutions* Mr. Gladstone; ac nid ydym yn dysgwyl rhyw lawer o wrthwynebiad iddo oddiwrth y tirfeddianwyr. Ond yr ydym yn cofio yn dda y dwndwr mawr a wnaed yn ngwersyll ein gwrthwynebwyr, a'r anfri a daflwyd ar gymeriad cyhoeddus Mr. Bright, gan y wasg Doryaidd, pan gynnygiodd efe, yn ei araeth yn Dublin, i'r Llywodraeth bwrcasu tiriogaethau y tirfeddiannwyr hyny nad oeddynt yn byw ar eu hystâdau, ac a ewyllysient eu gwerthu, i'r dyben o'u hadwerthu i'r tenantiaid ar delerau rhesymol. O'n rhan ni, nis gallwn weled ond hyn o wahaniaeth rhyngddynt,—y Ddirprwyaeth sydd yn cynnyg y cyntaf, a Mr. Bright yw awdwr y llall; y meistradoedd tiroedd sydd i dderbyn mantais oddiwrth y naill, ond y tenant sydd i gael budd oddiwrth y llall; ac y mae hyn yn ddigon o reswm am ragfarnau a dallbleidiaeth y Ceidwadwyr. Wrth adael cynllun y "Diwygwyr" yr ydym yn gweled mor anhawdd yw symud ymaith y camwri o un man heb wneyd camwri mwy mewn cyfeiriad arall. Y mae y cynlluniau hyn fel y dywedodd Mr. Gladstone,—yn debyg i'r ellynod, y *razors* hyny, am ba rai y dywedai y gwerthwr eu bod wedi eu gwneyd i'w gwerthu ac nid i eillio. Digon prin fe allai y mae y gymhariaeth yn gywir; oblegid os ydym yn deall arwyddion yr amserau, y mae yn anhawdd gweled pwrcaswyr i eiddo y "Diwygwyr." Fe allai eu bod yn debycach i dinceriaid Banbury, fel y dywed yr hen ddiareb Seisonig, y rhai wrth drwsio un twll, a wnaent ddeg o rai mwy.

Y mae dau ddosbarth o "waddolwyr" ymhlith ein gwleidyddwyr. Un dosbarth, fel yr Iarll Grey, o blaid rhanu cyllid yr Eglwys Sefydledig yn yr Iwerddon rhwng yr holl enwadau, a'u gwneyd oll—yn Babyddion, yn Bresbyteriaid, yn Wesleyaid, yn Unitariaid, a sectau eraill—yn waddoledig allan o'r cyllidau Eglwysig, ac o ganlyniad yn gyfritol i'r Llywodraeth. Mor ddiweddar â dechre y flwyddyn hon, dadleuai Arglwydd Russell dros y cynllun hwn. Ysgrifenai ar y 3ydd o Chwefror, 1868, "Yr wyf gan hyny, yn dyfod i'r penderfyniad, y byddai gwaddoliad yr Eglwys Babaidd yn yr Iwerddon, a gwaddoliad yr Eglwys Bresbyteraidd, a chwttogiad cyllid yr Eglwys Esgobaethol Brotestanaidd i un rhan o wyth o gyllidau Eglwysig yr Iwerddon,—yn gyfiawn, ac yn iachusol." Ond yn bur fuan ar ol hyn, y mae ei Arglwyddiaeth yn ysgrifenu epistol arall at Mr. Chichester Fortescue, ac yn dyweyd (tu dal. 27), "Yr hyn a berthyn i ni yn fwyaf neillduol ei ystyried, ydyw, canlyniadau cyffredinol y golygiadau yr ydym ar fin eu mabwysiadu, ac a gyrhaeddwyd eisoes gan Mr. Gladstone. Os yw gweinidogion tair rhan o bedair o bobl yr Iwerddon yn gwrthod cyflogau sydd yn deilliaw o ddeddfau Seneddol, byddai yn anghyfiawnder ac yn anghyfartaledd i'w cadw, er mwyn yr Esgobaethwyr, a'r Presbyteriaid, pa rai sydd yn gwneyd i fyny y gweddill, sef y bedwaredd ran. Yr wyf yn boddloni i'r canlyniad hwn, ac yn teimlo yn hyderus y caiff pob breiniau sylfaenedig ar ddeddfau y wlad, ac y gellir ar dir têg eu hawlu, a phob taliad y gellir yn gyfreithlawn ofyn am dano gan ein Senedd, ddadleuydd galluog, ac amddiffynydd

diysgog, yn awdwr* cynnygion y degfed-ar-hugain o Fawrth." Fel hyn y mae Arglwydd Russell—er yn ymfoddloni yn llawen i Wleidyddiaeth Eglwysig Mr. Gladstone—yn edrych yn ôl gyda gradd o hoffder ar ei gynllun ef ei hun. Ond y mae yn debyg na chyfarfyddir âg ef mwyach ond ar du dalenau yr hanesydd, fel enghraifft o ymgais gwleidyddwr a gydnabyddir gan bawb yn Rhyddfrydwr trwyadl, i adgyfodi traddodiadau yr hen Whigiaid yn hytrach na derbyn argraff adnewyddol oddiwrth ysbryd yr oes. Ond os cydwaddoliad yr holl Eglwysi Gwyddelig allan o gyllid yr Iwerddon ydoedd cynllun dosbarth o wleidyddwyr Whigaidd yn nechre y flwyddyn hon, y mae yr un mor eglur mai attegu yr Eglwys Wyddelig trwy waddoli y Pabyddion a'r Protestaniaid allan o bwrs Siôn Ben Tarw, ydoedd cynllun y Weinydiaeth Doryaidd. Yn ngwyneb amgylchiadau y tymmor hwn, gelwir arnom i fanylu ychydig ar hyn.

Y diwrnod y cyrhaeddodd Mr. Disraeli, y mae yn debyg, eithafnod ei uchelgais, pryd yr ymddangosodd ger bron Tŷ y Cyffredin fel Prif Weinidog ei Mawrhydi, ac y cyfododd i fyny yn mhresennoldeb orielau llawnion o edmygwyr, ac yn nghanol arwyddion cymeradwyol oddiwrth ei wrthwynebwyr yn gystal a'i gyfeillion politicaidd, i wneyd yr hysbysiad arferol ar y cyfryw amgylchiad, mewn ystafell arall gerllaw yr oedd Arglwydd Russell yn gwneyd ymosodiad llym ar y weinyddiaeth newydd. Cafodd yr arch-ledrithiwr politicaidd, a'i gwmni, fflangelliad tost y noson hono, yn enwedig pan y dywedodd ei Arglwyddiaeth fod genym lywodraeth "yn dyweyd un peth ac yn gwneyd peth arall." Yr un noson hysbysodd Arglwydd Malmesbury yn Nhŷ yr Arglwyddi, a'r Prif Weinidog yn Nhŷ y Cyffredin, y cymerai Arglwydd Mayo y cyfleusdra cyntaf, yn ystod y ddadl ar gynnygiad Mr. Maguire, i hysbysu i'r Tŷ wleidyddiaeth Wyddelig y Llywodraeth newydd. A phan oedd y weinyddiaeth eto yn teimlo oddiwrth fflangelliad Arglwydd Russell, y mae y Prif Ysgrifenydd Gwyddelig, Arglwydd Mayo, yn gwneyd yr hysbysiad addawedig yn Nhŷ y Cyffredin, ac yr oedd y cyfeiriad a wnaed at ei araeth gan arweinwyr y weinyddiaeth yn y "ddau Dŷ o Barliament" yn rheswm digonol dros edrych ar ei eiriau fel eglurhâd o gynllun y Llywodraeth newydd i gymmodi yr Iwerddon. Fel hyn y dywedodd yr Ysgrifenydd Gwyddelig y degfed o fis Mawrth diweddaf: "Y mae yn rhaid ymddwyn at yr Eglwys Wyddelig mewn ysbryd tra gwahanol i'r hyn a wneir gan y rhai sydd yn dadlu dros ddadgysylltiad. Y mae y Presbyteriaid yn derbyn yr hyn nad yw ar y goreu ond rhyw esgus o rodd, ac nid wyf yn credu y byddai yr Eglwys Brotestanaidd [Esgobyddol] yn wrthwynebol i unrhyw gyfnewidiad er gwell yn eu cyflwr. Ond gwell ydyw peidio gwneyd trefniadau rhy frysiog; ond o'r holl gynlluniau a gynnygir, yr wyf yn gwrthwynebu y cynllun hwnw, a adnabyddir yn gyffredin fel dyfais 'y lefelu i lawr.'" Ac wedi defnyddio iaith go gref i gondemnio y dadgysylltwyr, y mae yn dywedyd fel y canlyn: "Ni fyddai, yr wyf yn coelio, un gwrthwynebiad i wneyd yr holl eglwysi yn gydraddol, ond rhaid cael hyny trwy gyfodi i fyny, ac nid trwy attafaeliad." Gan hyny "lefelu i fyny" ac nid "lefelu i lawr" ydoedd cynllun y Llywodraeth yn mis Mawrth diweddaf: cyfodi i fyny, trwy

* Mr. Gladstone.

waddoli Pabyddion, ac eraill, allan o gyllid y wlad, yn hytrach na chael cydraddiaeth crefyddol, trwy ddyfod â'r Eglwys Wladol yn gydradd â'r Eglwysi Rhydd, trwy ei dadgysylltu a'i dadwaddoli, yr hyn yw cynllun Mr. Gladstone. Ac er mwyn rhoddi ernes i'r Gwyddelod o wleidyddiaeth adgymmodlawn y Weinyddiaeth Doryaidd, hysbysodd y Llywodraeth eu penderfyniad i anrhydeddu coleg a sefydlwyd gan Esgobion Ultramontaidd yr Iwerddon, trwy ei gynnysgaethu â breinlen, ac felly greu Prif Ysgol Babaidd—yr hon oedd i fod o dan awdurdod Esgobion Pabyddol, ac yn rhydd oddiwrth ymyriad y Llywodraeth. Yr oedd y Brif Ysgol i'w sefydlu yn union trwy gymhorth arianol, ac yr oedd y colegau i'w gwaddoli yn ol llaw. "Gyda golwg ar y gwaddoliadau, byddai yn angenrheidiol, wrth gwrs, os bydd y Senedd yn cyttuno â'n cynnyg—yn y lle cyntaf i ddarparu ar gyfer costau y Brif Ysgol, hyny ydyw, treuliadau y swyddogion a'r *professors*, a hefyd i wneyd rhyw ddarpariaeth tuag at gael adeilad; ac y mae yn ddiammheu os bydd y Senedd yn cymeradwyo y cynllun, na fydd yn anfoddlawn i waddoli ysgoloriaethau neillduol. O berthynas i waddoliad y colegau, y mae yn anmhosibl i ni wneyd cynnyg o'r fath hyd nes y deallom pa fath golegau a fyddant."* Cyfeiriwyd yn aml at hyn yn ystod y ddadl ar gynnyg Mr. Maguire, a dadganwyd anghymeradwyaeth penderfynol yn erbyn cynllun y "lefelu i fyny" yn areithiau Mr. Gladstone ac eraill; ond yr oedd yr amser heb ddyfod eto i Mr. Disraeli a'i gwmni i fyned trwy yr hen wers o fwyta eu geiriau. Yr oedd yr awyren wedi ei hanfon i fyny, ond yr oedd yn anhawdd gwybod ar y pryd pa gyfeiriad a gymerai. Hyn sydd, o leiaf, yn eglur: Hyd nes y daeth Mr. Disraeli allan fel gwron y "*Church and State Defence Association*," nid ydym yn cael iddo ef na'i gydswyddogion wneyd unrhyw ymddiheurad yn erbyn yr esboniad a roddodd ein Seneddwyr Rhyddfrydol, a'r wasg, ar ddadganiadau y weinyddiaeth; yr oedd yr adeg heb ddyfod eto i roddi esboniad Disräelaidd ar y "lefelu i fyny." Yn wir fel hyn y llefarai Mr. Disraeli ei hun: "Yr wyf o blaid gwaddoliadau eglwysig at gynnal crefydd; yr wyf yn credu eu bod wedi gweini yn helaeth at les y wladwriaeth: * * yr hyn, yn gyffredin sydd yn fy nharaw i o berthynas i'r Iwerddon, ydyw y dylech, fel rheol gyffredin, *grëu*, yn hytrach na *dinystrio*. * * Nid wyf am gelu oddiwrthych fy marn benderfynol, eich bod yn nesu at yr adeg, pan y mae yn rhaid i gyfnewidiad gael ei wneyd yn sefyllfa (*status*) clerigwyr anwaddoledig yr Iwerddon." Fel hyn yr oedd dadganiadau y weinyddiaeth yn pwyntio yn eglur at waddoliad y Pabyddion a Phrotestaniaid. Ond nid oedd eisieu llygaid prophwyd i weled na fuasai y wlad yn gosod ei sêl ar y wleidyddiaeth yma, ac yr oedd arwyddion hefyd o annhrefn yn ngwersyll y Toryaid, gan fod llawer o honynt yn dangos anmharodrwydd i fyned yr ail waith o dan addysg yr ysgolfeistr politicaidd Disraeli.

Gwelodd llygaid eryraidd Mr. Gladstone fod yr adeg wedi dyfod i roddi ffurf ymarferol i'r hyn a ymddangosai iddo yn Mai 1867 megys ar y gorwel pell. O'r diwedd fe gafwyd gwleidyddiaeth a fu yn foddion nerthol i asio ynghyd demigau gwahanedig y blaid Ryddfrydig, heb, o'r braidd, adael cymaint âg ewin yn ol. Gwleidyddiaeth ydyw hon sydd

* Lord Mayo, *March 10th*, 1868.

wedi codi i fyny y fath lanw mawr o blaid Mr. Gladstone âg sydd yn sicr o ysgubo ymaith weinyddiaeth yr Archledrithiwr i'w le ei hun. Cydraddoldeb crefyddol, trwy ddadgysylltiad a dadwaddoliad yr Eglwys yn yr Iwerddon, ydyw dadganiad eglur a diamwys Mr. Gladstone.

Nos Lun, Mawrth 30ain, cynnygiodd Mr. Gladstone fod Tŷ y Cyffredin i ymffurfio yn Bwyllgor o'r holl Dŷ, i ystyried y deddfau mewn cysylltiad â'r Eglwys Wladol yn yr Iwerddon.* Wrth gyflwyno ei gynnygion i'r Tŷ dywedodd,

"Syr, os gofynir i mi beth ydyw y teleran, y bydd i'r llywodraeth ymgyrhaedd atynt, pan yn myned i drefnu pethau o'r newydd mewn cysylltiad â sefydliadau crefydd yn yr Iwerddon,—os gofynir, beth yr wyf yn ymwrthod âg ef pan yn ymgais i roddi terfyn ar y sefydliad presennol, yr wyf eto yn dyweyd, yr wyf yn ymwrthod â phob ymgais rhagllaw i gynnal clerigwyr cyflogedig mewn cysylltiad â'r Llywodraeth, o dan awdurdod y Llywodraeth, nac yn cael eu cynnal allan o gyllid y Llywodraeth, nac ychwaith allan o eiddo cyhoeddus na chyffredinol y wlad, mewn unrhyw ffurf. Ond o herwydd fod eraill, heblaw y rhai sydd mewn cysylltiad â'r Eglwys Wladol, a chanddynt law, ac yn teimlo dyddordeb yn y mater hwn, y mae yn iawn i mi ddyweyd, gyda golwg ar y pleidiau eraill sydd yn derbyn rhoddion i amcanion crefyddol, naill ai yn uniongyrchol i gynnal gwasanaeth crefydd, neu at addysg ag y mae gwasanaeth crefydd yn amcan iddo, yr wyf yn barnu y dylem gyfarfod amgylchiadau y cyfundebau hyny, drwy gymhwyso atynt yr un mesur o gyfiawnder ac uniondeb, ie, gallaf ddefnyddio y gair, tynerwch. Ond yr wyf yn golygu mai amcan y gweithrediadau hyn ydyw, cyttuno—mor bell âg y dengys i sylwadau fy nghyfaill anrhydeddus †—cyttuno â'r ddeiseb a gyflwynwyd ganddo, *ac i roddi terfyn, o fewn terfynau teyrnas yr Iwerddon, i bob rhoddion allan o gyllid y wladwriaeth tuag at achosion unrhyw enwad crefyddol pa bynag.*"

Y mae yn eglur bellach, feddyliem, beth ydoedd cynllun y weinyddiaeth, a pheth ydoedd golygiadau Mr. Gladstone ar y pwnc Gwyddelig. Y mae yn wir fod rhai yn ceisio dyweyd mai y ddadl yw "dadgysylltiad," neu, ynte, gadael pethau fel y maent yn bresennol. Na, nid hyny ydyw y ffaith. "Y ddadl ydyw, a fabwysiedir gwleidyddiaeth y llywodraeth, neu, ynte, yr hon sydd yn gynnwysedig yn mhenderfyniadau Mr. Gladstone. Gwleidyddiaeth y llywodraeth fel y cafodd ei hegluro gan y Prif Ysgrifenydd,‡ ydoedd sefydlu cydraddoldeb crefyddol trwy 'lefelu i fyny;' gwleidyddiaeth y Penderfyniadau ydyw 'lefelu i lawr.' Gwleidyddiaeth y llywodraeth yw rhoddi braint-ysgrif i Brifysgol Babaidd, fel ernes o waddoliad yr Eglwys Babaidd; gwleidyddiaeth y Penderfyniadau yw dadwaddoliad Coleg Maynooth. * * * Gwleidyddiaeth y llywodraeth ydyw gwellhâu sefyllfa yr esgobion Pabaidd trwy roddi iddynt nodded y llywodraeth; gwleidyddiaeth y Penderfyniadau ydyw ysgaru oddiwrth y llywodraeth bawb sydd yn mwynhâu teitlau ac urddau eglwysig, a gosod Protestaniaid a Phabyddion yn gydradd, heb nodded nag ymyriad y llywodraeth. Eto, gwleidyddiaeth y Penderfyniadau yw rhyddhâu y wlad oddiwrth bob rhwymau i dalu at gynnal

* Cynnygiodd Arglwydd Stanley welliant ar gynnygiad Mr. Gladstone; ac ar ol pedair noswaith o ddadlu brwd, ar y 4ydd o Ebrill rhanwyd y Tŷ, a chafwyd fod 330 o blaid y cynnygiad gwreiddiol, a 272 o blaid y gwelliant, mwyafrif 60. Yr un noson cariwyd cynnygiad Mr. Gladstone trwy fwyafrif o 56, sef 328 o blaid, a 272 yn erbyn. Ebrill y 27ain cynnygiodd Mr. Gladstone y cyntaf o'i benderfyniadau, ac ar y 30ain o'r un mis pasiwyd ef trwy fwyafrif o 65. Yr oedd 330 o blaid y cynnyg, a 265 yn erbyn. Pasiwyd y ddau benderfyniad arall heb ranu y Tŷ o gwbl. Dydd Gwener, Mai 22ain, cynnygiodd Mr. Gladstone ail ddarlleniad y "*Suspensory Bill,*" a chariwyd ef trwy fwyafrif o 312 o blaid, a 258 yn erbyn. † Mr. Roebuck. ‡ Arglwydd Mayo.

crefydd. Mewn gair, gwleidyddiaeth y llywodraeth ydyw sefydlu tair o eglwysi gwaddoledig yn yr Iwerddon: gwleidyddiaeth y Penderfyniadau yw na fydded yr un."* Er na chyfododd neb i fyny ar y pryd i wrthdystio yn erbyn yr ymadroddion hyn, eto, fe welodd Mr. Disraeli yn angenrheidiol i roddi esboniad yn ei ddull ei hun ar ddadganiad y llywodraeth o barthed i gydraddoldeb crefyddol. Yr oedd y wlad wedi camddeall (?) gwleidyddiaeth y weinyddiaeth Disräelaidd, ac yr oedd tricyddiaeth politicaidd y llywodraeth bresennol wedi gadael y Senedd a'r wasg yn ngafael camgymeriad pwysig o berthynas i'w golygiadau ar y pwnc eglwysig. Erbyn cael yr esboniad, dyna ystyr "cydraddoldeb crefyddol" yn ngeirlyfr y weinyddiaeth: llawn fwynhâd o freintiau crefyddol—pan y mae pob crefydd yn gydradd yn wyneb y gyfraith, er nas gwyddom pa fodd y gall hyn fod, tra y mae un ffurf o grefydd yn cael ei gwaddoli ar draul y lleill—"a darpariaeth helaethach gyda golwg ar gael capleniaid i garcharau a thlotai." "Esboniad rhesymol," ebe Mr. Gladstone—"pe buasai holl boblogaeth yr Iwerddon yn byw mewn carcharau a thlotai." Erbyn heddyw, y mae yr un bobl yn gorfoli yr Eglwys Wyddelig, gan ei galw yn Eglwys y Diwygiad, ag oeddynt yn mis Mawrth yn foddlawn i waddoli eglwys, prif amcan yr hon ydyw dinystrio gwaith y Diwygiad Protestaniaid yn ein gwlad—y dynion oeddynt yn nechre y senedd-dymmor eleni yn barod i "wellhâu sefyllfa" yr offeiriad Pabaidd, yn awr yn ceisio adgyfodi yr hen gri sydd wedi gwasanaethu achos trais a gormes lawer gwaith, "*No Popery*"—y gwleidyddwyr a siaradant yn hyawdl yn awr ar y fantais o gael un Eglwys arbenig mewn uchafiaeth yn gysylltiedig â'r wladwriaeth, yr oedd yr un dynion, ychydig fisoedd yn ôl, yn barod i ddarostwng yr Eglwys hono trwy ddyfod ág eglwysi eraill yn gydraddol â hi, ac i'r un cysylltiad â'r llywodraeth! Dyma Disräeliaeth: a pha eiriau sydd yn ddigon cryfion i ddangos ein dirmyg o'r fath ymddygiad? Yn lle gwleidyddiaeth uchel, yr ydym yn cael hoced a hudoliaeth; ac yn lle gonestrwydd Peel, Caernarfon, a Cranbourne, yr ydym yn canfod dynion, er mwyn mwynhâu swyddi am ychydig fisoedd, yn aberthu eu hegwyddorion a'u hanrhydedd. Y mae y dynion hyn yn awr yn appelio at y wlad; yr etholwyr sydd i benderfynu a ydyw awenau y llywodraeth fwyaf bwysig a dylanwadol yn y byd i aros yn nwylaw y *junta* presennol yn hwy na mis Rhagfyr nesaf.

Yr ydym yn hollol argyhoeddedig fod yr appeliad hwn at yr etholwyr yn gyfoethog o ganlyniadau, uniongyrchol ac anuniongyrchol. O berthynas i'r dosbarth cyntaf o ganlyniadau, y mae yn dra thebyg fod heddwch y deyrnas, a chyfanrwydd yr ymherodraeth, yn dibynu ar benderfyniad yr etholwyr yn yr etholiad nesaf. Y mae yn eglur nas gellir yn ddïogel adael poblogaeth o bedair miliwn a hanner mewn cyflwr o anfoddlonedd yn ymylu ar wrthryfel; o ganlyniad, y mae y Toryaid, o'r diwedd, wedi eu hargyhoeddi fod yn rhaid gwneyd rhywbeth i gymmodi yr Iwerddon; a'r etholwyr sydd i benderfynu pa un ai gwleidyddiaeth ledrithiol Mr. Disraeli, ai ynte wleidyddiaeth uchel a chymmodlawn Mr. Gladstone, y mae yr Iwerddon i fod dani. Ond y mae canlyniadau anuniongyrchol y cyfwng presennol yn llawn dyddordeb i wrthwynebwyr

*Mr. Horsman, Ebrill 27ain, 1868.

sefydliadau eglwysig, oblegid y mae yn eithaf posibl y gwêl yr oes hon derfyn ar bob ffurf o grefydd wladol yn ein gwlad. Y pwnc ydyw, pa beth a wneir genym ni fel etholwyr Cymreig tuag at gyraedd yr amcanion hyn. Ai plethu dwylaw i gysgu, gan adael i eraill ymladd y brwydrau, tra y byddwn ninnau, ar ol yr ymdrechfa, yn mwynhâu ffrwyth y fuddugoliaeth? Na; yn hytrach, y mae yn dda genym ganfod arwyddion ein bod yn deffroi o gysgu, ac yn ymysgwyd o'r difrawder politicaidd a'n hynodai gynt. Yr ydym yn teimlo weithiau bryder, ac yn ofni i ni golli golwg ar y pwnc sydd yn awr ger bron y wlad, ac y bydd i glerigwyr hunanol lwyddo i daflu llwch i lygaid dosbarth o etholwyr, fel ag i'w camarwain o berthynas i wleidyddiaeth Mr. Gladstone. Beth y mae y dosbarth hwn wedi ei wneyd i ennill ein hymddiried fel Ymneillduwyr? Onid ydynt bob amser i'w cael yn rhengoedd ein gwrthwynebwyr? Onid ydynt wedi gwneyd eu goreu i'n cadw i lawr, ac i'n rhwystro i feddiannu ein hawlfreintiau? Ai tybed y bydd i etholwyr Cymreig gymeryd eu hud-dwyllo gan yr offeiriadaeth, trwy wrandaw arnynt hwy yn hytrach na'u harweinwyr hwy eu hunain? Dywedir wrthym gan yr offeiriaid, mai canlyniad dadgysylltiad yr Eglwys Wyddelig fydd gwanhâu Protestaniaeth yn yr Iwerddon, a chryfhâu dylanwad y Babaeth. Cofied ein darllenwyr pwy sydd yn dyweyd hyn. Yr ydym yn cael ein tueddu yn y fan hon i ofyn cyfres o ofyniadau, priodol, dybygem ni, ac atebed y neb a'u darlleno. Pa reswm sydd gan Eglwys Loegr dros hawlu mai hi ydyw y gwrthglawdd sydd i gadw Pabyddiaeth draw? Onid ydyw yr Eglwys hon wedi troi yn anffyddlawn i'w hymrwymiadau fel Eglwys y Diwygiad? Onid ydyw byrddau cymundeb eglwys Cranmer a Ridley, Jewel a Leighton, wedi eu troi, mewn llawer man, yn allorau Pabaidd? Ac onid yw lliaws o'i gweinidogion yn offeiriaid Pabaidd dan rith gweinidogion Protestanaidd? Ië, onid yw yr Eglwys yn orlawn o bydredd Pabyddol, a'r "gwrthglawdd ei hun," fel y dywedai un o'u gweinidogion parchusaf unwaith, yn ein clywedigaeth, "wedi ymollwng yn Babyddiaeth digymysg?" Pa hawl, gan hyny, sydd gan gynnrychiolwyr Eglwys Loegr i godi yr hen gri, "Dim Pabyddiaeth?" A oes rhyw un o'n darllenwyr yn ammheu, os bydd i Babyddiaeth ryw bryd ennill goruchafiaeth yn ein gwlad, y bydd hyny i'w briodoli—nid i fesurau dadwaddoliadol Mr. Gladstone, nid i addysg ac ymdrechiadau Jesuitiaid Tremeirchion, a'u cyffelyb—ond yn hytrach i anffyddlondeb Eglwys, a fu unwaith yn Brotestanaidd, i'w chyfammod a'i gwladwriaeth, ac i ddysgeidiaeth offeiriadol, sydd â'i hamcan i'n dwyn yn ôl at ffurfiau a seremoniau ac ofergoeledd Eglwys y cyn-ddiwygiad. Yr ydym, gan hyny, yn methu canfod ar ba dir y gall Eglwys Loegr a'r Iwerddon appelio at Ymneillduwyr Protestanaidd am help yn nydd ei phrawf. Y mae y dosbarth hwnw a ystyrir yn gymedrol—y dynion a edrychent unwaith yn ffafriol arni fel Eglwys Brotestanaidd, erbyn hyn wedi colli eu hymddiried ynddi, ac yn barod i groesawu y dydd pan y bydd i'r holl bobl yn eu digllonedd gymeryd ymaith y nawdd a'r pwrs oddiwrth Sefydliad sydd wedi troi yn anffyddlawn i'r ymddiried a osodwyd ynddo.

"Tyner ymaith nawdd a gwaddoliad y Llywodraeth," ebai amddiffynwr yr Eglwys Wyddelig, "ac fe fydd hyny yn wanhâd, os nad yn ddinystr, i Brotestaniaeth yn yr Iwerddon." Onid oes rhywbeth yn

gywilyddus yn y fath gyffesiad? A ydyw y gyfundraeth Babyddol, yr hon sydd yn llawn ofergoeledd, cyfeiliornad, a llygredigaeth, i ffynu heb nawdd a ffafr y Llywodraeth, tra y mae Protestaniaeth i nychu a marw mewn canlyniad i'r rhyddid a fwynhëir ganddi yn fuan trwy wleidyddiaeth Mr. Gladstone, ac yn rhy wan i wrth-ladd Pabyddiaeth heb gymhorth y llywodraeth? Onid ydyw y bobl sydd yn dadleu fel hyn yn profi yn eglur, nad oes ganddynt ffydd yn nerth bywyd anorchfygol dysgeidiaeth y Diwygwyr, ac yn ein gorfodi i dynu y casgliad fod eu Protestaniaeth yn ymddibynu, nid ar argyhoeddiad dwfn y galon, ond yn hytrach ar ddegymau a gwaddoliadau? Yn yr Unol Daleithiau nid ydynt yn ofni Pabyddiaeth. Yno, lle y mae yr eglwysi Protestanaidd yn rhydd oddiwrth nawdd y Llywodraeth, y maent yn abl i ymdrechu yn llwyddiannus yn erbyn Pabyddiaeth. Y mae ystadegau yn awr ger ein bron sydd yn profi fod Pabyddiaeth yn colli tir yn America. Yn yr Iwerddon y mae yn wahanol; ac os oes unrhyw ffaith yn fwy eglur na'i gilydd, y mae yn ddiddadl mai hon ydyw—sef, mai yr Eglwys Wyddelig sydd wedi bod yn rhwystr i gynnydd Protestaniaeth yn yr Iwerddon. Yr ydym wedi cyfeirio at hyn mewn erthygl flaenorol, ac wedi profi trwy ystadegaeth awdurdodedig gywirdeb yr hyn a draethasom. Fel hyn y dywedai Prif Athraw Rugby, y Doctor Temple, yn ddiweddar ar hyn:—"Fe ddywedir y bydd i ddadgysylltiad yr Eglwys Wyddelig fod yn gefnogaeth i Babyddiaeth; ond yr wyf yn credu, os oes rhywbeth yn fwy na'i gilydd wedi bod yn foddion i ddal i fyny yr Eglwys Babaidd yn yr Iwerddon—yr Eglwys Wyddelig sydd wedi gwneyd hyny; ac yr wyf yn credu pan ddadgysylltir yr Eglwys hono, y bydd iddi ymosod ar ei gwaith gyda mwy o zêl, a dengmil mwy o rym—oblegid fe fydd y pryd hyny yn sefyll ar yr unig dir y gall eglwys sefyll arno—sef ar dir cyfiawnder. Fe fydd y pryd hyny yn gwneuthur i eraill yr hyn a ewyllysia i eraill wneyd iddi hithau; ac hyd nes y delo i weithredu yn ôl yr egwyddor hon o gyfiawnder, nis gall lwyddo." Fe wnai les i glerigwyr yr Eglwys Sefydledig i sylwi ar eiriau Dr. Temple. Pa fodd y gall lwyddo tra y bydd yn eglwys y goresgyniad, ac yn un mor hynod filwriaethus? oblegid y mae yn gorphwys heddyw ar 20,000 o fidogau, a phe tynid ymaith y colofnau a'r attegion hyn, y mae yn hawdd gwybod, fel y dywedasom yn barod, beth fyddai y canlyniad. Er mwyn ein Protestaniaeth, gan hyny, yr ydym o blaid mesur o ddadwaddoliad a dadgysylltiad. "Yr wyf yn hyderu," meddai Deon Elphin, "y tuedda y mesurau hyn i uno yn rhwymau cymdeithas a chariad Cristionogol y rhai oll sydd yn dal athrawiaeth fawr a sylfaenol iachawdwriaeth trwy ffydd yn Aberth iawnol y Pryniawdwr, ac yn sefyll yn dyn dros yr hawl (a'r ddyledswydd) i bob un farnu drosto ei hun. Ni bydd i weinidog yr Eglwys Esgobyddol edrych yn ddrwgdybus ar yr eiddo y Bresbyteraidd, neu yr Annibynol, na'i warafun i bregethu yr efengyl am 'nad yw yn ein canlyn ni.' Ac ni wna gweinidogion yr eglwysi diweddaf hyn genfigenu wrth yr eiddo y flaenaf, pan y peidiant a chael eu hachlesu a'u cynnal gan y Wladwriaeth; ac fel hyn bydd i Brotestaniaid o bob enwad arddangos yr olygfa ddaionus o 'frodyr yn trigo ynghyd.' Byddant yn llu trefnwych, wedi eu huno yn gadarn â'u gilydd, ac yn barod i wrthwynebu gydag arfau ysbrydol y gelyn cyffredin. Canfyddant mai 'mewn undeb mae nerth,' a chan gynnorthwyo a chalonogi y naill y llall, 'ânt allan i

frwydr ac i fuddugoliaeth yn enw Cadben mawr eu hiachawdwriaeth, gan wrthbrofi yn ymarferol yr anair eu bod yn ofnus neu yn anghrediniol, fel pe byddai y gwirionedd mewn perygl o drengu, neu yn analluog i lwyddo trwy ras a nerth Duw, heb gymhorth y Wladwriaeth."* Geiriau iachus ydyw y rhai hyn; ac wedi eu hysgrifenu, yr ydym yn barod i ddyweyd,

**O hyfryd hâf, pa bryd y daw?**

Ond eithriadau ydyw dadganiadau fel hyn. Y mae yn ddiammheuol fod y Prif Weinidog wedi llwyddo i uno y clerigwyr *en masse* o'i blaid. Ychydig iawn yw yr eithriadau; ond yn eu plith y mae dynion o safle uchel yn yr Eglwys, megys Deon Alford, *Professors* Maurice, Kingsley, Jowett, Dr. Temple, a Deon Miller, a'r rhai y cyfeiriasom atynt yn barod; ond y mae corff mawr yr offeiriadaeth—yn llu mawr iawn—yn wrthwynebol i wleidyddiaeth Wyddelig Mr. Gladstone. Ond y mae genym ormod o ffydd yn nealldwriaeth a gonestrwydd y genedl i ammheu beth fydd canlyniad yr etholiad, er holl ymdrech cenadon y Carlton, a dylanwad y wasg a'r pulpud Esgobaethol. Y mae Protestaniaeth uchel, ond goleuedig, Scotland yn myned i ddadgan yn benderfynol o blaid Mr. Gladstone. Y mae yn ffaith ag y dymunem mewn modd arbenig alw sylw y brodyr hyny ati, sydd yn ofni y bydd i ddadgysylltiad yr Eglwys yn yr Iwerddon fod yn ffafriol i Babyddiaeth, fod Ceidwadaeth bron tŷnu yr anadl olaf yn yr Alban, a bod Presbyteriaid y deyrnas hon bron yn unfrydol o blaid Mr. Gladstone. Allan o driugain o seddau yn Scotland, nid ydyw y Toryaid yn sefyll ond am un ar bymtheg o honynt; nid oes ganddynt ond gobaith pur wanaidd am naw o honynt, ac nid ydynt yn sicr o ennill ond pedair o honynt, ac y mae hyny i'w briodoli, nid i olygiadau Ceidwadol yr etholwyr, ond i ddylanwad y tirfeddiannwyr. Yn Lloegr eto, y mae un ffaith yn tŷnu ein sylw arbenig yn y cyfwng presennol, sef agweddiad Corff mawr a dylanwadol y Wesleyaid tuag at yr Eglwys yn nydd ei phrofedigaeth. Ddeng mlynedd ar hugain yn ol, rhoddodd Wesleyaeth atebiad ffafriol i appeliad o Rydychain, i gynnorthwyo yr Eglwys i amddiffyn cyllidau yr Eglwys Wyddelig; ac hyd yma yr ydym wedi arfer edrych ar y Gynnadledd Wesleyaidd fel yn gogwyddo yn fwy at yr Eglwys nag at Ymneillduaeth drwyadl. Ond yn awr, wele un y gellir ei ystyried yn dad y Gynnadledd—"Father Jackson," yn anfon llythyr at y Gynnadledd a gyfarfu yn Liverpool eleni, gan ddyweyd, "Methodism has passed into a new state in relation to the Established Church of this country. Mr. Wesley, to the end of his life, declared his attachment to it, and recommended to his preachers and his people to follow his example. * * Mr. Wesley was a Protestant to the backbone, and regarded the Church of England as a Protestant Establishment. * * The Church of England is not now what Mr. Wesley understood it to be, and what it has been regarded for the last 300 years. Many of the clergy declare their abhorrence of the very name Protestant; they revile the Protestant Martyrs; they affect Popish forms of worship; they preach the doctrine of Popery, and declare their sympathy with the Church of Rome. At

* Llythyr Deon Elphin at Ysgrifenyddion y "*Dublin Protestant Defence Association.*"

the same time, a large and powerful body of the clergy yield only a limited assent to the teaching of the Holy Scripture, and deny some of the most important doctrines of the Gospel. A Church which offers no effectual resistance to these enormous evils can expect no sympathy from Wesleyan Methodism. On the contrary, against such errors, Methodism is bound to raise the warning order, from one end of the kingdom to the other." Y mae yn eglur i'r rhai a ddarllenodd adroddiad o weithrediadau y Gynnadledd, fod y llythyr hwn o eiddo yr hybarch Mr. Jackson yn ddrych cywir o olygiadau y Wesleyaid ar bwnc y dydd. Ac os edrychwn i'r Iwerddon, ni a gawn Gynnadledd y Wesleyaid yno yn cymeryd tir mwy penderfynol ar y pwnc, trwy basio penderfyniad trwy fwyafrif o 78 yn erbyn 5 yn anghymeradwyo gwaddoliad yr Eglwys Babaidd, a bod "llesiant uchaf ein gwlad yn galw arnom i wahardd unrhyw waddoliadau, allan o'r cyllid gwladwriaethol, tuag at glerigwyr neu sefydliadau yr Eglwys hono," ac yn dadgan o blaid dadwaddoliad yr Eglwys Wyddelig. Ac y mae yr *United Methodist Free Church Conference*, a'r *Methodist New Connexion*—dwy ganghen bwysig a dòrodd allan oddiwrth Fethodistiaid y Gynnadledd, wedi traethu yn ddiammwys o blaid dadgysylltiad a dadwaddoliad. Y mae y ffeithiau hyn yn dra phwysig, oblegid y maent yn profi fod y gwahanol ganghenau o ddilynwyr Mr. Wesley erbyn heddyw wedi ffarwelio â'r Eglwys, ac fod yn dra thebyg y bydd y mwyafrif mawr o honynt i'w cael, gyda changhenau eraill o'r Eglwysi Rhyddion, yn rhoddi eu llais o blaid cyfiawnder i'r Iwerddon, gan adael y canlyniadau i Ragluniaeth. Fel y gellid dysgwyl, y mae y ddwy ganghen fawr o'r Annibynwyr, sef yr Independiaid a'r Bedyddwyr, yn eu Cyfarfodydd Undeb yn Lloegr, a'u Cymanfäoedd yn Nghymru, trwy benderfyniadau cryfion, wedi nerthu breichiau Mr. Gladstone. Ac yr oedd yn dda hefyd genym weled penderfyniadau Cymdeithasfa y Methodistiaid Calfinaidd yn Mangor, ar yr un mater. Fel hyn y mae gwahanol ganghenau yr Eglwysi Rhydd yn Lloegr, y Presbyteriaid yn yr Alban, a'r Presbyteriaid a'r Ymneillduwyr eraill yn yr Iwerddon, wedi dadgan—yr oll o honynt—yn erbyn y "lefelu i fyny;" eraill o blaid y "lefelu i lawr;" ac y mae yr oll o honynt hefyd yn barod i gydweithredu â'u gilydd o blaid dadgysylltiad a dadwaddoliad yn wyneb unrhyw ymgais o eiddo Mr. Disraeli, neu unrhyw wleidyddwr arall, i waddoli Pabyddiaeth. Ië, ymhellach, gellir dyweyd fod ein Heglwysi Rhydd erbyn hyn wedi eu hargyhoeddi nad oes ond dau gynllun yn bosibl—sef gwaddoli pob eglwys yn yr Iwerddon, neu ddadgysylltu a dadwaddoli yr Eglwysi Esgobol; gan hyny nid ydym yn petruso am foment i ddadgan y bydd i Ymneillduwyr o bob enwad yn y deyrnas gyfunol gydweithredu â'u gilydd, ac hefyd â chlerigwyr rhyddfrydol yr Eglwys i wneyd cyfiawnder â'r Iwerddon trwy ddadgysylltu yr Eglwys oddiwrth y Llywodraeth, a'i dadwaddoli, a thrwy hyny sefydlu cydraddoldeb crefyddol yn y wlad hono, ac mewn canlyniad sefydlu heddwch rhwng y Sais a'r Celt, a barhäo ddyddiau y ddaear.

# HORAS A LYDIA.

Y MAE y llinellau isod yn gyfieithiad o un o ganeuon prydferth y bardd Lladinaidd Horas. Ystyrir fod holl ganigau Horas yn nodedig am eu tlysni, eu coethder, a'u llyfnder pêrseiniol. Yn eu plith, fodd bynag, ystyrir fod dwy yn rhagori. Hwy ydynt y drydedd o'r pedwerydd llyfr, a'r nawfed o'r trydydd llyfr—y *tertia quarti* a'r *nona tertii*. Yn sicr mae y ddwy ganig yma yn defnynu fel y gwlith. O'r olaf o honynt yr ydym yn cynnyg lled-gyfieithiad. Yn y gwreiddiol y mae yn ganig fechan dlos odiaeth fel y gwelir wrth ei darllen isod. Y mae yn darlunio mewn dull syml, pur, a pharadwysaidd, gymmodiad mab a merch ieuanc fuasent unwaith yn anwyl iawn o'u gilydd, ond a ddygwyddasent wedi hyny syrthio allan dros dymmor. Yn y tymmor hwnw maent yn taro bob un o'r ddau wrth anwylyd arall. Yn yr agwedd hon ar bethau, y mae Horas a Lydia yn dygwydd cyfarfod â'u gilydd yn ddamweiniol. Y mae y ddau yn teimlo. Y mae ymgom yn cymeryd lle rhyngddynt. Mae Horas i ddechreu yn cyfeirio yn deimladol at hapusrwydd y dyddiau o'r blaen; mae Lydia yn adsain ei deimlad. Mae tôn Horas yn sydyn gyfnewid, ac yn ddireidus tŷr allan mewn canmoliaeth i'w hanwylyd presennol. Mae Lydia yn cyfnewid i'w ganlyn, ac yn uwch ei chanmoliaeth i'w hanwylyd presennol hithau. Mae Horas yn olaf yn taflu y glôg ac yn dangos ei galon; mae hiraethglwyf ei serch yn gorchfygu Lydia hithau, yn lân; mae yn ysgwyd mab Ornytus ymaith, ac yn anwyl ganddi ei hen anwylyd, er gwaethed ei droion, er cymaint ei ddrwg. Dyma rediad y peth yn Lladin a Chymraeg:—

| HORATIUS. | HORAS. |
|---|---|
| Donec gratus eram tibi,<br>Nec quisquam potior brachia candidæ<br>Cervici juvenis dabat:<br>Persarum vigni rege beatior. | Gynt pan oeddwn gariad iti,<br>A neb anwylach yn cael rhoddi<br>Ei fraich o gylch dy wddw eira:<br>Llônach oeddwn na theyrn Persia. |
| LYDIA. | LYDIA. |
| Donec non alia magis<br>Arsisti, neque erat Lydia post Chloen:<br>Multi Lydia nominis<br>Romana vigni clarior Ilia. | Gynt pan oeddwn innau 'th gariad,<br>Nid Clöe 'th haul, a Lydia'th leuad:<br>Mil mwy gwerdd oedd dalen Lydia,<br>Na dalen dêg yr enwog Ilia. |
| HORATIUS. | HORAS. |
| Me nunc Thressa Chloe regit,<br>Dulces docta modos, et citharæ sciens:<br>Pro qua non metuam mori,<br>Si parcent animæ fata superstiti. | Clöe 'n awr fedd y deyrnwialen,<br>Mae 'n ëos fwyn, mae 'n ferch yr awen:<br>Chwim y rhedai gwaed fy nghalon,<br>Er ei mwyn, fy ngeneth dirion. |
| LYDIA. | LYDIA. |
| Me torret face mutua<br>Thurini Calais filius Ornyti:<br>Pro quo bis patiar mori,<br>Si parcent puero fata superstiti. | Calais, mab Ornytus, yntau<br>Ennyna serch fy mynwes innau:<br>Dwywaith rhedai gwaed fy nghalon,<br>Er ei fwyn, fy machgen tirion. |
| HORATIUS. | HORAS. |
| Quid? si prisca redit Venus,<br>Diductosque jugo cogit aeneo?<br>Si flava excutitur Chloe,<br>Rejectæque patet janua Lydiæ? | Ond beth os gwêl ein cariad cyntaf<br>Ei dyner hâf ar ol ei auaf?<br>Os Clöe glws a fwrir ymaith,<br>Os egyr drws i Lydia eilwaith? |
| LYDIA. | LYDIA. |
| Quamquam sidere pulchrior<br>Ille est, tu levior cortice, et improbo<br>Iracundior Hadria:<br>Tecum vivere amem, tecum obeam libens. | Er bod hwnw 'n dêg fel seren,<br>Tithau 'n oriog ac aflawen;<br>Hoffwn, er fel môr yn arw,<br>Di i fyw, a thi i farw. |

# DARLLEN YN DDEALLUS.

Yn y dyddiau hyn, pan y mae llênyddiaeth yn myned rhagddi o flwyddyn i flwyddyn yn ein plith, ac yn ymddyrchafu yn barhäus i urddas a bri, pan y mae Ysgolion Sabbothol a dyddiol, eisteddfodau lleol, a chyfarfodydd llênyddol, i'w cael ymhob ardal drwy y Dywysogaeth, traethodau ac erthyglau yn cael eu hysgrifenu ar amryw destynau, a'r rhai hyny, drachefn, yn myned fel cenadon cyflym i bob lle y byddo Cymro, tybygem mai nid anfuddiol fyddai traethawd bŷr ar ddarllen yn ddeallus, a hyny, yn benaf, gyda golwg ar ddarllen y Bibl, gan mai efe, trwy drugaredd, ydyw llyfr safonol cenedl y Cymry. Ac er mai y Bibl yw safon lyfr y wlad, eto, nid yw meibion Cymru, mwy na'r Saeson, hyd yn hyn, yn ei ystyried yn werth eu sylw i ddysgu ei ddarllen yn agos fel y teilyngai gael ei ddarllen, tra yr ymboenant ddydd a nos i geisio ei ddeall a'i esbonio. Y gwŷr ieuainc sydd yn darparu at waith y weinidogaeth, a ŷrir i ysgolion ac athroféydd i ymbarotôi i hyny. Dysgant Ladin a Groeg, rhesymeg, meddylddysg, a llawer o bethau eraill, er gloewi eu meddyliau, i'w gwneuthur hwynt yn addas at y gwaith; ond, er hyn i gyd, pan elont i ddarllen pennod syml a phlaen o'r Bibl Cymraeg, ymddangosant fel pe na roddasent fynyd i'w hastudio, gan mor farwaidd, mor annaturiol, a difywyd, y darllenant hi.

O holl ysgrifeniadau y beirdd a'r llênorion godidocaf, y Bibl, yn ddïau, ydyw y rhagoraf; nid yn unig fel y mae yn Air Duw, a'r llyfr henaf yn y byd, ond fel y cyfansoddiad mwyaf amrywiol ei destynau, y penaf a'r coethaf o ran iaith ac ymadroddion, ac yn cynnwys y meddylddrychau mwyaf prydferth, aruchel, a godidog, a ysgrifenwyd erioed. Ceir ynddo bob amrywiaeth dull ag sydd o osod geiriau iaith yn ymadroddion, o'r symlaf hyd y mawreddusaf: ac er mai cyfieithiad yw i'n hiaith ni, ymha le y ceir iaith mòr bur a choeth, ac iaith a ddeallir mor drwyadl gan Gymro, ag iaith y Bibl? Efe yw y llyfr a ddarllenir fynychaf, ac y chwilir iddo fwyaf. Efe sydd yn tỳnu y torféydd mwyaf at eu gilydd i wrandaw ei ddarllen a'i esbonio; a'r dynion a'i darllenant, ac a'i hesboniant, ynghyda'r lleoedd y gwnânt hyny, a ystyrir yn gysegredig, ac yn deilwng o'r urddas a'r parch mwyaf. Tyrfa harddach a mwy dymunol yr olwg arni, ni cheir mewn un man, na'r hon a ymgynnull i wrandaw darllen ac esbonio gair Duw. Felly, fe deilynga y llyfr gael ei ddarllen yn eglur a synwyrol, er boddhâu clust y gwrandäwr; canys trwy y glust y mae y meddwl yn derbyn yr hyn sydd i'w ddysgu, ei hyfforddi, a'i ddyddanu; ac y mae eisieu tôn a llais naturiol tuag at hyny. Tôn yw un o brif elfenau iaith lafar er amlygu ein teimladau a'n meddyliau; ac y mae y fath gyfagosrwydd rhwng y glust âg ysgogiadau y meddwl, fel, os na fydd tôn y llais yn cydfyned yn naturiol â synwyr yr hyn a ddarllenir genym, y bydd yn sicr o'i wrthod; a pha beth bynag a wrthodo y glust, bydd y meddwl hefyd yn sicr o'i wrthod fel peth annheilwng a diwerth.

Wrth ddarllen gair Duw fel y teilynga, fe geir y dyrfa yn astud i wrandaw. Am y tro, rhoddant bob cynneddf yn llwyr at y gwaith.

Rhoddant eu llygaid yn gyfangwbl i syllu ar y llefarwr, eu clustiau a agorant, a hoeliant hwy megys wrth ei wefusau, rhag colli un gair a ddaw o'i enau; a derbyniant i'w calonau gyda llawenydd a hyfrydwch yr oll a leferir wrthynt, nes y gwêl y llefarwr yn eu hwynebau llawen a siriol fod ei lafur yn cael derbyniad a chymeradwyaeth. Agwedd felly a welwyd lawer gwaith wrth bregethu ac esbonio y gair, ond anaml, ysywaeth, wrth ei ddarllen; canys wrth esbonio a phregethu, dŵg y llefarwr at y gwaith yr holl addysg a'r wybodaeth sydd ganddo ar y pwnc, ynghyda phob tôn a llais i gludo yn eglur synwyr ei ymadroddion, yn ol y meddwl a'r teimlad sydd ganddo ef ei hun am danynt; tra, wrth ddarllen y gair, yr esgeulusir y pethau hyny ganddo yn fynych, gan dybied, a chymeryd yn ganiatäol—yr hyn ni ddylai—fod yr hyn a ddarllenir ganddo yn flaenorol hysbys i'w wrandäwyr; a'r gwrandäwyr, drachefn, a dybiant, os felly, na raid rhoddi y glust i wrandaw, a buan y gwelir eu llygaid yn dechreu cau, neu yn gwibio yma ac acw. Ac os rhoddant eu clustiau i wrandaw, blinant yn union ar sŵn geiriau dinerth a difywyd. Felly darllenwr esgeulus a wna wrandäwr esgeulus.

Beth yw darllen neu lefaru yn gyhoeddus ond siarad neu ymddyddan, ond fod hyny yn cael ei wneyd â thyrfa, mewn llais uwch nag y gwneir gydag ychydig gyfeillion? Yr un llais a thôn sydd eisieu yn ddiwahaniaeth i lefaru synwyr a theimlad i'r naill ac i'r llall.

Ceisio deall y peth a ddarllenir, ac wedi ei ddeall, ei ddarllen fel un yn ei ddeall, a ddylai fod prif amcan pob darllenydd cyhoeddus; deall nid ystyr a meddwl yr awdwr yn unig, ond deall hefyd ei ddull ef o ffurfio ei frawddegau, a'r teimlad a deifl efe iddynt, pa un bynag a fyddont ai mynegiadol, holiadol, cadarnhäol, ai negyddol, yn arddangos rhyfeddod neu syndod, o ymbiliad, deisyfiad, neu orchymyn. Canys mae y dulliau gwahanol hyn yn gofyn dull a thôn wahanol iawn i'w trosglwyddo i'r glust. Y tôniadau neillduol a berthyn i lefariad bob math ar frawddeg sydd yn ddigon hysbys i ni oll, gan yr arferir hwynt yn ein hymddyddanion cyffredin, fel nad yw anwybodaeth yn un esgus am beidio eu harfer yn gyhoeddus. Difaterwch yn unig yw yr achos; ac y mae y difaterwch hwnw yn sarhâd a dirmyg ar synwyr cyffredin a chwaeth y gwrandäwyr.

Wrth areithio a darllen, y *gamp benaf* a'r anhawsaf ydyw llefaru yn *araf*, ac ar yr un pryd i beidio ag ymddangos felly i'r gwrandäwr. Mae rhedeg a chyflymu dros yr hyn a leferir, neu a ddarllenir, yn effeithio i ddinystrio yr hyn a leferir; ac arafwch, o'r ochr arall, sydd yn trymhâu ac yn blino y glust fel nad all wrandaw. Y gamp ydyw llefaru heb ymfrysio nac arafu, ond cadw amser mor gyfartal a thêg, a pharablu gyda'r fath eglurder llais, fel yr elo pob gair yn ddiball, yn rhwydd, ac yn esmwyth i glust y gwrandäwr. Y gamp o drefnu yr amser fel nad ymddangoso yn araf i'r gwrandäwr, sydd beth nad yw y rhan fwyaf o lefarwyr yn ei ddeall; o herwydd mor fuan ag yr änt i ddarlunio unrhyw nwyd gyda chyffröad neu gynhyrfiad teimlad, yn y fan hwy a gollant bob meistrolaeth ar dôn a chynghanedd pêrseiniol o'r hyn a lefarant, ac ânt i wichian, ysgrechian, bloeddio, a chyfarth allan eu geiriau a'u hymadroddion, nes y chwelir hwynt yn yfflon, i bob man, ond i glust y gwrandäwr.

Perffeithrwydd araethyddiaeth yw ystwythder naturiol; a pha beth

bynag sydd yn naturiol, hardd a thlws ydyw; ac arganmola ei hun i feddwl pawb a garant y prydferth. Os sylwir ar y dynion mwyaf eu dawn a'u medr fel areithwyr, y maent hwy bob amser yn cadw eu llais i fyny yn bêrseiniol mewn cynghanedd fesuredig, hyd yn nòd pan lefarant gyflymaf, gyda'r cynhyrfiadau mwyaf tanbaid, a hyny mewn cyffelyb ddull ag y chwareua cerddor cywrain y darn cyflymaf a bywiocaf o beroriaeth. Rhoddir esgus weithiau gan lefarwyr dros beidio llefaru a darllen gwirioneddau y Bibl yn gelfyddgar, mai peth mympwyol a chnawdol dros ben fyddai hyny, ac y dylai pawb ddarllen yn ei ddull naturiol ei hunan. Mae hyn yn eithaf da pe *dilynid y rheol;* ac nid yw y gelfyddyd o ddarllen a llefaru yn gofyn *am ddim mwy* na hyny; oblegid sylfeinir ei holl reolau hi ar y tôniadau naturiol hyny a blànwyd gan y Crëawdwr yn y natur ddynol, fel arwyddion i amlygu ei holl anghenion a'i theimladau naturiol. Mae y tôniadau hyn yn reddfol yn y dyn, ac mor hysbys i bawb fel nas gall neb gamgymeryd y naill dôn am y llall wrth amlygu ei anghenion. Er prawf o hyn, ni chlywir y plentyn wrth lefaru byth yn rhoddi camdôn, na phwysdôn anmhrïodol, ar ei ymadroddion; ac ni wna dynion hyny ychwaith mewn rhydd ymddyddan neu siarad cyffredin. Na, wedi iddynt fyned i'r ysgol i ddysgu darllen, y mae y naill a'r llall yn colli y dull naturiol, ac yn ffurfio un mympwyol.

Beth sydd fwy mympwyol na bod i bob sect o grefyddwyr yn Nghymru dôn a llais penodol iddynt wrth lefaru? Onid dïareb gwlad yw yr adwaenir sect y dyn wrth ei dôn a'i lais? Nid natur a'i dysgodd felly, ond mympwy yn unig. Adwaenom un pregethwr ieuanc, nad digon oedd ganddo geisio ymberffeithio yn llais a thôn ei *sect*, ond mynodd ddynwared tri o bregethwyr enwocaf y sect hono; ac nid dynwared pethau coeth a phrydferth y gwŷr hyny, ond rhyw neillduolrwydd arbenig a berthynai iddynt yn bersonol, ac nad ydoedd ond ynfydrwydd pur i neb geisio ei efelychu. Yr oedd y gwrandäwyr yn ddigon craffus i weled y cais, ac i'w ffieiddio. Gwell gan bob aderyn gânu yn ei dôn ei hun, gan mai hyny sydd fwyaf naturiol iddo. Dilyn natur hefyd yw y goreu a'r mwyaf boddhäol gan wrandäwyr ein cynnulleidfäoedd. Nid yw gwir gelfyddyd yn ymgyrhaedd at ddim mwy, na dim llai, wrth drefnu ei rheolau a'i chyfarwyddiadau i ddarllen neu lefaru yn synwyrol. Mympwy ac anwybodaeth yn unig a gais sefydlu unrhyw ddull gwahanol.

Llawer a dybiant y dylid darllen y Bibl mewn llais a thôn wahanol i unrhyw gyfansoddiadau eraill; ac nid tybied hyny yn unig y maent, ond gweithredant yn ol y dŷb, a hyny yn gyhoeddus o'r pulpudau, &c. Cyn y gall darlleniad cyhoeddus o lyfr fod yn ddifyrus, buddiol, ac adeiladol i'r gwrandäwr, rhaid ei ddarllen yn seingar, mewn llais eglur, fel y clywir ef, ac hefyd yn synwyrol, gyda desgrifiad naturiol drwy y llais o feddwl a theimlad y peth a ddarllenir.

Dymunem alw sylw ein darllenwyr at rai o'r gwallau mewn darllen sydd yn ffŷnu yn fwyaf cyffredin yn ein plith. Y mae llawer o'r gwallau hyny mor amlwg i'r gwrandäwr, fel y gwellhéir hwynt ganddo yn ei feddwl ei hun ar y pryd y deuant i'w glustiau. Y rhai hyn, yn gyffredin, ydynt cam-attalnodi a cham-bwysdônyddu. Dyma enghraifft o gam-attalnodi:—"Caisar a ddaeth i mewn ar ei ben. Yr oedd penwisg rhyfel am ei draed, sandalau arfog ar ei wynebpryd, yr oedd gŵg yn ei law ddehau, ei gleddyf ffyddlawn yn ei lygaid, digter a felltenodd heb siarad gair,

fe eisteddodd i lawr." Er amlyced yw ynfvdrwydd y fath attalnodiad, nid amgenach, rai gweithiau, y clywsom o bulpudau yr adnodau a ganlyn yn cael eu darllen:—"Y drydedd waith hon yr ydwyf yn dyfod atoch yn ngenau dau neu dri o dystion," 2 Cor. xiii. 1; fel pe byddai genau y tystion yn gerbyd i Paul. "Ac a ddarnguddiodd beth o'r gwerth a'i wraig hefyd." "O thŷn neb yn ol fy enaid." "Ac arweiniwyd gydag ef ddau ddrwgweithredwyr eraill,"—gan wneuthur y Gwaredwr yn drydydd. "Pa fodd y glanhâ llanc ei lwybr wrth ymgadw yn ol dy air di?" "Pa fodd y mae y doeth yn marw fel yr annoeth?" Yma gwneir cwestiwn o'r ymadrodd, yn lle holiad ac atebiad. "Trwy ffydd yr offrymodd Abel aberth ragorach na Chain—a thrwyddi hi y mae efe wedi marw."

Fe wneir camgymeriadau dybryd hefyd yn fynych mewn pwysdônyddu. "Ond i Dduw y bo y diolch eich bod chwi gynt yn *weision* i bechod,"—hyny yw, Duw fu yr achos o hyny. "Ac os yw *Crist* ynoch y mae y corff yn farw o herwydd pechod." Mae pwyso ar y gair Crist yn amlygu ystyr cyfeiliornus, ac hefyd yn gwneuthur yr holl ymadrodd yn ddisynwyr. "A'r *ceiliog*, a gânodd yr *ail* waith." "O!" meddai rhyw walch, "Ai yr *iâr* a gânodd y *tro cyntaf?*" "Wele yr ydym *ni* yn gosod ffrwynau *yn mhenau* y meirch i'w gwneuthur hwy yn ufudd i *ni:*" yr hyn a barodd i Enoch Evans y Bala, ofyn i'r gŵr a'i darllenodd felly, "A welais ti rywun yn rhoi ffrwyn yn nghynffon ceffyl, gan dy fod yn pwyso gymaint ar *yn mhenau;* ac os gwelaist, gwnaethost yn gall hefyd, drwy iti roddi pwys *grymus* ar y gair *ni*, er dangos mor hynod oedd y rhai a wnaent felly." "A phan aeth hi yn ddydd, nid oeddynt yn *adnabod* y tir,"—hyny yw, y gwyddent cyn iddi ddyddhâu.

O bob gwall mewn darllen, y gwall mwyaf oll yw darllen yn aneglur, fel na chlywo y gwrandäwr; ac yn gyffredin, mae y sawl fyddo yn gwneuthur felly yn ymddangos fel pe byddai *efe* yn difyru ei *hun* yn unig, tra yr ymgasglai y dorf ynghyd i wrando ei bregeth, pryd y gwna yntau i fyny am ei ddiffyg mewn darllen trwy floeddio yn ormodol.

Mae gwallau eraill llawn mor wrthun â'r rhai a nodwyd, y rhai, am nad ydynt mor amlwg, a ânt heibio i ni yn ddisylw, heb un ymgais at eu diwygio, sef, gwallau mewn darllen yn gyfeiriadol, holiadol ac atebol, yn rhagenwol, ad draethol, a chroes-ystyr.

*Darllen Cyfeiriadol.*—Un o brif elfenau darllen yn synwyrol yw darllen yn gyfeiriadol, gan mai trwy gyfeirio yn ôl ac ymlaen o'r naill frawddeg i'r llall, y cedwir i fyny linyn rheswm y pwnc yn nghlust y gwrandäwr o'i ddechreu i'w ddiwedd. Ond os unwaith y tòrir ar y llinyn drwy gamdônyddiad neu bwysdôn, yn y fan fe gollir y synwyr a'r ysbryd, a'r gwrandäwr a ä felly yn esgeulus ac yn ddifater am wrandaw ychwaneg. Gan fod hyn yn un o'r prif angenrheidiau tuag at "osod allan y synwyr fel y dealler ef wrth ddarllen," ceisiwn roddi ychydig o esiamplau syml ac eglur fel y dealler pa beth ydyw.

Wrth ddechreu darllen, dylai y gair neu y geiriau a fyddo yn destun y pwnc gael eu llefaru yn eglur, gyda thôn a phwysdôn a fo yn brïodol iddynt; ond unwaith y gwneler hyny, nid ydynt mwyach i fod yn bwysеiriau, oddieithr i'w dangos yn fwy grymus a goleu. Wedi gosod y pwnc i lawr, dylid tônyddu pob gair ac ymadrodd a ddilyno, fel y cyfeiriant yn ôl at y pwnc, i ddangos y cysylltiad sydd rhyngddynt âg ef, ac

fel y cadwer hefyd o flaen y gwrandäwr synwyr y pwnc yn gyfan a pherffaith o'i ddechreu i'w ddiwedd, ac na fyddo modd iddo gamddeall un ran o hóno, nac ar y law arall flino na diffygio yn gwrandaw.

Fe sylfaenir y tôniadau hyn ar yr un egwyddor â sillbwysiad geiriau cyfansawdd, megys, *di*-dda, *di*-ddrwg, *an* nghlod, &c.; neu y geiriau Saesoneg, *rail*-road, *rose*-bud, *cheese*-monger, *iron*-monger. Mewn geiriau fel hyn ceir fod y gair a dybir o bwys, yn colli ei bwys sillafol yn ngrym sillbwysiad y gair attodol. Felly mae y geiriau *da, drwg, clod*, yn diflanu yn ngrym sillbwysiad y geiriau attodol *di* ac *an*, yn y geiriau *di*-dda, *di*-ddrwg, *an*-nghlod. Wrth acènu geiriau fel hyn, nid yn unig fe roddir ystyr penodol a neillduol i'r geiriau, ond fe gyfeirir hefyd at bethau eraill a ddeallir yn y meddwl yn gyferbyniol iddynt. Felly hefyd, wrth ddarllen a llefaru brawddeg yn ei chysylltiad â brawddegau eraill ar yr un pwnc, mae rhai geiriau yn colli'r pwysdôn sydd brïodol iddynt, fel brawddeg unigol, ddigyswllt, pan raid newid sedd y pwysair, er dangos ei gysylltiad â'r brawddegau eraill yn y darlleniad. Mae yn rhaid i'r pwyseiriau cyntefig roddi lle i rai eraill, fel y cysyllter y synwyr o'r naill frawddeg i'r llall drwy y pwnc. Er enghraifft, —Efe a ymddygodd fel *Cristion*. Tônyddiad prïodol y frawddeg unigol hon ydyw, pwysdôn ddisgynol ar y gair Cristion; ac felly ni ddynoda'r synwyr ddim mwy na fod rhyw un wedi ymddwyn felly; ni roddir un awgrymiad *pwy* a ymddygodd yn ol y dull hwnw; ond pe cysylltid y frawddeg hon gyda rhai eraill, ac i'r cysylltiad hyny alw am newid sêdd y pwysdôn oddiar y gair *Cristion* at y gair *fel*, fe gollai y gair *Cristion* ei rym pwysdônol yn ngrym pwysdôn y gair *fel*; yn gyffelyb ag y diflana sillbwys y geiriau *road, bud*, a *drinker*, yn y geiriau cyfansawdd *rail*road, *rose*bud, *water*drinker, y rhai sydd yn awgrymu fod *roads* eraill heblaw railroad, a *buds* heblaw rosebuds, a *drinkers* heblaw waterdrinkers. Felly, wrth bwysdônyddu y gair *fel*, fe awgryma nid yn unig y mynegiad syml am un wedi ymddwyn fel Cristion, ond mai Cristion oedd y person a ymddygodd felly. Efe a ymddygodd *fel* Cristion.

Gallwn sylwi wrth fyned heibio, nad all un gair ddisgyn ar y glust yn bwysair gwirioneddol oni roddir attalnôd ar ei ol. Y mae hyn yn llawn mor angenrheidiol tuag at ei wneuthur yn bwysair âg ydyw *tônyddiad grymus*. Hefyd, rhaid i bob sill a ddilyno y pwysair, ddiflanu megys sillau dïacen ar ol y pwysair. Megys, Efe a ymddygodd FEL—Cristion, heb hyny ni ddisgyn ar y glust yn effeithiol.

Pan fo un yn darllen neu yn llefaru gyda thôn a phwysdôn fel ag i gyfeirio yn ôl ac ymlaen nes byddo y pwnc yn eglur i glust a meddwl y gwrandäwr, y mae yn brawf sicr fod y llefarwr ei hun wedi astudio a deall y peth a leferir ganddo. Canys cyn y gall neb fod yn gywir ei dôniadau, rhaid iddo chwilio allan yn flaenorol pa rai yw y geiriau y dylid pwyso arnynt fel ac i gyfeirio yn ôl ac ymlaen i'r pwnc.

Darllenwr o'r fath hyn a ofala yn bendant na chaiff enw prïodol, rhagenw, gair, nac ymadrodd a enwyd yn flaenorol, neu eiriau cyfystyr iddynt, yr un fath dôn na phwysdôn eilwaith ag a gawsant y tro cyntaf. Sylwa hefyd a oes i air neu ymadrodd ystyr bendant, neu neillduol, croesystyr, neu ystyr helaethach, fel y gallai roddi y tôniadau a'r pwysdôniadau er dangos eu neillduolrwydd, megys yn yr adnodau a ganlyn:—"A'r Iesu a aeth i mewn ac a aeth drwy Jerico," Luc xix. 1. Gan y dechreuir

y bennod gyda'r adnod hon, gallai darllenwr esgeulus dybied mai dechreuad y pwnc ydyw, ac o herwydd hyny efe a rydd bwysdôn ar y geiriau *Iesu*, a *Jericho*, yr hyn sydd anghywir, canys dechreuir y pwnc yn yr adnod 35 o'r bennod flaenorol, lle y dywedir i'r *Iesu* ddyfod yn agos i *Jericho*. Felly gan fod y ddau beth hyn wedi eu henwi o'r blaen, mae yn rhaid newid sêdd y pwyseiriau yr adnod sydd dan sylw, oddiar *Iesu* a *Jericho*, at ryw air neu eiriau eraill, i gyfeirio yn ôl, ac i awgrymu fod y pwnc eisoes wedi ei ddechreu. A'r geiriau a gluda hyny oreu i'r glust ydynt, *mewn*, a *thrwy;* megys, "A'r Iesu a aeth i *mewn* ac aeth *drwy* Jericho." Enghraifft arall gyffelyb a geir yn y bummed adnod o'r un bennod. "*Disgyn* ar *frys*, ac efe a ddisgynodd ar frys." Y pwyseiriau yn y rhan gyntaf ydynt, *disgyn*, a *frys;* ond yn y rhan olaf symudir y pwysdôn at y gair "*a* ddisgynodd," ac mae *ar frys* i ddiflanu yn y gair *a;* megys, "*Disgyn* ar frys, ac efe *a* ddisgynodd ar frys." Mae hyn yn amlygu, nid yn unig iddo ddisgyn, ond iddo wneuthur felly yn ol y dull y gorchymynwyd ef gan Grist. Pe ar *frys* y pwysid, ni byddai namyn mynegiad syml o'r modd y disgynodd, heb un cyfeiriad at y gorchymyn a gafodd i ddisgyn felly. Eto: "Ac efe a ddywedodd, Deuwch i le *anghyfannedd* o'r *neilldu;* a hwy a *aethant* i le anghyfannedd o'r neilldu." *Anghyfannedd*, a *neilldu* yw y pwyseiriau yn y rhan gyntaf, ond *aethant*, yn y rhan olaf; canys pe dodid yr un pwysdôniad ag a roddir ar y rhan gyntaf, dynodai hyny i'r glust nad aethant i'r fan y ceisiwyd iddynt fyned. Byddai sŵn y geiriau yn groes i'w hystyr, yn gymaint a phe dywedid, Aethant i'r *ddinas* i fan *cyhoedd*. Wrth bwyso ar *aethant*, fe gyfeiria hyny yn ôl at y rhan gyntaf, a dengys y synwyr hefyd mor gyflawn, heb y geiriau *anghyfannedd* a *neilldu* o gwbl i'w ddilyn. Eto: "Canys ni a welsom ei seren ef yn y *dwyrain*, a daethom i'w addoli ef." Wrth ddarllen yr adnod hon, mae y gair *dwyrain* yn naturiol ddyfod yn bwysair, ond byddai hyny yn groes i'w ystyr. Gan mai o'r dwyrain y daethent, a'r seren yn myned o'u blaen bob cam nes safodd uwchben y lle y ganwyd y Mab bychan, felly, rhaid mai yn y gorllewin iddynt yr oedd y seren a welsant hwy; gan hyny rhaid cael rhyw air arall i bwyso arno er cael allan yr ystyr hwnw, a'r goreu at hyny yw y gair *yn*. "Canys ni a welsom ei seren ef *yn* y dwyrain, a daethom i'w addoli ef." Eto: "Na *thrysorwch* i'wch *drysorau* ar y ddaear, lle mae *gwyfyn* a *rhwd* yn *llygru*, a lle mae *lladron* yn *cloddio* trwodd ac yn *lladrata*." Yn yr adnod hon y pwyseiriau ydynt, *thrysorwch*, *drysorau*, *ddaear*, *cloddio*, *lladrata;* ond yn yr adnod sydd yn ei dilyn, nid oes yr un o honynt i fod felly, ond yn ddibwys hollol; a'r gair *nid* sydd i gymeryd eu lle; rhaid iddynt hwy ddiflanu, megys sillau diacen yn ngrym pwysdôniad y gair *nid*, neu fel pe byddent yn eiriau rhwng cromfachau. "Eithr trysorwch i'wch drysorau yn y NEF, lle NID oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle *nis* cloddia lladron trwodd ac *nis* lladratânt."

*Pwysdônyddiad y Rhagenwau.*—Fel rheol, ni phwysdônyddir y rhagenwau, mi, myfi, ti, tydi, ef, efe, &c. A'r rheswm am hyny sydd amlwg, sef, am nad ydynt yn dwyn i mewn unrhyw feddylddrych newydd. Gair ydyw rhagenw sydd yn cynnrychioli person neu beth sydd bresennol eisoes o flaen y gwrandawr, naill ai yn grybwylledig neu yn ddealledig yn y meddwl. I'r rheol hon y mae eithriad, a hyny ydyw, pan y byddo eisieu cyferbynu y naill ragenw âg un arall ag sydd yn grybwylledig neu

yn ddealledig mewn ymadrodd: "Robin, pan weli *di* Roland, dyro y llyfr HWN iddo EF (ac nid i neb arall). Gelli DI fedd..l mai nid EFE a ddylasai ei gael; TYDI sydd yn barnu hyny; ond MYFI a farnaf yn wahanol, ac felly y mae ei farn YNTAU." Nid ffurfiad y frawddeg yw y rheswm am yr eithriad hwn, ond teimlad y llefarwr yn unig sydd yn ei lywodraethu. Megys Nathan, pan y dywedodd wrth Dafydd, "TYDI yw y gŵr." Awgrymai hyn yn benderfynol i glust Dafydd, y cyferbyniad tybiedig mai nid *arall* ydoedd. Yr adnod a ganlyn, oni ddarllenir hi yn ol teimlad, yn hytrach na'i ffurfiad gramadegol, ni welir ei synwyr, na phrydferthwch tarawiadol ei chyfansoddiad:—"A'th holl weision hyn a ddeuant i waered ataf FI, ac a ymgrymant i MI, gan ddywedyd, Dos allan, a'r holl bobl sydd ar dy ol; ac wedi hyny yr AF fi allan." Pan gofiwn fod Moses wedi ymbilio fel gwas ar Pharaoh, ac yntau heb wrando, mae yn hawdd gweled y fath deimlad oedd yn codi yn meddwl Moses pan wybu fod ganddo awdurdod oddiwrth Dduw ar Pharaoh; mai nid ymbilio yr ydoedd y pryd hyny, ond myned ato mewn awdurdod a rhwysg, gan roddi hèr iddo mewn gair a theimlad nad allasai Pharaoh ei gamddeall. Fel pe dywedasai, MYFI, Moses, a ymbiliodd â THI, Pharaoh (fel gwas), a welaf dy weision DI (yn ymbil) â MI cyn hir (fel meistr); wedi hyny yr AF FI allan (a hyny er dy waethaf).

Mae eithriad arall yn bod, pan byddo y rhagenw yn y modd holiadol neu fynegiadol. "A leddi DI FI, fel y lleddaist ti yr Aiphtwr ddoe? Pwy a'th osododd DI yn farnwr arnom NI?" A mynegiadol: "*Ti* yw y gŵr." "Ti, O Dduw, yw fy Mrenin I." "TI, O Dduw, a foliannwn."

Geiriau ac ymadroddion rhagenwol ydynt gyffelyb i'r rhagenwau, ac felly y maent yn cael eu llywodraethu gan yr un reol â'r rhagenwau. Hefyd os bydd adran o frawddeg yn cael ei chysylltu wrth ddwy neu ychwaneg o ferfau, neu ragferfau, rhaid eu tônyddu fel y rhagenwau. Rhoddwn enghraifft o hyn, trwy ddodi yr adran ragenwol rhwng cromfachau, a nodi y pwyseiriau yn Italaidd:—"Canys y rhai *sydd* (yn ol y cnawd), am *bethau* y (cnawd) y maent yn syniaw." "Os dywedwn nad oes *ynom* (bechod), yr ydym yn ein twyllo ein *hunain*, a'r *gwirionedd* nid yw ynom; Os *cyfaddefwn* (ein pechodau), ffyddlawn yw efe, fel y *maddeuo* i ni (ein pechodau)." "Nyni a adawsom *heb* eu *gwneuthur* y pethau y *dylasem* (eu gwneuthur), ac a *wnaethom* (y pethau) *ni* (ddylasem eu gwneuthur)." "Y mae yn *dyoddef pob dim*, yn credu (pob dim), yn *gobeithio* (pob dim), yn ymaros (â phob dim)." "Pan oeddwn fachgen, *fel* (bachgen) y *llefarwn*, (fel bachgen) y *deallwn*, (fel bachgen) y *meddyliwn;* ond pan aethum yn *ŵr*, mi a rois *heibio* (bethau bachgenaidd)."

Pan na byddo atebiad i gwestiwn ond ail-adroddiad o eiriau y cwestiwn, nid yw ond ymadrodd rhagenwol, ac fel ymadrodd rhagenwol y dylid ei dônyddu. Ai dyna dy farn di? *Ië*, (dyna fy marn i). "A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Jonah, Ai da yw y gwaith ymddigio o honot am y cicaion? Ac efe a ddywedodd, DA YW (i mi ymddigio) hyd angeu."

*Geiriau Ad-draethol a Chroes-ystyr.*—Y dull symlaf o ffurfio brawddeg yw yr uniongyrch, sef mynegiad syml o unrhyw osodiad, yr hon a gynnwys ddau dyb syml, un yn destun, a'r llall yn brïodoledd, gyda chyplysydd i uno y ddau ynghyd, fel y byddont un meddylddrych syml. Pan gysylltir y geiriau *Mawr* a *Diana* ynghyd âg *yw*, neu *sydd*,

gwnant un meddylddrych,—Mawr yw Diana, neu, Diana sydd fawr. Brawddeg o'r fath hyn, pan safo yn unig, nid oes iddi ond un ystyr penodol, sef mynegu y brïodoledd a berthyn i Diana. Ond, fel y mynegwyd eisoes, gellid gosod brawddeg o'r fath mewn sefyllfa y byddo raid cael ystyr mwy grymus neu helaethach nag sydd iddi fel mynegiad syml ac uniongyrch. Gall y frawddeg fod mewn sefyllfa o gyferbyniad i ryw berson, neu beth arall, ag y byddo raid newid y pwysair er dangos hyny; megys y gair *ci* yn yr adnod a ganlyn: "Ond yn erbyn neb o blant Israel ni symud ci ei dafod," Exod. xi. 7; pe ar *dafod* y pwysdônyddid, mynegiad syml yn unig a fuasai yr ymadrodd; na wna ci, y parotaf ei dafod, gyfarth ar Israel. Ond wrth bwyso yn rymus ar y gair *ci*, nid yn unig fe fynega y peth yn syml, ond fe awgryma i'r glust y cyferbyniad—na wnai yr un creädur arall hyny ychwaith. Fel hyn, yr ydym yn cael ystyr mwy grymus a helaeth i'r ymadrodd nag sydd iddo yn ei symlrwydd unigol. Yr un modd yr adnod ganlynol: "A phan aeth hi yn *ddydd*, nid oeddynt yn adnabod y tir." Wrth bwyso felly awgrymir cyferbyniad, sef nos, yr hyn a grybwyllir yn flaenorol.

Heblaw y gosodir brawddeg mewn sefyllfa nad yw ond mynegiad syml o beth, neu yn gyferbyniol i beth arall, neu o ystyr mwy grymus a helaeth, fe'i ceir weithiau hefyd wedi ei gosod mewn ystyr hollol groes i'w ffurfiad gramadegol o fynegiad syml; a phan y byddo felly, rhaid ei thônyddu a'i phwysdôni i awgrymu y croes ystyr hwnw i'r glust, fel y dealler gwir a phrïodol ystyr y frawddeg. Y dull hwn o osod brawddegau mewn croes-ystyr a geir yn fynych yn y Bibl, yn gystal ag mewn llênyddiaeth gyffredin. Yn yr ymddyddan rhwng y sarph ac Efa ynghylch y pren gwybodaeth da a drwg, gofynai y sarph i Efa, gyda syndod, "Ai dïau ddywedyd o Dduw, Ni chewch chwi fwyta o bob pren o'r ardd?" (Genesis iii. 1.) Atebodd Efa, y caent fwyta o bob pren ond un, ond os cyffyrddent â hwnw, y byddent feirw. Y sarph, drachefn, a ddywedodd yn benderfynol ddigon, "Ni byddwch feirw ddim. Canys gwybod mae Duw mai yn y dydd y bwytëwch o hono yr agorir eich llygaid, ac y byddwch megys duwiau, yn gwybod da a drwg." Wedi iddynt fwyta o'r ffrwyth, mae yr Arglwydd yn dyfod i mewn i'r ymddyddan, gan ad-draethu rhan o ymddyddan y sarph wrth Efa, "Wele y dyn sydd megys un o honom ni i wybod da a drwg." Pa un ai mynegiad syml a phenderfynol o enau yr Arglwydd ei hun yw y geiriau yn amlygu i Adda ei fod ef megys un o honynt hwy i wybod da a drwg, ynte ad-draethiad o eiriau y sarph mewn gwawd neu o ddiystyrwch ar y dyn yn ceisio bod yn ogyfuwch â Duw, yn ol cynghor y sarph, ac yn methu yn yr ymgais, neu, ynte, o dosturi a rhyfeddod at ynfydrwydd y dyn yn tynu y fath boen a gwae arno ei hun drwy anufuddhâu i orchymyn Duw? Yn ol yr hanes, mae yr atebiad yn ddigon eglur, mai ad-draethiad croes-ystyr yw y geiriau, ac nid mynegiad syml a phenderfynol; ac os felly, rhaid ymofyn am dôn a phwysdôn brïodol i'w cludo hwynt i glustiau y gwrandäwr mewn ffordd croes-ystyr.

Yn ein hymddyddanion, peth digon cyffredin ydyw ad-draethu geiriau, ac ymadroddi mewn croes-ystyr, a hyny er dangos ein hammheuaeth a'n hanghrediniaeth o'r peth a lefarwyd yn syml a phenderfynol gan arall, neu o wawd a diystyrwch o hono. Beth sydd yn llymach ac yn cyraedd y teimlad gyda mwy o adgasrwydd nag a allai unrhyw ymadrodd felly

wneyd? oblegid yr ydym yn cymeryd geiriau y llefarwr ei hun, o'i enau ei hun, i'w fflangellu ef â hwynt. Nid allai yr un ymadrodd uniongyrchol ddisgyn i glustiau Adda hanner mor gased â llefariad croesystyr o, "Wele y dyn sydd megys un o honom ni i wybod da a drwg!" Geiriau y clywodd y sarff yn eu llefaru, ac o'u gwrandaw a'u credu, a ddygodd arno felldith a thrueni; ac i glywed y rhai hyny yn cael eu had-draethu drachefn wrtho o enau yr Arglwydd i'w geryddu, a hyny fel yn ddiweddglo ar yr holl felldithion a gyhoeddwyd arno,—diau iddynt gyraedd ei galon fel cleddyf dau-finiog

"Yr wyt ti yn cymeryd i fyny y peth ni roddaist i lawr, ac yn medi y peth ni heuaist," Luc xix. 21. Dyma fynegiad syml a phendant a lefarodd y gwas anfuddiol wrth ei feistr, fel esgus am guddio ei dalent mewn napcyn, yn lle marchnata gyda hi. Gan fod hyn yn anwiredd ac yn sarhâd ar nodweddiad y meistr, yr hwn a roddodd y dalent iddo, ai tybed fod y meistr yn ad-draethu y geiriau yn yr un dôn a phwysdôn âg y llefarodd y gwas hwynt? Onid mwy tebygol y rhoddai efe dôn o syndod a dirmyg ar ei hyfdra anwireddus, yn meiddio dywedyd y fath gelwydd? Pe llefarai y meistr gyda yr un tôniadau â'r gwas, ni byddai amgen na chadarnhâd o dyb y gwas am dano, mai gŵr felly oedd. Onid mewn cyffröad meddwl, ac ysbryd sỳnedig, y dywedai, "O'th enau dy hun y'th farnaf, tydi was drwg a diog. Ti! y diog! Ti! yr hwn y rhoddais i ti dalent yn rhad ac am ddim! Ti! a wyddit!! fy mod yn ŵr tost!—Yn cymeryd i fyny y peth ni roddais i lawr!!—ac yn medi y lle ni heuais!! Sut y meiddiaist ti dybied y fath beth? Oni roddais i ti dalent? Ac os tybiaist felly, am hyny y dylesit ti roddi fy arian i at fwrdd y cyfnewid, fel pan y delwn y cawswn yr eiddo fy hun!—gyda llôg." Wrth lefaru y geiriau hyn gyda thôn croes-ystyr, fe wedir yn hollol haeriad y gwas, ac nid hyny yn unig, ond fe ddangosir y dirmygiad o honynt yn eglurach, ac yn fwy tarawiadol i'r teimlad, nag a allai unrhyw fynegiad mewn dull uniongyrch a phendant ei wneuthur.

Fe allai fod y darllenydd yn barod i ofyn yn awr, Pa fodd y mae ad-draethu geiriau fel yr awgrymant groes-ystyr i'r glust? Hyn sydd anhawdd i'w ddesgrifio yn gywir mewn ysgrifen, am nad ellir desgrifio tôniadau llafar ar bapyr, mwy nag y gellir tôniadau cerdd. Yr unig arwyddion a ellid eu rhoddi ydynt y nôd o ryfeddod, fel y gwnaethpwyd yn yr adnod a fu dan sylw, ynghylch y gwas anfuddiol. Er hyny gallem alw sylw y darllenydd at rai enghreifftiau y mae ei glust yn ddigon cynefin â hwynt er ei fabandod; megys, "Bachgen brâf wyt ti i gael dillad glân!" gan ddynodi gyda'r llais mai nid felly yr oedd, gan y maeddodd ei ddillad glân mor fuan. Dealler nad gyda'r un tôniadau o eiddo y llais yr ad-draethir geiriau ar ol rhyw un âg y llefarir hwynt gan y neb a'i llefarai gyntaf; pe amgen, yr un ystyr fyddai i'r naill a'r llall; tra os newidir y tôniadau wrth eu had draethu, fe welir fod dyben penodol a neillduol i'r ad-draethiad, naill i edrych a ydym wedi deall y geiriau a lefarwyd wrthym, neu i'r dyben o'u troi yn ein meddyliau cyn eu hateb. Wrth holi, mae gan yr holwr dôniadau penodol i ddynodi mai gofyn cwestiwn y mae, y dysgwyliai efe gael rhyw atebiad iddo. Ond yr atebwr yn fynych a ad-draetha y gofyniad naill ai yn uchel, neu yn ei feddwl, i'r dyben iddo wybod y bydd efe yn ei iawn ddeall, ond nid yn yr un tônau â'r holwr; a mynych y clywir yr holwr yn ad-draethu yr ateb,

naill ai o syndod ato, neu am nad yw yn cael ei foddloni ynddo, neu i edrych a saif yr atebwr at ei atebiad. Mae hyn yn ddigon cyffredin mewn holi ac ateb cyhoeddus yn yr Ysgol Sabbothol. "Pwy ydyw yr hwn sydd yn cuddio cynghor heb wybodaeth? am hyny y lleferais yr hyn ni ddeallais; pethau rhŷ ryfedd i mi, y rhai nis gwyddwn," Job xlii. 3. Ymddengys ar yr olwg gyntaf fod gwall synwyr yn ffurfiad yr adnod hon; canys pa reswm yw gofyn cwestiwn, a thŷnu casgliad neu benderfyniad oddiwrth y cwestiwn ei hun? Onid ymresymu y byddys ar y cwestiwn, ac wedi hyny tŷnu y casgliad oddiwrth yr ymresymiad? Y gwall ymddangosiadol yn yr adnod hon sydd gymaint â phe dywedai rhywun, Pwy a gynneuodd y tân? am hyny hwyliais mewn llong i'r America. Ond nid gwallus a disynwyr yw ffurfiad yr adnod, gan mai ad-draethiad ydyw o'r un cwestiwn, yr hwn a ofynasai yr Arglwydd i Job, pen. xxxviii. 2, oddiar ba un y bu llawer o ymresymu gan yr Arglwydd yn ei gylch. Ac wedi yr ymresymiadau, pan ddaeth Job i'w hateb hwynt, y peth cyntaf y mae efe yn ei wneuthur ydyw, ad-draethu y cwestiwn yn ei feddwl, gan ei droi a'i chwilio, er cael allan pwy allasai hwnw fod, ac yn y diwedd mae efe yn penderfynu mai efe ei hun, Job, oedd hwnw; ac meddai, "Am hyny y lleferais yr hyn ni ddeallais, pethau rhŷ ryfedd i mi." Felly yr ydym yn cael allan mai nid gwallus a disynwyr yw ffurfiad yr adnod, ond tarawiadol a thra phrydferth.

Heblaw y geiriau a'r ymadroddion y mae yn rhaid eu darllen yn ad-draethol, am y crybwyllir hwynt ddwywaith mewn geiriau, eto, ceir rhai na chrybwyllir hwynt mewn geiriau ond unwaith, ag y byddo raid eu darllen yn ad-draethol, gan fod yr ail grybwylliad o honynt yn ddealledig i'r meddwl, megys, "Dyrchafaf fy llygaid i'r mynyddoedd, o'r fan lle y daw fy nghymhorth; fy nghymhorth a ddaw oddiwrth yr Arglwydd, yr hwn a wnaeth nefoedd a daear." Yr adnod hon a ffurfir o ddwy frawddeg syml ac uniongyrchol; ac os darllenir y rhan gyntaf a'r rhan olaf fel dau fynegiad penderfynol, fe ddadgysylltir y naill oddiwrth y llall, fel yr ymddangosant yn glogyrnaidd ac yn annaturiol, a'r naill yn llefaru yn groes i'r llall. Ar ymyl y ddalen. gofyniad yw, "A ddyrchafaf fy llygaid?" Os felly, gallem dybied mai cynghor a gafodd Dafydd gan ryw rai yw'r geiriau, ac ad-draethiad o'r rhai hyny yw y rhan gyntaf; ac os tybiwn mai yr ateb yw, *Na wnâf*, yna daw y rhan olaf i mewn yn brydferth fel mynegiad penderfynol, megys, "Dyrchafaf llygaid i mynyddoedd! o'r fan lle daw fy nghymhorth!! (na wnâf). Fy nghymorth a ddaw oddiwrth yr Arglwydd, yr hwn a wnaeth nefoedd a daear."

Mae yr Apostol Paul, yn ei areithiau a'i ysgrifeniadau, yn arfer pob dull a modd i ffurfio brawddegau; a mynych y mae efe yn defnyddio y dull ad-draethol i fynegu, i holi, ac i ateb; dull ag sydd o fantais nid bychan i'r areithiwr. "Pa ragoriaeth! gan hyny sydd i'r Iuddew? neu pa fûdd sydd o'r enwaediad? (atebiad uniongyrchol), Llawer ymhob rhyw fodd, &c." "Pa beth gan hyny a ddywedwn ni ddarfod i Abraham ein tad ni! ei gael, yn ol y cnawd?" Ai gofyn hyny yr ydych chwi yr Iuddewon? Oni chafodd efe ei gyfiawnhâu cyn iddo gael ei enwaedu? "Beth os anghredodd rhai!!" Ai gofyn hyny yr ydych? Beth am hyny? "A wna eu hanghrediniaeth hwy ffydd Duw yn ofer?" "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw?" Gofyniad uniongyrchol yw hwn o eiddo Paul, ac y mae efe yn ei ateb gyda mynegiad syml uniongyrch, gan rag-

dybied y gallasai yr ateb fod, mai Duw a roddai yn eu herbyn; "Duw!" meddai Paul, "Duw! yw yr hwn sydd yn cyfiawnhâu!!" Cyffelyb yw y cwestiwn nesaf, "Pwy yw yr hwn sydd yn damnio?" Tybiwn mai Crist yw yr ateb. "Crist!!" meddai Paul. "Crist!! yw yr hwn a fu farw!! ïe, yn hytrach yr hwn a gyfodwyd hefyd!! yr hwn hefyd sydd ar ddeheulaw Duw!! yr hwn hefyd sydd yn erfyn trosom ni!!"

Nid yn y ddau ofyniad, "Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw?" a "Phwy yw yr hwn sydd yn damnio?" y gorweddai yr anhawsdra o ddarllen y ddwy adnod hyn yn brïodol; ond yn y rhan olaf, canys yn ol y ffurfiad gramadegol o honynt, nid oes un cysylltiad yn ymddangos rhwng y cyntaf â'r olaf, tra y *mae* cysylltiad anwahanol, os edrychir arnynt yn y teimlad sydd gan Paul, sef gofyniad syml, yn y rhan gyntaf a'r olaf yn ad draethiad cyffröus, mai *nid* Duw a rydd ddim yn erbyn ei etholedigion, ac nid Crist sydd yn damnio. Oni ddarllenir hwynt gyda thôniadau a llais fel y dangoser bywiogrwydd meddwl a theimlad Paul, anmhosibl yw dangos grymusder nerth ei ymresymiadau, na pharydferthwch a thlysni y diweddglo anghymharol â pha un y mae efe yn dirwyn i fyny y bennod hon, Rhuf. viii.

R. H. W.

---

# Y DEIGRYN.

I HALLT ddwfr hollt y ddwyfron,—yr eiliaf
Ryw hwyliog englynion;
Yn hawdd y cynghaneddion
Ddaw efo 'r hwyl ddifyr hon.

Eneiniol ddafn y wyneb,—sy' addurn
I ansoddau dyndeb;
Dystaw arwyddol dysteb
O uchel urdd, ar foch wleb.

I anifail, dan ofid,—neu fwynhâd,
Ef yn urdd ni roddid;
Gwiw undeb *bri* a *gwendid*
Dyn, a brawf y ddyfr-dòn brid.

Pe d'wedai neb bod adyn—yn rhywle
Na fedr ŵylo deigryn,
Fe wadem, yn hyf, wed'yn,
Hawl hwnw i ddal enw o *ddyn*.

Adlun o ddyn—delw nâdd yw—ar ei ffurf,—
Corff o oerfel ydyw;
Nôd anwylradd dynolryw
Sy' ar ol yn ei groes ryw.

Hyawdledd, yn nyhidliad—y deigryn,
Ddywed awgrym teimlad;
O hanes y fynwes fâd,
Hyd y rudd, cawn adroddiad.

O gyni llwythog enaid,—ei ddwyster
Ddaw 'n ddystaw i'r llygaid;
Poenau y fron, pan f'o raid,
Achwyna *brawd ochenaid.*

Ffrydiad y teimlad, fel tòn,—i'r wyneb
Deifl gyfrinach calon;
E fudir ffwrdd ofidion,
Trwy ddwfr hallt, o wraidd y fron.

A'i leithedd mae 'n dadlwytho—baich enaid,
Heb achwynawl drystio;
Llawer ing mewn llwyr ango',
Foddir yn ei lifddŵr o.

Ar lanw gorlawenydd,—y daw 'r dŵr,
Fel gwlaw drwy dês hafddydd;
Nwyf enaid yn afonydd
Tan fy ael yn tòni fydd.

Nid gwas gofidiau i gyd,—yw, i ddwyn
Baich prudd aeth ac adfyd;
Na, ymlifa 'n aml hefyd,
Ei neint bach gan fwyniant byd.

Ei burdeb sy 'n ddïarebawl,—ond rhydd
Emrynt rhai ddeigr ffugiawl;
Du arwyddion diraddiawl,
Yw rhith deigr, o waith y diawl.

Dyferyn edifeirwch,—o bu bai
I bawb oll sy 'n harddwch;
Trwy hoff lif ei natur fflwch,
Onid hawdd yw gwneyd heddwch?

Ei wel'd sy 'n crëu anwyldeb,—tŷn arwydd
Tynerwch i'w ateb;
Annynol iawn y wyneb
A hir ddeil ŵg at rudd wleb.

Du euogrwydd mewn deigryn,—a dodda,
Daw heddwch i ddilyn;
Tawdd-feiriol hallt ddyferyn,
Brawf wellhâd, drwy 'r llygad llŷn.

'Hêd angel i gostrelu,—y dŵr rêd,
Ar hŷd rudd am bechu;
I'r ne' cwyd y deigryn cu,
Yn rhyw lwys berl i Iesu.

Yn myd alaeth, i'm dilyn,—diwamal
Gydymaith yw 'r deigryn;
Afreidiol ei ddwfr wed'yn,
Ni cheir ef ond yr ochr hyn.

Na, i'r dieifl, a'r haid aflan,—wna ddilyn
Hen ffyrdd halog Satan,
Rhaid ŵylo deigr hidl o dân,
Yn nhud tranc, gan ddaint-rincian.

Ond i'r nef, drwy hen afon,—ddu angeu
Ni thraidd ing i'r Cristion,
I ofyn deigr,—y ddofn dòn
Ludd wylaw i dduwiolion.

---

# NODIADAU LLENYDDOL.

*Dyn: ei Grëadigaeth, ei Ddirywiad, a'i Adferiad yn y Dyn Crist Iesu.* Gan y Parch. DAVID JONES, Treborth. Wrexham: Hughes a'i Fab.

YR oedd yn ein bryd alw sylw ein darllenwyr er ys cryn amser bellach at y gwaith hwn; ond cyn i ni allu rhoddi ein bwriad mewn gweithrediad, dyma ei awdwr hybarch ac anwyl wedi ei alw oddiwrth ei lafur! Yn ein rhifyn diweddaf yr oeddem yn cwyno gan y rhwygiadau yr oedd marwolaeth wedi wneuthur yn ddiweddar yn rhengau dynion gwerthfawr Cymru; ac yn fuan wed'yn, dyma y Parch. DAVID JONES hefyd yn cael ei gymeryd ymaith. Y cymylau yn dychwelyd ar ol y gwlaw! Mae y marwolaethau mawrion a mynych sydd wedi cymeryd lle yn ein plith y misoedd diweddaf yma yn peri i ni deimlo rywfodd fel pe byddem yn preswylio yn ngwlad y daeargryn, na wyddom pa drychineb newydd y gall amrantiad ddwyn ei hanes i ni. Mae y rhai cyfiawn yn cael eu cymeryd ymaith yn sicr, a llawer o honynt yn rhai y teimlid anhawsder i feddwl pa fodd y gallai yr achos mawr fyned rhagddo hebddynt; ac y mae hyny yn ddiammheu yn galw ar Gristionogion Cymru i feddylgarwch difrifol, ac i daerineb mawr mewn gweddïau ar i'w Brenin Crist aros gyda hwynt, a gwneyd i fyny eu colledion.

Yr oedd Mr. David Jones yn un o'r rhai a fedyddiwyd i wasanaeth Duw yn y diwygiad mawr a gymerodd le ar grefydd yn Nolyddelen. Fel amryw o'i gymdeithion, yr oedd yn gwbl naturiol i ŵr ieuanc o'i yni a'i ffrwythlonrwydd meddwl ef, pan wedi ei drwytho i'r fath raddau gan ysbryd crefydd, awyddu am fyned allan i rybuddio eraill i ffoi o afael y perygl, ac i ddianc i'r diogelwch y llawenychai ei enaid ef ei hun gymaint wrth ymorphwys ynddo. Credai, ac am hyny llefarai. Fe gofir gan lawer am ei Gynghor yn yr ordeiniad a gymerodd le yn Llangefni, yn 1857, pan y galwai ar y gweinidogion a neillduid i edrych ar fod y pelenau a daflent i blith gelynion y Brenin yn "*chwîl boeth.*" Diammheu fod hyny yn llawer o guddiad cryfder i'w weinidogaeth ef ar hyd ei oes, ei fod wedi ei alw iddi dan y fath deimladau effro, ac yn pregethu i eraill yr efengyl a brofasai mewn modd mor neillduol yn efengyl ei iachawdwriaeth ef ei hun. Y mae ambell ddiwygiad yn yr eglwys yn ateb dyben annhraethol werthfawr pe na byddai ond am yr achles a ddyry i ysbryd y weinidogaeth. Ymddengys fod y Parch. JOHN JONES, ei frawd enwog o Dalysarn, wedi dechreu pregethu beth amser o'i flaen. Yr ydym yn cofio am hanesyn a glywsom unwaith gan Mr. David Jones am ei bregeth gyntaf, sydd yn hynod o nodweddiadol am y brodyr, ac yn dangos y sirioldeb iachus oedd yn eu hysbryd er holl ddifrifwch eu teimladau crefyddol. Yr oedd David i bregethu un Sabbath; ond yr oedd John i bregethu ryw noswaith yn yr wythnos flaenorol mewn tŷ annedd; ac wrth fyned tuag yno, holai ei frawd beth oedd ganddo ar ei feddwl fel pregeth erbyn y Sabbath. Gan faint ei bryder a'i ofn, yr oedd yn dda iawn ganddo yntau gael cyfle i ddyweyd y cwbl wrth ei frawd, ac i ofyn ei farn a'i gynghor. Fe allai fod Mr. John Jones yn ei weled braidd yn rhy bryderus, ac yn teimlo y gallai ymdaflu yn fwy rhydd ar ei adnoddau; pa fodd bynag, wedi i David ddechreu yr oedfa, er ei ddychryn, beth a ddarllenodd ei frawd fel testun ond ei adnod ef; ac nid yn unig fe ddygodd ei destun, ond fe bregethodd yr holl bregeth ymron air yn air fel yr oedd efe ei hun wedi meddwl am wneyd y Sabbath! Brodyr hynod oedd y rhai hyn. Cariadus ac anwyl iawn fuont yn eu bywyd, ac yn awr y maent ill dau yn cydorphwyso. Faint ydyw dyled Cymru iddynt! Yr oedd eu rhagoriaethau y fath ag oedd yn dyfod ar unwaith ac yn gwbl yn fendith i'w cenedl. Faint bynag o nerth, gwreiddiolder meddwl, barddoniaeth, a hyawdledd, oedd ganddynt, yr oedd y cyfan, yn angerdd eu teimlad dros eu gwrandäwyr, a'u zêl dros Grist a'i waith, yn cael ei droi yn rym i yru y bobl o'u peryglon, ac i'w "cydgâu i Grist." Yr oedd llawer o debygolrwydd rhyngddynt. Yr oedd y ffaith eu bod yn frodyr, yn caru eu gilydd yn fawr, ac wedi cymdeithasu llawer o'r dechreuad â'u gilydd, wedi eu deffro yn ysbrydol a meddyliol tua'r un amser, a than gyffelyb amgylchiadau, ac o hyny ymlaen wedi bod yn agored i'r un dylanwadau, ac yn astudio yr un llyfrau, yn ddigon i roddi cyfrif am y tebygolrwydd oedd rhyngddynt. Ond yr oedd y gwahaniaeth rhyngddynt yn llawer hynotach na'r tebygolrwydd, ac yn dangos mewn modd neillduol, er mewn amgylchiadau y gellid dysgwyl iddynt gynnyrchu unffurfiaeth, yr arbenigrwydd y mae y Creawdwr yn osod yn mhersonoliaeth dynion. Y mae yn dangos hefyd gyda'r fath ddewrder a naturiolrwydd yr ymollyngodd y ddau i ogwyddiadau cynhenid eu meddwl, heb gymeryd eu dyrysu na'u camarwain gan ddim y tuallan iddynt. Yr oedd hyny yn hynod iawn yn y ddau; eu gallu i fentro. Yr ydym yn cofio clywed Mr. David Jones er ys llawer blwyddyn, yn adrodd am y diweddar Mr. Lloyd o Gaernarfon yn gofyn iddo rywbryd, "A fyddwch chwi yn mentro dyweyd rhywbeth wrth bregethu na fyddoch wedi ei weled yn ngwaith rhai o'r duwinyddion?" "Dyn anwyl, byddaf, Mr. Lloyd," oedd yr ateb, "yn dyweyd y naill hanner a chwaneg, heb weled dim o'r fath yn ngwaith neb." "Rhyfedd iawn," ebe yr hen foneddwr diniwed, "ni chymerwn i lawer a dyweyd dim heb i mi ei weled yn ngwaith rhai o'r Tadau." A'r canlyniad ydoedd, fod Mr. Lloyd, druan, yn mordwyo yn ofnus a phryderus gyda'r glànau, a phob mynyd fel pe buasai yn gofyn i'r byd ei esgusodi am wneyd cymaint â hyny; tra yr oedd ei gyfaill

llai dysgedig, ond mwy galluog, yn anturio i'r cefnfor, yn wynebu yr ystorm, ac yn marchogaeth y weilgi gyda chysur a diogelwch. Cofied ein hefrydwyr mai holl werth eu dysg yw y feithriniaeth a ddyry i'w meddylgarwch. Fe ddarfu i'r brodyr o Ddolyddelen, heb ond ychydig iawn o fanteision y tu allan, trwy ymroddi i lafur mawr, a "dilyn natur," lwyddo yn neillduol i ddadblygu eu hadnoddau, ac wrth wneyd hyny, i beidio anmharu mewn un modd neillduolion eu personoliaeth.

Fe allai nad mor hawdd ydyw rhoddi drychfeddwl i lawer o'n darllenwyr, y rhai y mae eu gwybodaeth am Mr. John Jones yn enwedig, erbyn hyn, yn dra diffygiol, beth oedd *differentia*, neu nôdau gwahaniaeth, y brodyr hyn.* I ddechreu, pa fodd bynag, gallwn ddyweyd fod eu presennoldeb corfforol yn dra gwahanol. Anaml y gellid cyfarfod â dau ŵr o bresennoldeb naturiol mwy godidog; yr oedd yr olwg arnynt, i bob un sylwgar, yn deffro edmygedd a charedigrwydd. Fe deimlid ar unwaith fod y dynion yna o ran nerth, doethineb, a daioni, yn rhai na fyddai yn sarhâd ar unrhyw ddyn dalu gwarogaeth iddynt. Os oedd rhyw wahaniaeth neillduol rhyngddynt yn hyn, fe allai y gallem ddyweyd fod Mr. John Jones yn fwy dysyml, ac y buasai braidd yn haws iddo ddianc heb dynu sylw neillduol yr edrychydd. Nid ydym ni yn cofio gweled cymaint â "ffunen wèn" am ei wddf ef erioed, ac ni fuasai yn anhawdd i lawer ei gamgymeryd am amaethwr parchus, er fe allai y buasai hyd yn nôd rhai go ddifeddwl yn ymddyrysu peth wrth sylwi ar sefydlogrwydd ei edrychiad, a'r arwyddion eraill o weithrediad y meddwl ar y pell a'r mawr, nad ydyw mwyafrif amaethwyr Cymru yn gwybod nemawr am gael eu blino ganddynt. Am Mr. David Jones, o'r ochr arall, yr oedd efe yn arfer bod yn fwy trwsiadus, a buasai ar unwaith yn gwneyd argraff ffafriol iawn ar feddwl unrhyw sylwedydd. Byddai ei ddillad bob amser yn dda ac yn drefnus; ni phetrusai adael i'r byd ei adnabod fel gweinidog yr efengyl; ac yr oedd yr aurddrychau a wisgai, o herwydd byrder ei olwg, yn ychwanegu yn fawr at urddas ei ymddangosiad. Fe allai fod ei ymsefydliad mewn tref fel Caernarfon â chanddo rywbeth i'w wneyd mewn dwyn oddiamgylch y rhagoriaeth yma ynddo ef mewn trwsiadusrwydd. Yr ydym yn cofio clywed am hen gyfaill ffyddlawn iddo, yr hen Gymro gwreiddiol gan Robert Rolant, Llanberis,—

A marw ar ol eu gilydd y mae 'r hen Gymry glân!—

yn ofni rywbryd y gallai fod peth tebyg wedi dwyn ymaith beth o fin ei bregethau. Wedi oedfa y gofidiai yr hen gyfaill na fuasai yn fwy gafaelgar, gofynai, "Dafydd, wyddost ti amcan lle mae yr hen siaced frethyn cartre' oedd gen' ti am danat pan ddaethost ti yma i bregethu y tro cyntaf?" "Na wn i, Robert Rolant, pam yr ydach chi yn gofyn y fath gwestiwn i mi?" "Dim byd, Dafydd," meddai yntau, "ond y buasai yn dda gen i i ti chwilio yn ei phoced, i edrych fuasai yr hen bregeth ddim ynddi." Pa fodd bynag, ni ryfeddem nad oedd y dillynder y soniwn am dano yn ymddangosiad Mr. David Jones yn codi yn uniongyrchol o'r lledneisrwydd chwaeth, a'r cydymdeimlad dwfn â'r prydferth ag oedd yn nodweddu ei holl natur. Ac yr ydym ymron yn meddwl fod hyn yn rhoddi awgrym led ffrwythlawn i ni gyda golwg ar y gwahaniaeth dyfnach oedd rhwng meddwl y ddau frawd. Am nerth, dyfnder, arddunedd, a gallu areithyddol, y brawd hynaf oedd y mwyaf enwog. Am dynerwch, tlysni, ffrwythlonrwydd, a chwareusrwydd darfelydd, mae yn debyg mai David oedd yn rhagori. A thra yr ydym yn enwi y pethau uchod fel yn hynodi y naill ar wahân oddiwrth y llall, nid ydym yn anghofio fod gan y naill lawer o'r hyn ag oedd yn arbenig i'r llall. Yr oedd gan John gydymdeimlad dwfn â'r prydferth; dangosai yn fynych y gallai gyda medr neillduol weithio ei ffordd at holl deimladau y fynwes, a chwareu arnynt y miwsig a ewyllysiai; ac am farddon-

*Yr ydym yn cofio fod brawd arall yn weinidog ffyddlawn yn America, y Parch. W. Jones. Ond y mae efe eto yn fyw, a hyderwn yr arbedir ef am flynyddoedd lawer.

iaeth, fe deimlid weithiau ei fod mewn ambell bregeth yn gwastraffu digon o farddoniaeth i wneyd ffortun lliaws o Awdlau Cadeiriol. Yr un modd am David, byddai yntau yn fynych yn dangos manylrwydd, craffder, ymgyrhaeddiad, addfedrwydd barn, a dyfnder tawel o ddoethineb, fel pe na buasai y fath beth âg awen erioed wedi ei chynneu o'i fewn. Ar yr un pryd, yr oedd cartref meddwl y ddau yn eu tiriogaethau priodol eu hunain. Fe allai fod yn rhyfygus i ni fyned i gymharu y ddau frawd, a'u cydbwyso; ond ymddengys i ni mai Mr. John Jones oedd y mwyaf o gryn lawer. Ac felly, yn wir, yr oedd teimlad cyffredin y wlad yn penderfynu y pwnc yma yn eu dydd. "Mi glywais amryw yn dyweyd," meddai blaenor parchus wrthym yn ddiweddar, "fod David yn pregethu cystal â John; ond ni chlywais neb erioed yn dyweyd fod John yn pregethu cystal â David." Y mae yr ansoddion oedd yn amlwg yn Mr. John Jones yn fwy na'r rhai oedd yn hynodi ei frawd; a phan wedi eu gosod ynghyd yn y fath gymesuredd prydferth, a'u cyfuno i'r fath raddau â doniau poblogaidd, a'u sancteiddio âg ysbryd crefydd, yr oedd yn anmhosibl iddynt beidio ei ddyrchafu ef i fawredd a barai i genedl deimlo oddiwrtho. Yr oedd hynodion Mr. David Jones, o'r ochr arall, yn ei wneuthur yn anwyl a dymunol iawn. Ni fyddai, fel ei frawd, yn ein "dychrynu" yn gymaint â'i "ardderchogrwydd." Ni chymerai ymaith ein hanadl gyda rhuthr ei gorwyntoedd, nac â thanbeidrwydd ei fellt. Ac o'r ochr arall, nid ymdaflai gyda'r fath ymollyngdod i'r teimladau hwyliog. Ond gyda mater da, wedi ei dynu allan yn y modd mwyaf naturiol o'r rhan o'r gwirionedd fyddai ganddo dan sylw, gydag esboniadaeth addfed, glir, fe ymaflai ynom megys drwy nerth rhyw swyn hyfryd, a daliai ni yn garcharorion wrth ei ewyllys. Y fath olyniad o syniadau prydferth; y fath gyfoeth dihysbydd o ddrychfeddyliau; y fath hoender, a natur dda, a rhadlonedd; ac yn y cwbl, fel y byddai yn peri i'w wrandawyr lawenychu yn ngoleuni y gwirionedd, neu yn cyfiwrdd â ffynnonell eu teimladau, nes y byddai y dagrau yn byrlymu, neu y wynebpryd yn ddysglaer gan wênau, ac weithiau y naill a'r llall ar yr un pryd,—

**Sorrow smiling through her tears,—**

nes, wedi cyraedd rhyw fynyd, y dygwyddai iddo feddwl am derfynu, pan y gadawai ei wrandäwyr,—fel y ddaear sychedig yn agor ei genau am y gwlaw, a phan yn ei dderbyn yn ddefnynau mawrion yn hiraethu am dano mewn cyflawnder mwy,—i ofidio na fuasai wedi parhâu ychydig yn chwaneg, pan, yn ol pob tebygolrwydd, y buasai hyny yn haws iddo na pheidio. Yr oedd yn ŵr doeth iawn, ac fe fu ei synwyr da, a'i farn addfed, yn enwedig gyda'r cyfoeth o radlonedd a charedigrwydd ag oedd ganddo, o ddirfawr wasanaeth i'r achos mawr y cysegrodd ei fywyd iddo. Ac yn hyn yr ydoedd yn rhyfedd am y ddau frawd. Fe dybir yn gyffredin fod beirdd yn hynod am eu hanymarferolrwydd, ac nad yw yn rhesymol dysgwyl iddynt hwy, sydd yn ymheulo cymaint ar Barnaswa, ac yn ymborthi cymaint ar ambrosia y duwiau anfarwol, ddyfod i lawr i ymgymysgu â'r helyntion cyffredin sydd yn ofal gan y lliaws o ddynolryw. Ac eto, yma, John Jones, y pregethwr, oedd y mwyaf absennol, a'r mwyaf ymgolledig yn ngweithrediadau ei feddwl; tra yr oedd David Jones, y bardd, yn ŵr o fusnes, yn *man of affairs*, yn gwybod yn gystal â neb pa fodd i ofalu am ei bethau, ac yn holl wasanaeth yr eglwysi yn gwbl lygadog i weled i'w holl helynt, a than ba amgylchiadau bynag y byddent yn appelio ato, yn dangos doethineb anghymharol wrth eu cyfarwyddo. Nid ydym yn gwybod a ydym yn gywir yn ein dyfaliadau; ond yr ydym ni wedi bod yn meddwl fod astudio i John Jones yn orchwyl mwy a chaletach, yn orchwyl ag oedd yn ei dynu ef ei hunan iddo yn fwy llwyr, nag ydoedd i David. Yr oedd ei fanteision yn llai, nid oedd yn gallu gwneyd ond ychydig o'r Saesoneg, ac yr ydoedd o angenrheidrwydd yn gorfod ymdaflu yn fwy ar ei adnoddau ei hunan. Yr oedd ei bregethau mawrion hefyd, er hynoted y nerth a ddangosent, ac er dysgleiried gwreichionïadau ei athrylith ynddynt, yn dwyn i'n meddwl ni y syniad o barotôad mwy ymroddgar a llafurfawr nag eiddo Mr. David Jones.

Yr oedd hyd yn nôd ffrwythlonrwydd meddwl yr olaf yn radd o wendid iddo. Parai i ni deimlo nad oedd meddwl iddo yn nemawr o drafferth, ac ar afcn ei feddwl fod y prydferthion a hynodent ei breg·thau yn codi fel *ripples* ymron o honynt eu hunain; yr oedd y dwfr mor lawn o ysbryd y peth byw mewn prydferthwch a thynerwch, fel na wyddid pa amrantiad y byddai yn ymdori i ryw ffurf neu gilydd o dlysni a dymunoldeb. Cwynai Ben Jonson am Shakspeare na fuasai wedi *blotio* ychwaneg. Y mae, yn sicr, yn demtasiwn i feddyliau ffrwythlawn iawn ymollwng i'r mwynhâd o gynnyrchu, a hyny o herwydd yr hyfrydwch uchel a deimlant mewn cynnyrchu, ond heb ofalu yn gymaint am fŷnu eu meddwl i'r ystâd y cynnyrcha ei oreu, ac heb ymroddi i'r caledwaith diddiolch o berffeithio. Gallem feddwl fod hyny yn demtasiwn i Mr. David Jones. Pa fodd bynag, fe deimlid gydag ef, rywfodd, fel pe buasai yn alluog i wneyd pethau mwy na'r pethau mwyaf a wnaeth erioed. Yr oedd ganddo gyflawnder o nerth yn nghadw. Ac er y teimlid am ei frawd enwog na fyddid byth yn cael drychfeddwl am derfynau ei adnoddau, eto, fe deimlid fod rhai o'i bregethau, yn neillduol, wedi tŷnu cymaint o'i hanfod iddynt, ac yn gydgrynhöad o'r fath ragoriaethau uchel, fel nad ellid dymuno, a phrin y gellid meddwl am ddim a allasai fod yn fwy gogoneddus.

Ond fel bardd y mae Mr. Jones yn ymddangos yn y gyfrol hon. Yr oedd efe yn fardd rhagorol iawn. Mae yn wir nad ymostyngodd i'r rhodres o wisgo ffugenw, na chafodd ei urddo wrth fraint a defawd beirdd Ynys Prydain, na adawodd i'w berson hybarch erioed ymddangos ar esgynlawr yr Eisteddfod Genedlaethol, ac nad ymgeisiodd am wobrwyon. Er hyny, yr oedd yn fardd ag y bydd yn werth i'w genedl fod yn falch o hono am amser maith. Fe gyfansoddodd amryw englynion da iawn, llawn o ysbryd, naturiolrwydd, a phwynt, ac wedi eu cynghaneddu mor berffaith a phe na buasai wedi gwneyd dim yn ei fywyd ond astudio saernïaeth englynion. Mae ei feistrolaeth lwyr ar y mesurau caethion eraill hefyd i'w weled yn amlwg yn ei Awdl ragorol ar y Sarph Brês, a ymddangosodd yn ein tu dalenau ychydig flynyddoedd yn ôl. Ond y penillion ar Aberth Crist a gyhoeddwyd yn ein rhifyn cyntaf a'i dygodd i enwogrwydd mawr fel bardd. Wedi y cwbl nid yw y cyfansoddiadau goreu yn y mesurau caethion ond cyfansoddiadau i gylch bychan o ddarllenwyr; nid yw yn bosibl i neb eu mwynhâu heb ddeall rhywbeth am gyfansoddiad y mesurau. Ac fel y mae yr anffawd yn bod, ymddengys fod y rhan fwyaf o'n beirdd yn llafurio dan y camgymeriad nad oes angen am un ymdrech oll gyda golwg ar fydryddiaeth, oddieithr yn y mesurau caethion. Mae eu caniadau rhyddion mor annhraethol salw fel y mae yn flinder dybryd i neb geisio eu darllen. Ac eto mewn mesurau rhyddion yn unig y mae yn bosibl i farddoniaeth gyraedd y genedl; ac os na chenir i'r genedl, nid ydyw o nemawr bwrpas cânu oll. Byddai yn dda genym weled ein beirdd ieuainc yn mŷnu ymryddhâu yn fwy oddiwrth "eilunod y llwyth," rhagfarnau eu dosbarth, ac yn ymgais at gyfansoddiadau o'r fath naturioldeb, nerth, a gorphenrwydd, fel y byddont ar unwaith yn ennill calon y wlad, ac yn ei chadw. Fe wnaeth Mr. Jones hyny yn y penillion y cyfeiriwn atynt. Ni chlywsom am neb erioed yn methu eu deall, neu yn dadleu fod eu hanallu i werthfawrogi barddoniaeth yn rhwystro iddynt eu mwynhâu. Fe'u darllenwyd gan lawer yn y TRAETHODYDD, a chan lawer eraill, pan argraffwyd hwynt, gydag ychwanegiadau, ar wahân; ac y mae yn ammheus genym a oes rhywbeth o fewn cylch barddoniaeth Gymrieg a ddarllenwyd gyda dyfnach mwynhâd. Wedi hyny fe gyhoeddodd ei waith ar y Mab Afradlon, testun ag oedd yn rhyfeddol o gydnaws i feddwl fel yr eiddo ef. Nid ydym ni wedi dygwydd gweled y llyfr hwnw er ys llawer dydd, ond y mae yn hawdd i ni gofio am yr argraff a adawodd ar ein meddwl pan ddarllenasom ef, canys nid ydym yn gwybod am un llyfr Cymraeg a effeithiodd arnom yn fwy dwys. Dylai fod yn llawer iawn mwy adnabyddus; ac o'i gael felly mae yn ddiammheu y byddai gan filoedd o'n pobl ieuainc, yn neillduol, achos i fod yn ddiolchgar byth am iddynt glywed sôn am dano. Y gwaith nesaf o ddim pwys a gafwyd oddiwrtho ydoedd y

llyfr hwn, "Dyn: ei Grëadigaeth, ei Ddirywiad, a'i Adferiad yn y Dyn Crist Iesu."

Ac nid mor hawdd ydyw gwybod beth i'w ddyweyd am dano. Buasai yn dda genym ei ddadgan fel campwaith awenyddol ag y teimlasem yn foddlawn i'w gyflwyno i'r oesau a ddêl fel enghraifft dêg o'r cyfoeth, y nerth, a'r tân, oedd yn awen Mr. David Jones. Ond nid ydym yn ei gael felly. Buasem yn dysgwyl cael barddoniaeth y pregethau yma fel wedi ei gogoneddu. Yn lle hyny, er fod ffurf y llyfr yn farddonol, y mae mewn gwirionedd yn llawer mwy noeth, a diaddurn, ac anfarddonol, na'r pregethau. Nid ydym yn cofio i ni feddwl mwy wrth ddarllen unrhyw lyfr am air Mr. Carlyle, "If you have got any thing to say, say it, and do not lose your time in trying to sing it." Clywsom i Mr. Jones draddodi cyfres o bregethau yn y blynyddoedd diweddaf ar Ddyn, yn y rhai mae yn dra thebyg yr ymdriniai â llawer o'r materion a geir yn y gwaith hwn. Anhawdd genym feddwl na fuasem ar ein hennill pe cawsem y pregethau hyny fel y traddodwyd hwynt, yn lle yr hyn a gawn yn y llyfr. Credwn y buasent yn fwy cyfoethog mewn awenyddiaeth, heblaw y buasai rhyddiaith yn llawer mwy cyfaddas i drin llawer o'r materion a ddygir dan sylw trwy gorff y gwaith. Ai tybed mai meddwl am brydyddu ei bregethau a wnaeth? Os felly, yr oedd hyny ynddo ei hun yn ddechreuad tra anffodus i waith barddonol. Mor wahanol i ennyniad y drychfeddwl am y Gân ar Aberth Crist yn ei ysbryd, sef edrych ar fynyddoedd Eryri ryw fore Llun wrth ddychwelyd o'i gyhoeddiad, a gwynfydu na fuasai yn bosibl iddynt, gyda theimlad a llais cyfatebol i'w mawredd, ymuno mewn cân o fawl i Geidwad pechadur! Mae y drychfeddwl wedi ei gorffori yn y gân:

Agorer geneuau yn llawn
 I'r oll o'r mynyddoedd fel saint,
Rhoer iddynt synwyrau a dawn,
 A lleisiau atebol i'w maint:
Yr Andes i gychwyn y gân,
 Cydodlant trwy'r ddaear yn llawn,
Y cyfan â'u nerthoedd yn dân
 I ddadgan rhinweddau yr Iawn.

Yr oedd cyffyrddiad o'r fath yn ddigon i godi dyn i ansawdd meddwl a fuasai yn bywioli unrhyw gyfansoddiad. Ond ymddengys rywfodd fel pe na buasai, yn awenyddol, wedi ei ddeffro o gwbl ymron gyda'r gwaith yma. Ac wrth ddywedyd hyn, yr ydym ymhell o awgrymu fod y gwaith yn amddifad o ragoriaethau. Buasai yn anmhosibl i ŵr fel efe ysgrifenu cymaint ar y fath fater heb ysgrifenu llawer o bethau da, a da iawn. Yr unig siomedigaeth a deimlem ni yn y llyfr yma, oedd ei fod yn gwneyd cam âg enwogrwydd barddonol ei awdwr. Y mae ynddo lawer o dduwinyddiaeth feddylgar ac iachus, llawer o athroniaeth, cryn lawer o hanesyddiaeth, a theimlad crefyddol dwfn yn rhedeg trwy y cyfan. Ond ymddengys fod tân yr awen, yn lle bod yn ddigon angherddol i gyd-dymheru yr holl bethau hyn, a'u hysbrydoli i farddoniaeth, yn llosgi mor egwan yn ei galon fel yr ymfoddlonai yn unig ymron ar osod ei syniadau allan yn y ffurf o bennillion.

Ymddengys fod rhyw "gyfaill galluog," ar ol gwrando darllen rhan o'r Gân, wedi dyweyd wrth Mr. Jones y gellid barnu ei fod yn bur gydnabyddus â Choll Gwynfa Milton. "Rhyfeddodd," meddai, "pan ddywedais na ddarllenais erioed mo 'Goll Gwynfa,' nac un ran o waith Milton, hyd nes llwyr orphenais y Gân hon. Ac wrth fy annog i argraffu fy Nghân, cymhellai fi i wneuthur yn hysbys fy hollol ddyeithrwch i waith Milton, rhag i neb feddwl fod corach yn ceisio efelychu gwir gawr, gan ladrata oddiarno ffrwyth ei gryfder." Yr ydym ninnau yn rhyfeddu na fuasai wedi darllen Coll Gwynfa yn gynt. Gallesid yn rhesymol ddysgwyl na fuasai un ag oedd mor hynod awyddus am ddarllen pethau da, byth yn gadael Milton o'r neilldu, ac yn neillduol na fuasai yn esgeuluso ymgydnabyddu â Choll Gwynfa. Ond yr

oedd ei ddarllen ef yn cael ei gyfyngu yn fawr i dduwinyddiaeth ac efrydiau Biblaidd, a byr, dybygem, oedd ei gydnabyddiaeth â llênyddiaeth a barddoniaeth Saesoneg yn gyffredinol. A thra yr ydym felly i raddau yn cydryfeddu â'r cyfaill galluog hwnw—nid oes genym ar lawr daear yr un drychfeddwl pwy a allai fod—am nad oedd Mr. Jones wedi darllen Milton, yr ydym yn rhyfeddu yn fwy at y cyfaill galluog hwnw ei hunan, am iddo allu darganfod un math o debygolrwydd rhwng Cân Mr. David Jones a Chân Milton, a llawer mwy, tebygolrwydd i'r fath raddau ag a barai iddo gynghori Mr. Jones i wneyd yn hysbys wrth gyhoeddi ei waith nad ydoedd wedi darllen Milton cyn ei orphen, ac felly i amddiffyn ei hun ymlaen llaw rhag y cyhuddiad o lênladrad. O bawb, Milton yw yr olaf y meddyliai neb sydd yn gwybod rhywbeth am y ddau ddyn, am gymharu Mr. David Jones âg ef, a hyny o herwydd y gwahaniaeth hanfodol yn eu meddwl, eu teimlad, a'u harddull. Am debygolrwydd rhyngddynt, neu rhwng Cân y naill â Chân y llall, yr ydym yn addef ein bod ni ymhell o fod yn ddigon "galluog" i fedru ei ddarganfod. Mae yn wir fod yma gynnadledd fach led ddiniwed yn cael ei galw gan Satan yn nechre Llyfr II. gan Mr. David Jones, i'r dyben o geisio niweidio y saint; a chynnadledd arall yn Llyfr IV. yn cael ei chynnal gan yr angelion glân. Ond a oedd yn anhebgorol cael Milton i beri i Gymro oedd yn darllen ei Fibl, ac yn gwybod am ystrywiau "pyrth" uffern, ac hefyd am y dyddordeb dwfn a deimla yr angelion glân, sydd yn chwennychu edrych ar bethau mawrion yr iachawdwriaeth ac yn ymhyfrydu mewn gweini ar y saint, yn llwyddiant teyrnas Dduw ar y ddaear,—a oedd yn anhebgorol, meddwn, cael Milton i awgrymu i Mr. Jones y gallai fod y naill ddosbarth a'r llall yn cynnadleddu gyda golwg ar ddyn a'i dynged? Mae ganddo ymddyddanion rhwng Adda ac Efa hefyd; ond nid oes mwy o wahaniaeth rhwng ffurfafen Cymru, pan mae y sêr ymron yn rhy glafaidd i belydru oll, a ffurfafen ogoneddus y Dwyrain, pan mae sêr y nef yn cydlewyrchu yn eu holl ogoniant, nag sydd rhwng ymddyddanion ein rhïeni gan Mr. David Jones a chan Milton. Ond a oedd rhywbeth mor Filtonaidd yn y syniad fod ein rhïeni yn ymddyddan oll yn Eden, fel nad allai bardd Cymreig wneyd defnydd o hóno heb ei osod ei hun yn agored i'r cyhuddiad o lênladrad? Fe allai fod y gŵr da y cyfeiriwn ato yn meddwl am yr hyn a ddywedir gan y ddau a fu yn achlysur i ennyn y teimlad o wrthryfel yn Satan, pan yn y nef. Dywed Milton i'r Tad gyhoeddi rywbryd yn y nef, (nid yw I. D. Ffraid wrth law genym, ac y mae Pughe yn annealladwy),—

> Hear, all ye Angels, progeny of light,
> Thrones, dominations, princedoms, virtues, powers,
> Hear my decree, which unrevoked shall stand:
> This day have I begot whom I declare
> My only Son, and on this holy hill
> Him have anointed, whom ye now behold
> At my right hand; your Head I him appoint;
> And by myself have sworn, to him shall bow
> All knees in Heaven, and shall confess him Lord;
> Under his great vice-gerent reign abide
> United, as one individual soul,
> For ever happy: him who disobeys,
> Me disobeys, breaks union, and that day,
> Cast out from God and blessed vision, falls
> Into utter darkness, deep ingulfed, his place
> Ordain'd, without redemption, without end.

Ac mae y cyhoeddiad hwn yn cyffrôi balchder ac eiddigedd Satan, nes y mae o'r diwedd yn gwrthryfela, ac yn llusgo eraill gydag ef i'r wrthryfel. Mae yn wir fod y dyfyniad uchod yn llawn ymadroddion Ysgrythyrol, ond wedi y cwbl y mae yn cael ei adael yn rhyfeddol o benagored, ac y mae llawer, o herwydd hyny, ynghyda rhai awgrymiadau eraill yn nghyfansoddiad-

au Milton, yn ei gyhuddo o goleddu golygiadau Ariaidd mewn perthynas i Berson Crist. Yn awr nid yw y syniad, mai rhywbeth cysylltiedig â'r gogoniant a roddid i'r Mab, a fu yn achlysur o'r gwrthryfel yn y nef, mewn un modd yn gyfyngedig i Milton; yr oedd gan Mr. Jones lawn cystal hawl i gymeryd y syniad i fyny ag oedd gan Milton ei hun, neu y lliaws meddylwyr a fuont yn coledd yr un golygiad: ond pe buasai y syniad yn wreiddiol i Milton, ac mor glir felly fel na feddyliasai neb arall am ddim tebyg iddo trwy yr oesoedd, yr ydym ni yn dal fod syniad Mr. Jones, o herwydd rhagoriaeth ei dduwinyddiaeth,—yr olwg a gymer ar ddyrchafiad dyn, a gogoneddiad y ddynoliaeth yn y Gwaredwr,—yn cael ei osod ger bron mewn ffordd amgenach na'r eiddo Milton, ac mewn ffordd ag sydd yn gymaint yn eiddo iddo ei hun fel na ddylasai beri i'r un darllenydd craff feddwl am Milton, oddieithr i r dyben o gofio fod y Cymro yn y fan yma, sut bynag, yn rhagori arno. Wrth sôn am brawf yr angelion, tu dal. 59, dywed,—

Pa brawf a fu arnynt ni chawsom hysbysiad,
Ni feddwn yn unig ond tynu rhyw gasgliad.
Oblegid fod Diafol ynghyda'i holl lengoedd,
Yn llawn o elyniaeth at ddyn trwy yr oesoedd,
Naturiol yw casglu bu prawf eu hufudd-dod
Ynglŷn â dynoliaeth oedd yn y byd isod,
Trwy gael rhaghysbysiad am ddyn cyn ei lunio,
Ac am y dyrchafiad a roddai Duw iddo,
Y caffai dynoliaeth mewn amser i ddyfod
Rhywfodd ei dyrchafu i undeb â'r Duwdod;
Yn wrthddrych mor uchel, yn Arglwydd 'r arglwyddi,
A hwythau 'r angelion i gyd i'w addoli.
Efallai mai 'r Ceidwad, rhwng tywyll a golau,
Maen tramgwydd yr oesoedd, fu 'n brawf arnynt hwythau.

A dengys Mr. Jones wrth fyned ymlaen fod adgof Satan am a glywodd am ddyn yn y nefoedd, yn blaenllymu ei ddichellion yn yr amcan dieflig o geisio ei gael yntau i lawr. Ac ar farwolaeth Abel, wedi cael ei siomi gymaint wrth weled ei gymeryd ymaith gan angelion Duw i'r nefoedd, y mae, yn dra naturiol, oddiar y balchder a barasai ei gwymp ei hun, yn dysgwyl yn hyderus y byddai i'r caredigrwydd y gelwid arnynt ei ddangos tuag at ddyn, yn foddion i ennyn yn y nef wrthryfel arall.

Dysgwyliaf na ddichon 'r angelion byth oddef
Cyd-drigo â dynion o fewn yr un cartref;
Gobeithio 'r ânt hwythau oll i genfigenu
Wrth ganfod dyn truan yn cael ei fawrygu;
Crëadur a gydiwyd fel wrth yr anifail,
Yn tyfu am dymmor, ac yna yn adfail;
Dyrchafu un felly i'r nefol drigfanau,
Yn nghartref 'r angelion, a chystal â hwythau;
Efallai 'r effeithia hyn yn y dyfodol
Wrthryfel mawr eto o fewn y wlad nefol, &c.

Mae yn amlwg, pa fodd bynag, mai llafur cwbl ddiangenrhaid ydoedd i'n hanwyl frawd ymnoddi rhag cael ei dybied yn euog o ladrata oddiar Milton.

Yr ydym mewn amryw fanau yn nghorff y gwaith yn cyfarfod â syniadau duwinyddol o werth mawr. Mae yn wir y buasai yn fwy cydweddol eu dyweyd wrthym, na'u cânu; ond gan mai eu cânu a ddewisodd yr awdwr galluog, fe fyddai yn resyn mawr i neb o herwydd hyny fod heb wybod am danynt. Ac o ran hyny dichon y bydd y ffaith mai eu cânu a wnaeth yn foddion i beri i lawer eu gwerthfawrogi yn fwy. Beth oedd y rheswm dros mai mewn achos ag oedd ynddo ei hun yn gwbl ddibwys, y dewisodd Duw brofi ufudd-dod y dyn cyntaf iddo? Fel yma y darllenwn:—

Y pren gwaharddedig ordeiniwyd i brofi,
Ar hwnw 'r oedd cyflwr y dyn i fantoli,
I fod yn wir hapus, neu ynte 'n annedwydd,
Bod naill ai yn gyfaill neu 'n elyn i'r Arglwydd.
Arosai 'r ddeddf foesol yn ei gyfansoddiad,—
Heblaw yn ei ddeall 'r oedd ynddo 'n dueddiad,
Yr oedd yn ei reswm ac yn ei gydwybod,
Pa fodd y gallasai 'n uniongyrch ei gwrthod?
Trwy newid ar unwaith i garu anmhuredd,
Yn erbyn gwybodaeth, cydwybod, a thuedd?
Gan hyny ni wnaethai gorchymyn gwir foesol
Roi prawf ar ufudd-dod y dyn i'r Anfeidrol:
Rhoed iddo orchymyn yn nhrefn penarglwyddiaeth,
Yn cynnwys rhyw bethau uwchlaw ei ddirnadaeth;
Rhaid iddo ymddiried i'r Arglwydd yn gyfan,
I allu ei wneuthur, nid iddo ei hunan:
Gorchymyn a'i rhoddai ef fel yn y glorian,
Rhaid iddo fantoli i'r Dwyfol neu 'r hunan;
Rhaid iddo ymddiried i un o'r ddau 'n hollol,
I'w ddeall ei hunan neu yn yr anfeidrol, &c.

Nid ellid prawf trwy orchymyn moesol ar grëadur pur, gan hyny nid oedd dim i'w wneyd tuag at brofi perffeithrwydd ei ymostyngiad, ond rhoddi gorchymyn nad oedd ganddo ef ddirnadaeth am ddim fel sail iddo, ond ewyllys y Llywodraethwr yn unig.

Y mae llawer o sôn, a sôn rhyfeddol o wâg, wedi bod yn ddiweddar am ddadblygiad y ddynoliaeth, neu y gallu cynhenid sydd mewn dyn fel crëadur, i ymberffeithio, nes y byddo wedi gweithio ei ffordd o'r epa i'r athronydd. Pa mor olygus bynag yr ymddangoso breuddwyd fel yna yn nychymyg dynion sydd â'u croesaw i olygiadau yn ol eu gwylltineb, y mae yn ffaith fod hanes y byd yn eu herbyn. Mor bell ydyw y syniad epäol yna o feddu unrhyw sail, fel yr ydym yn nghyfddydd hanesyddiaeth yn canfod olion o wareiddiad uchel a thrwyadl sefydledig. Heblaw hyny, y mae yn rhyfeddol o arwyddocäol mai draw, yn mhellder mawr yr amser aeth heibio, y mae traddodiadau yr hen genhedloedd yn cyfeirio at eu hoes aur, a theyrnasiad diniweidrwydd. Crefydd y Bibl yn unig sydd yn edrych i'r dyfodol am ei gogoniant mawr; nid oes gan y ddynoliaeth, pan wedi ei gadael i'w hymbalfaliadau ei hunan, ond cofio am ogoniant a fu yn ei meddiant gynt, ond yn awr, am a ŵyr ei doethineb eithaf hi, sydd wedi tragywyddol ddiflanu. Y mae Mr. Jones yn olrhain hanes "dadblygiadau" y ddynoliaeth wedi y cwymp yn hynod o alluog. Y mae yn cael yn hanes Nimrod, yr Aipht, Babylon, ac Assyria, fod dyn yn fore iawn wedi gwneyd cynnydd mawr mewn ystyr anianol. Mewn ystyr feddyliol yr oedd y cynnydd lawer yn arafach, er fod hyny erbyn dyddiau Crist, trwy y diwylliad Groegaidd yn arbenig, wedi cyraedd i gryn berffeithrwydd. Ond er hyn oll, yr oedd dyn mor bell o gynnyddu mewn ystyr foesol, fel yr ydoedd yn dirywio fwy-fwy, a'i gyrhaeddiadau penaf, yn anianol a meddyliol, yn cael eu defnyddio fel achlysuron i berffeithiad ei lygredigaeth. Yn y fath adeg ar hanes y byd, cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab iddo i fod yn Waredwr.

Yr ydym wedi bod yn cwyno am ddifiyg awenyddiaeth y Gân hon, ac nid allwn lai na theimlo ei bod yn hyny—fe allai fod ein dysgwyliadau yn rhy uchel—wedi peri gradd o siomedigaeth i ni. Mae yn wir fod ynddi gyflawnder o bethau da eraill i wneyd i fyny am hyny, a phethau a'i gwnelai yn werth trafferth ein darllenwyr ymgydnabyddu llawer â hi, a'i hastudio yn ddyfal. Ar yr un pryd, y mae yn dda genym dystiolaethu fod yma lawer o ddarnau yma a thraw sydd yn ymddysgleirio gan wir lewyrch awen,—

The light that never shone on sea or land,
The consecration and the poet 's dream.

Am Rufain dywedir,

Lledaenodd ei hesgyll fel eryr mawreddus
Dros holl frenhiniaethau y byd adnabyddus.

Dyma beth tebyg iawn i Mr. Jones,—dyn yn llafurio y ddaear yw y pwnc:—

Rhaid trefnu y ddaear, ei dwyn dan ymgeledd,
I geisio dadwneuthur effeithiau ei drosedd,
Gan sychu ei chorsydd, ei dyfrllyd welïau,
O herwydd ei bechod rhaid sychu ei dagrau.

Ar adferiad y ddaear trwy yr Hâd addawedig,—

Balchïa 'r planedau yn fuan o hóni,
Daw 'r seren ddysgleiriaf o sêr y goleuni;
Mae 'r amser yn agos, adferir hi 'n fuan,—
Yr Hâd addawedig ar hyn a ddaw allan.

Ebe Mair, yn ei hymson wrth feddwl am enedigaeth Crist,—

Mae 'r amser yn nesu, fy nhymp ddaw yn fuan,
Pan gâf i fy mreichiau fy anwyl Fab Bychan;
Nis gallaf ymattal rhag cyfrif y dyddiau
Pan gâf y Gwaredwr i sugno fy mronau!

A'r un modd am lïaws o ddarnau eraill. Mae yn debyg fod llawer o'n darllenwyr eisoes yn feddiannol ar y llyfr; cynghorem hwynt i'w ddarllen yn astud; ac am y rhai sydd hebddo, hyderwn y bydd iddynt yn fuan brysuro i'w bwrcasu. Yr ydym hefyd yn mawr obeithio y bydd i holl bapyrau ein hanwyl frawd gael eu hymddiried yn fuan i ryw un fo yn meddu y cymhwysder, neu y cyfuniad o gymhwysderau, sydd yn angenrheidiol i wneyd yr hyn a ddylid ei wneyd gyda golwg ar ei goffadwriaeth, a chyhoeddiad ei ysgrifeniadau. Gwyddom yn dda am *un* a allai wneyd hyny i bwrpas: llawenychem yn fawr glywed ei fod wedi dechreu ar y gwaith. Dylai cenedl y Cymry gael y cynnorthwyon goreu i fawrhâu coffadwriaeth gŵr mor anwyl, bardd mor dda, a gweinidog mor ffyddlawn a galluog. Coffadwriaeth a chynnyrchion ei dynion mawr a defnyddiol yw trysorau gwerthfawrocaf cenedl.

*Rhydd-Weithiau Hiraethog:* sef Casgliad o Weithiau Llênyddol y Parch. W. REES, Liverpool. Liverpool: Isaac Foulkes. Rhan I.

Dywedir y cwblhëir y gwaith hwn mewn deuddeg Rhan. Diammheu y bydd yn dda gan lïaws mawr o'i gydwladwyr ddeall fod Mr. Rees yn bwriadu cyhoeddi argraffiad cyflawn o'i Rydd-weithiau, ac y byddant yn rhoddi iddynt dderbyniad tra chroesawus. Y mae efe, bellach, er ys llawer o flynyddoedd wedi bod ger bron y genedl, ac fe gydnebydd pawb iddo ymhob ffordd fod yn dra ffyddlawn i'w gwasanaethu. Y mae rhai pethau yn ein plith yn awr sydd yn sefydliadau, ac y mae rhai egwyddorion a golygiadau sydd erbyn hyn wedi ymaflyd yn ngwraidd ein bywyd cenhedlaethol, ag yr ydym yn rhwymedig am danynt i allu, diwydrwydd, a gwladgarwch diymhongar Mr. William Rees. Pa hyd y bydd ein cenedl yn ymgasglu yn filoedd i'r Eisteddfodau, ac yno yn mawrhâu cymeriadau pydredig sydd yn hòni iddynt eu hunain bobpeth a ellir ystyried yn wladgarwch, ac i'r sefydliad "cenedlaethol" gadwraeth iaith a bywyd meddyliol pobl Cymru, tra na feddylir am lafur dynion fel Hiraethog, sydd yn rhy dda i ymgymysgu â'r ysbleddach Eisteddfodol, ond wedi bod yn fwy o werth i'w cenedl nag Eisteddfodau canrif? Nid yw y gair *humbug* yn swnio yn rhyw glasurol iawn, ac nid oes genym air cyfystyr iddo yn yr iaith Gymraeg; ond wedi y cwbl, nid ydym ni yn gwybod am un gair a ellid gymhwyso gyda mwy o briodoldeb at y sefydliad "cenedlaethol." Nid rhyfedd fod y Saeson, wrth geisio ffurfio barn am yr Eisteddfodau, ac yn enwedig yn wyneb hòniadau mawrion eu cenhedlaetholdeb, yn barod i ofyn, Ai dyma dy ymffrost, ac ai dyma

dy dduwiau, O Gymru? Pa fodd bynag, nid oes dim rhith o ddadl am ein rhwymedigaethau mawrion i Mr. Rees, a hyderwn y bydd ein cenedl am dymmor maith yn mawrhâu ei enw tra yn derbyn adeiladaeth a dyddanwch o'r argraffiad prydferth hwn o'i Rydd-weithiau. Yr ydym yn sylwi fod y D.D. wedi eu gadael allan oddiwrth ei enw. A ydys i ddeall fod eu ceuad allan oddiar wyneb-ddalen yr argraffiad safonol o'i Rydd-weithiau i'w gymeryd fel awgrym mai yn William Rees y dymuna i'w enw fyned i lawr i'r oesoedd? Os felly, nid ydyw ond prawf arall o wr-eidd-dra ei ysbryd.

*Holl Weithiau Prydyddawl a Rhyddieithol y diweddar Barch.* WILLIAM WILLIAMS, *Pantycelyn.* Dan olygiaeth y Parch. J. R. KILSBY JONES.

Galwasom sylw at y llyfr hwn o'r blaen, pan oedd nifer o'r rhanau wedi eu cyhoeddi; yn awr dyma y gwaith yn gyflawn ger ein bron, yn gyfrol brydferth a dymunol dros ben. Da genym ddeall fod cynifer o'n cydwladwyr eisoes wedi rhoddi croesawiad mor galonog i'r argraffiad ardderchog hwn o *Holl Weithiau* y Pêraidd Ganiedydd. Y mae yn drysor y bydd y genedl yn falch o hóno am dymmor maith; a hyderwn y bydd llïaws o'n cydwladwyr drwyddo yn cael eu cyfoethogi yn ddirfawr mewn dirnadaeth a phrofiad ysbrydol. Y mae awenyddiaeth Gweithiau Williams o deilyngdod uchel iawn; yn annhraethol fwy felly yn wir, fel y sylwa Hiraethog, nag y mae beirniadaeth lênyddol Cymru hyd yma wedi arfer ymsyniaw; ond fel y sylwa yr un gŵr, yr hwn trwy ei erthyglau galluog yn ein tu dalenau flynyddoedd yn ol a wnaeth wasanaeth mor fawr mewn ffordd o agor llygad Cymru i weled rhagoriaethau diammheuol Williams Pantycelyn fel bardd, "mawr ddirgelwch eu nerth ydyw eu hysbryd efengylaidd. Hwn sydd yn rhoddi anadl bywyd anfarwol ynddynt." Cawn droi iddynt nid yn unig i ymofyn am y boddhâd dyfnaf sydd yn ngallu barddoniaeth i'w weinyddu, ond wrth wneyd hyny cawn ein codi i

"wrando o hyd
Ddirgelion dystaw nefol fyd,"

ac ymwneyd â'r moddion dynol cymhwysaf o bosibl a fêdd yr eglwys i feithrin yn ein henaid ysbryd crefydd. Y mae cofiant Mr. Kilsby Jones, fel y dysgwyliem, yn darllen yn hynod o ddifyrus; yr ydym drwyddo wedi dysgu amryw ffeithiau newyddion am Williams, ac wedi cael mantais nad oedd o fewn ein cyraedd o'r blaen i ffurfio drychfeddwl cyflawn yn ei gylch. Buasai yn dda genym pe buasai wedi rhoddi i ni ychydig o hanes y darlun a roddir o Williams, gan nodi y profion sydd yn boddloni ei feddwl ef ei hun am ei ddilysrwydd. Yr ydym yn falch iawn o'r darlun, ac yn teimlo y rhaid ei fod yn gywir; ond y mae mor hynod fod darlun o Williams wedi dyfod i'r golwg pan oeddym oll wedi hir feddwl nad oedd y fath beth mewn bod, fel y buasai yn dda genym gael ychydig o'i hanes. Drychfeddwl da oedd cyhoeddi erthyglau Mr. Rees fel Arweiniad i'r *Gweithiau.* Dylai yr argraffiad nesaf fod mewn llyfr llai, a mwy cyrhaeddadwy i holl werin Cymru.

*Llawlyfr i'r Profion o Wirionedd y Grefydd Gristionogol.* Gan y Parch. HUGH ROBERTS, Bangor.

Dylasem fod wedi dweyd rhywbeth am y gwaith hwn yn gynt. Yr ydym â'n holl galon yn ei argymhell i sylw ein darllenwyr, yn enwedig y bobl ieuainc yn ein plith. Nid yw Mr. Roberts yn amcanu gwneuthur unrhyw ymchwiliad newydd, nac yn hòni unrhyw wreiddioldeb wrth ymwneyd â Phrofion, neu fel y geilw efe hwynt, Prawfion, ein Crefydd sanctaidd; ond ei amcan ydoedd rhoddi i'w ddarllenwyr *Lawlyfr* a fyddai yn arweiniad cryno i faes helaeth a chyfoethog Profion Cristionogaeth. Y mae wedi darllen yr ysgrifenwyr goreu ar y pwnc, ac wedi eu hastudio yn dda; y mae hefyd wedi llwyddo i wneuthur *Llawlyfr* sydd yn rhoddi golwg dra chyflawn, ac ystyried bychander y gwaith, ar y Profion, ac yn gwneuthur hyny mewn dull mor rwydd fel nad oes perygl i

neb darllenydd, y byddo ynddo wreichionen o feddylgarwch, gael ei ddychrynu i ddigalondid wrth ei ddarllen. Dysgwyliem ganlyniadau da i waith lliaws o'n pobl ieuainc, yn enwedig, yn astudio y llyfr hwn. Y mae ysbryd ein hoes yn llawn o ryw fath o ammheuaeth; fel y trydan yn yr awyr, y mae yr ysbryd yma yn ennynu trwy wahanol gylchoedd cymdeithas, ac yn peri ei deimlo, i raddau mwy neu lai, yn dra chyffredinol. Ac fel mai pan y gadewir ef i ymweithio o hóno ei hun yn meddyliau dynion, heb ei brofi, y mae yn beryglus iawn, felly pan y dygir ef i oleuni, ac y cyfodir ef i sefyll ei brawf, y mae yn diflanu ar fyrder. "Ewch o amgylch Sion; rhifwch ei thŷrau hi, ystyriwch ei rhagfuriau," &c. Mae yn dra thebyg y byddwch yn sŷnu at y cadernid anorchfygol, y Dwyfol nerth, sydd wedi ei osod o'i hamgylch. Ni raid i grefydd ofni y goleuni. Ac i'r graddau y dygir hi i'w phrofi yn y goleuni, y deuir i ymdeimlo yn ddyladwy â'i gogoniant. Y mae *Llawlyfr* Mr. Roberts yn dra chyfaddas fel arweiniad i'r ymchwiliadau hyn; ac "er mwyn ein brodyr a'n cyfeillion," a sefydlogrwydd yr oes sydd yn codi mewn crediniaeth oleuedig o bethau mawrion y gwirionedd, dymunwn iddo gylchrediad helaeth, ac astudiaeth fanol.

*The Book of Martyrs.* By JOHN FOXE. London: The Book Society, 28, Paternoster Row. Price Twopence.

Da fyddai genym weled y llyfr hwn, sydd ymron yn wyrth o radlonrwydd, yn cael ei ledanu yn filoedd lawer ymysg pawb yn ein gwlad sydd yn abl i ddeall Saesoneg. Y mae rhyw fath o ryddfrydigrwydd yn ein plith ag sydd, y mae lle cryf i ofni, yn dirywio yn gyflym i lacrwydd a diofalwch nad ydynt yn maliaw beth a gredir neu a anghredir am y pethau mwyaf eu pwys; a thra y mae y gweision yn cysgu, y mae y gelyn ddyn gyda zêl na welwyd ei bath er ys canrifoedd, yn gwneyd ei oreu i hau efrau yn y maes. Y mae ysbryd Pabyddiaeth yn ymdreiddio trwy Eglwys Sefydledig y deyrnas hon fel haint: os â ymlaen am ychydig eto fel y mae yn gwneyd y dyddiau hyn, fe fydd y mymryn olaf o'i Phrotestaniaeth wedi ei llwyr ŷru ymaith, ac Eglwys Loegr wedi ymgolli yn Eglwys Rhufain. Y mae lliaws o ddynion o nerth a dylanwad mawr yn y cymundeb hwnw yn ddigon hŷf i ysgrifenu a siarad am y Diwygiad Protestanaidd fel yr anffawd fwyaf a ddisgynodd ar Ewrop, a gwnânt eu goreu, trwy ddiorseddu rheswm a barn mewn dynion, a choroni dychymyg a theimlad, i droi deial y byd yn ôl rhyw dri chant a flynyddoedd, a'n claddu oll yn nhywyllwch, a chaethiwed, a llygredigaeth yr oesoedd gynt. Ai breuddwydwyr oedd cewri y Diwygiad Protestanaidd? Ac ai byddin o benboethiaid oedd "ardderchog lu y merthyri?" Ai tybed y bydd i Brydain, yn gosb am ei hanwiredd, gael ei "dal drachefn dan iau caethiwed," a myned dan amryfusedd digon cadarn i dderbyn eto yn lle gwirionedd holl gelwyddau ynfyd a chableddus y Babaeth? Cynghorem ein darllenwyr ieuainc, yn enwedig, i fŷnu y llyfr bychan hwn, ac o ymgydnabyddu âg ysbryd rhagorol y dynion sanctaidd na bu yn ormod ganddynt, o ffyddlondeb i Dduw a'i wirionedd, roddi eu heinioes i farw, hyderwn yr ennillant nerth a sefydlogrwydd yn eu hargyhoeddiadau na fydd byth yn bosibl i holl ystryw Puseyaeth a Phabyddiaeth eu siglo byth. Y mae ein rhwymedigaeth i'r rhai sydd wedi myned o'n blaen, a'n cyfrifoldeb i'r rhai sydd yn dyfod ar ein hôl, yn gystal a'n ffyddlondeb i Grist Iesu, yn galw arnom i "ddal cyffes ein gobaith yn ddisigl hyd y diwedd." "Be of good comfort, Mr. Ridley," meddai yr hen Latimer, pan osodid y ffagod wrthynt, "and play the man; we shall this day light such a candle by God's grace in England, as I trust never shall be put out." Boed gwir y gair a lefarodd y merthyr ffyddlawn.

*Tafleni i'r Dosbarthiadau Ieuengaf yn yr Ysgol Sabbothol.* Gan JOSEPH OWEN, Rhôs.

Y mae yn rhyfedd meddwl mor araf y mae y gwelliannau pwysig sydd wedi cymeryd lle mewn cyfranu addysg yn ein Hysgolion Dyddiol, yn gweithio eu fford i'n

Hysgolion Sabbothol. Paham y dylai plant y byd hwn fod yn gallach yn eu cenhedlaeth na phlant y goleuni? Paham yn enwedig, gydag amcan mor fawr i gyrchu ato ag sydd mewn golwg yn yr Ysgol Sabbothol, na fyddid yn barod ac yn awyddus i dderbyn pob cymhorth a ellid gael oddiwrth y rhai sydd wedi cyflwyno eu heinioes i astudio y gelfyddyd o addysgu? Y mae y dosbarthiadau elfenol yn ein Hysgolion Sabbothol, yn enwedi., yn dyoddef cam mawr. Y mae hyny, yn fynych, yn codi oddiar yr ystyriaeth sydd yn ffynu mewn llawer o Ysgolion na waeth pwy a osodir i ofalu am y plant; ac yn fynychach na hyny oddiar yr anffawd nad ydys byth yn cymeryd mynyd o ystyriaeth i geisio meddwl pa fodd y dylid eu haddysgu Buom amryw weithiau yn synu wrth edrych ar rai o'r dosbarthiadau ieuainc yn ein Hysgolion Sabbothol, eu bod yn dyfod ymlaen o gwbl, gan mor ddidrefn, difywyd, a diamcan y gweinyddir eu haddysgiaeth. Yn ddiammheu nid all fod o un lles iddynt eu cadw am flynyddoedd yn anialwch y llythyrenau a'r sillebu, gan adael iddynt ymlusgo drwyddo fel rhwng bywyd a marwolaeth, tra y byddai mor hawdd eu harwain drwy y pethau hyny yn negwm yr amser a ddefnyddir yn gyffredin, ac felly hebgor hamdden i'w hegwyddori a'u hyfforddi mewn pethau mwy pwysig, a phrysuro eu derbyniad i ddosbarthiadau uwch. Y mae yn resyn mawr fod cymaint o nerth yn cael ei wastraffu yn ein Hysgolion Sabbothol. Wrth edrych ar fychander y ffrwyth a welir mewn lliaws o honynt, a chofio fod hyny yn codi yn gwbl, nid o ddiffyg mewn adnoddau, ond o ddidoreithiwch mewn hwsmonaeth, fe'n temtir i ofyn, "I ba beth y bu y golled hon?" Ymha le, oddieithr mewn Ysgolion Sabbothol, y dysgwylid i ddosbarth o blant ddyfod ymlaen, pan y mae rhai o honynt yn y llythyrenau, rhai yn sillebu, rhai yn darllen y llyfrau bach, a rhai yn y Testament? Neu y dysgwylid i ddim cynnydd gael ei wneyd pan nad yw pob un yn y dosbarth yn cael ond un "wers" yn ystod y cyfarfod, a'r lleill i gyd, tra y byddo pob un wrth lin yr athraw yn myned trwy yr oruchwyliaeth o dderbyn gwers, yn chwareu â'u gilydd! Ac ymha le, oddieithr mewn Ysgolion Sabbothol, y goddefid y fath lyfrau tlodion a chwbl anghyfaddas âg a ddefnyddir yn gyffredin i ddysgu plant Cymru i ddarllen iaith eu mam? Mae yn dda genym weled fod Mr. Owen, un o athrawon parchus a defnyddiol ein Hysgolion Brytanaidd, wedi talu sylw i hyn, ac wedi gwneyd ei ran tuag at gyflenwi y diffygion y cyfeiriwn atynt. Gwelsom rai misoedd yn ol Adroddiad manwl a chyflawn a barotoisid, os nad ydym yn camgymeryd, ganddo ef fel un o ddau ymwelwr a ddanfonasid i edrych Ysgolion y Dosbarth y perthyna iddo. Yr oeddym ni yn edrych ar hwnw gyda chymeradwyaeth anghyffredin; teimlem yn falch o hóno fel yr ymgais cyntaf a ddygwyddasai ddyfod o dan ein sylw ni i ddwyn i fewn i'n Hysgolion Sabbothol rywfaint o drefn, ac ysbryd, a bywyd ein Hysgolion Dyddiol goreu. Hyderwn fod holl Ysgolion y Dosbarth hwnw wedi astudio yr Adroddiad y cyfeiriwn ato yn drwyadl, a golygem y byddai yn ddoeth iawn i'r Cyfarfod Ysgolion hwnw ddanfon Mr. Owen eto o amgylch yr Ysgolion i edrych pa fodd y maent yn gweithio allan ei awgrymiadau. Y mae y Tafleni sydd o'n blaen yn ymgais o eiddo Mr. Owen ei hunan i gyflenwi y diffyg a deimlir mor gyffredinol am foddion i ddysgu y llythyrenau, ac i'w gosod ynghyd mewn sillebiaeth elfenol. Ac nid ydym yn petruso dyweyd eu bod yn tra rhagori ar ddim *arall* a feddwn yn yr iaith. Y mae pump o'r Tafleni, ac y mae y bum' Taflen yn cynnwys ugain o wersi, a'r rhai hyny wedi eu trefnu yn y mòdd mwyaf manteisiol i ddwyn y plant yn esmwyth a difyrus i feistroli yr hyn a amcenir osod o'u blaen. Prif fanteision y drefn a gynnygir yma ydynt y rhai canlynol:—1. Eglurder, yr hyn a sicrhëir trwy faint y llythyrenau a'u pellder oddiwrth eu gilydd. 2. Byrder pob gwers. 3. Graddoliad y gwersi, trwy yr hyn y rhoddir y fantais fwyaf i'r dysgybl yn ei wendid, ac y trymhëir y baich fel y cryfhäo ei ysgwyddau. 4. Fod dwy ffurf ar bob llythyren yn cael eu dysgu ar unwaith. 5. Fod y plentyn yn cael ei ddysgu o'r dechreu i osod y llythyrenau y mae wedi adnabod ynghyd, ac felly yn dysgu darllen ar unwaith. 6. Fod y cwbl wedi eu gosod yn gyflëus ar dafleni, y rhai wedi eu gosod yn gyflëus ar goed, fyddant yn rhyfeddol o fanteisiol i ddysgu yr holl ddosbarth ar unwaith, ac felly i beidio gwastraffu ond càn lleied ag a fyddo yn bosibl o amser a nerth heb iddynt ddwyn ffrwyth. Byddai yn dda genym weled y Tafleni hyn yn cael eu defnyddio yn holl Ysgolion Sabbothol Cymru. Hyderwn yr â Mr. Owen ymlaen i barotôi Tafleni eraill at wasanaeth dosbarthiadau uwch.

---

P. M. EVANS, ARGRAFFYDD, TREFFYNNON.

